# CASGLIAD

O DROS

# DDWY FIL O HYMNAU.

GAN

SAMUEL ROBERTS.

LLANELLI:

ARGRAFFWYD GAN D. REES A J. THOMAS.

1841.

# RHAGYMADRODD.

CYHOEDDIR y Casgliad canlynol ar annogaeth llawer o gyfeillion lled hysbys o archwaeth ac amgylchiadau yr Eglwysi Cynnulleidfaol. Ymdrechwyd ei wneuthur yn gynnwysfawr; a cheir fod ynddo gryn amrywiaeth o Faterion a Mesurau. Wrth ganfod gormodedd o bapur gwag ar ymylau y dail mewn llawer o Emyn-lyfrau, rhoddwyd dwy golofn, yn lle un, ar bob wyneb dalen ; a meddylir fod llyfryn o'r plyg yma mor hwylus, ac mor ysgafn, mewn llaw ac mewn llogell, â phe buasid yn chwyddo ei drwch drwy fychanigo ei blygiad. Cyflëwyd yr Emynau ynddo yn ol Trefn yr Egwyddor ; a gellir eu cael, os yn cofio eu dechreu, yn yr un dull, a chydag yr un hawsder, ag y ceir geiriau mewn Geiriadur; ac felly arbedir Dangoseg o dros ddwy fil o linellau, a cheir lle ychwanegol drwy hyny i dros *gant* o Emynau; a meddylir y bydd y drefn, heblaw hyny, yn hwylusach nâ'r drefn gyffredin o droi yn gyntaf i'r Ddangoseg, ac oddiyno i'r llyfr. Ceir Mynegai o'r Testunau yn y diwedd, ac ymdrechwyd i eirio pob testun mewn oddeutu chwech o sillau, fel y gellid argraffu ***Rhif, Testun,*** a ***Mesur*** pob Emyn mewn un linell yn lle dwy, ac wrth hyny arbedir yn mhellach dros ddwy fil o linellau. Wrth ystyried fod wyth o bob deg o'r mesurau sydd genym yn ddienw, rhifnodwyd pob mesur, a rhoddwyd pennill o bob un, fel enghraifft o hono, yn nechreu y Llyfr: a bydd yn hawdd eu hadnabod a'u henwi wrth eu Rhifnodau priodol. Mewn bron dri-ugain o Fesurau addefir fod rhai yn llawer mwy dewisol ac arferedig nag ereill, ac amcanwyd am i bob Mesur gael cymmaint o le yn y Casgliad ag a gyfartala i'w boblogrwydd yn mysg cantorion ein gwlad. Gan y cydnabyddir fod amrywiaeth o Fesurau ac o Alawonau yn bywiocâu ac yn melysu caniadaeth y cyssegr, annogir pob cynnulleidfa i ddysgu un Dôn o leiaf ar bob Mesur yn y Casgliad; oblegid nis gallai hyny fod mewn un modd yn ataliol iddynt i grybwyll yn achlysurol y Mesurau mwyaf hoff ganddynt eu cânu. Dichon fod mesurau yn arferedig heblaw y rhai a roddwyd yn y Casgliad yma, a diamheu y

bydd i fesurau newyddion gael eu cyfansoddi o bryd i bryd ; ac os bernir y bydd yn fuddiol i'r cyfryw gael eu *rhifnodi*, byddai yn hawdd iawn i hyny gael ei grybwyll trwy gyfrwng ein cylch-gyhoeddiadau. Y mae y Detholydd wedi cyfarfod â rhai *ar ol* i'r "Enghraifft" sydd yn y dechreu gael eu hargraffu, a dymuna grybwyll y ddau ganlynol, am fod iddynt radd dda o gymmeradwyaeth :—

MESUR 58.

AR lan Iorddonen ddofn
'Rwy'n oedi'n nychlyd,
Mewn blys myn'd drwy—ac ofn
Ei stormydd enbyd ;
O na f'ai modd i mi
Ysgoi ei hymchwydd hi,
A hedfan uwch ei lli,
I'r Ganaan hyfryd.

MESUR 59.

MI dynaf o hyd
Er penyd er poen,
Fy nghysur a'm hedd
O rinwedd yr Oen ;
Ef fyddo dedwyddyd
Fy mywyd i mwy,
Mae trysor diddiwedd
A gwledd yn ei glwy'.

Gyda golwg ar y *cyfnewidiadau* a geir yn amrai o'r Emynau, dymuna y Cyhoeddwr hysbysu, fod rhai o'r cyfryw wedi cael eu gwneyd *cyn* iddo ef eu gweled ; ac i'r lleill gael eu gwneyd, gyda gradd o ofal, naill ai er mwyn byrhâu yr Emyn, neu er ceisio gwneyd yr Iaith yn fwy cywir neu y Gynghanedd yn fwy esmwyth.

Buasai yn anhawdd rhoddi Enw yr Awdwr wrth bob Emyn heb i hyny gymmeryd cryn le, a dichon arwain i gam-gymmeriadau ; ac ni byddai o fawr les i gyfeirio yma at y gwahanol Gyfansoddwyr duwiol ag ydynt wedi bod o fawr lesâd yn barod i grefyddwyr ein gwlad ; ond yr ydys yn gostyngedig obeithio yr helaethir ychydig ar gylch defnyddioldeb eu Hawen drwy gyfrwng hyn o Gasgliad.

*Llanbrynmair, Mawrth* 1, 1841.

# ENGHRAIFFT O RIFNODIAD Y MESURAU.

## MESUR 1.

Llais mwyn y Bugail da
 A rydd im' hedd dilyth;
'Does delyn yn y nef all wneyd
 Peroriaeth gystal byth.

## MESUR 2.

Fy mugail yw Duw'r nef,
 Fe edrych ef am danaf;
Fy eiddo yw, a'i eiddo wyf,
 Pa eisiau mwy fydd arnaf.

## MESUR 3.

Mae'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
 Gwrandewir llais y gwan;
O cyfod bellach, f'enaid prudd,
 Anadla tua'r lan.

## MESUR 4.

Pan ballo nodded pawb, a'u hedd,
 Duw, o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Ffrind a fydd,
 Ar gyfyng ddydd marwolaeth.

## MESUR 5.

Wrth droi fy ngolwg yma'n awr,
I gyrau'r greadigaeth fawr,
Gwrthrych ni wel fy enaid gwan,
Ond Iesu i bwyso arno'n rhan.

## MESUR 6.

Ni phery ddim yn hir
 Y ddu dymhestlog nos,
Ni threfnwyd amser maith
 I neb i gario'r groes.
Mae'r hyfryd wawr sy'n tori draw,
Yn dweyd fod boreu braf gerllaw.

## MESUR 7.

Dyma Geidwad i'r colledig,
 Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma un sy'n caru maddeu
 I bechaduriaid mawr eu bai;
 Diolch iddo, &c.,
 Byth am gofio llwch y llawr.

## MESUR 8.

Tyred, Iesu, i'r ardaloedd,
 Lle teyrnasa'r dywell nos,
Na foed rhan o'r byd heb wybod
 Am dy chwerw angeu loes:
Pa'm bydd poen, addfwyn Oen,
Am dano'n eitha'r byd heb son.

## MESUR 9.

O Iesu, pwy all beidio
 Dy ganmol ddydd a nos;
A phwy all beidio cofio
 Dy farwol ddwyfol loes;
A phwy all beidio canu
 Am iechydwriaeth rad,
Ag sydd yn teimlo gronyn
 O rinwedd pur dy waed.

## MESUR 10.

Mae fy mrodyr gwedi myned
 Draw yn lluoedd o fy mlaen;
Rhai fu'n teithio dyffryn galar
 Gyda mi, tua Salem lân:
Yn y dyffryn tywyll garw,
 Ffydd i'r lan a'u daliodd hwy;
Mae'r addewid lawn i minnau,
 Pa'm yr ofna'm henaid mwy.

## MESUR 11.

O agor fy llygaid i weled
 Trysorau dy arfaeth a'th air;
Mae'n well i mi gyfraith dy enau,
 Na miloedd o arian ac aur;
Y ddaear â'n dân, a'i thrysorau,
 Ond geiriau fy Nuw saif yr un;
A'r bywyd trag'wyddol yw 'nabod
 Fy Mhrynwr yn Dduw ac yn ddyn.

## MESUR 12.

Pwy wela'i o Edom yn dod,
 Mil harddach nâ thoriad y wawr,
Yn sathru dan wadn ei droed,
 Elynion yn lluoedd i'r llawr;
A'i wisg wedi ei lliwio â gwaed,
 A'i saethau a'i gleddyf yn llym,
A'i harddwch yn llenwi'r holl wlad,
 Yn ymdaith yn amlder ei rym.

## MESUR 13.

Mi welaf fyrdd dan sel,
 Fu'n ofni fel fy hun,
'Nawr wedi dringo'r creigiau serth,
 I gyd yn nerth yr Un:
Yn canu'r ochr draw,
 Heb arnynt fraw na phoen,
Ganiadau hyfryd Calfari,
 Dyoddefaint addfwyn Oen.

## MESUR 14.

Plant caethion Babilon,
Ddont adre o dôn i dôn,
Cânt wledda'n llon, mae'r dydd gerllaw;

Yn ngŵydd eu Harglwydd da,
O sŵn y byd a'i bla;
O ddedwydd ha', pa bryd y daw.

## MESUR 15.

Nis gall angylion nef y nef
Fynegi maint ei gariad Ef;
Mae angau'r groes yn drech nâ'u dawn:
Bydd canu uwch am Galfari,
Nag glywodd yr angylion fry,
Pan ddelo Salem bur yn llawn.

## MESUR 16.

Yn Eden—cofiaf hyny byth—
Bendithion gollais rif y gwlith,
Syrthiodd fy nghoron wiw;
Ond buddugoliaeth Calfari,
Ennillodd fwy yn ol i mi,
Mi ganaf tra b'wyf byw.

## MESUR 17.

Daeth trwy,
Yr Iesu Glân a'i farwol glwy',
Fendithion fyrdd; daw etto fwy;
Mae ynddo faith ddiderfyn 'stor:
Ni gawsom rai defnynau'i lawr,
Beth am yr awr cawn fyn'd i'r môr.

## MESUR 18.

O llanwed iechydwriaeth,
Fel môr didrai yn helaeth;
A doed ynysoedd pella'r byd,
I gyd gael meddyginiaeth:
Mae'r Brenin ar ei orsedd,
Yn cynnyg, o'i drugaredd,
I bechaduriaid tlodion gwael
Ddod ato i gael ymgeledd.

## MESUR 19.

Darfydded son
Am bob ymryson mwy;
Partiol farn,
A rhagfarn—'lawr â hwy:
Doed ysbryd hedd,
Tangnefedd yn ei le,
A chariad pur,
O'r cariad sy'n y ne',

## MESUR 20.

O gariad! O gariad!
Anfeidrol ei faint,
Fod llwch mor anheilwng,
Yn cael y fath fraint;
Cael heddwch cydwybod,
A'i chlirio drwy'r gwaed,
A chorff y farwolaeth,
Sef pechod, dan draed.

## MESUR 21.

Mae rhyw dorf ddirif o seintiau
Yn awr yn canu eu telynau;
Ac yn seinio halaluia
Dechrau anthem pen Calfaria.

## MESUR 22.

Llais hyfryd rhad ras,
Sy'n gwaeddi dihangfa;
Yn nghlwyfau Mab Duw,
I'r euog mae noddfa:
I olchi aflendid,
A phechod yn hollol,
Fe redodd ei waed ef
Yn ffrydiau iachusol;
Halaluia i'r Oen
Bwrcasodd ein pardwn,
'Nol croesi'r Iorddonen
Drachefn ni a'i molwn.

## MESUR 23.

Af bellach yn hŷ,
Tua'r Ganaan sydd fry,
Mi wela'r addewid,
Yn gadarn o'm tu.

## MESUR 24.

Os caf esgyn i'r hardd drigfa
I wel'd gogoniant y Messia;
Pa fath olwg nefol hyfryd
Fydd ar Dywysog mawr y bywyd!
A fydd ôl yr hoelion yno,
Yn ei draed ac yn ei ddwylo;
Ni hola'i'n hwy, caf weled mwy
Gogoniant 'rwy'n credu,
Yn y Drindod i'w ryfeddu,
Nag all calon dyn ddych'mygu.

## MESUR 25.

O Galfaria daeth fy hedd,
A fy mywyd;
Ac oddiyno mae fy ngwledd
Nefol hyfryd;
Dan ei gysgod tawel gwiw
Byth arosaf,
A chanu wnaf tra byddwyf byw
Halaluia.

## MESUR 26.

Am fod fy Iesu'n fyw
Byw hefyd fydd ei saint:
Er gorfod goddef poen a briw,
Mawr yw eu braint:
Bydd melus glanio draw,
'Nol bod o dòn i dòn,
Ac mi ro'f ffarwel maes o law,
I'r ddaear hon.

## MESUR 27.

Henffych i'r bore hyfryd
'Ddaw gelyn byth nac adfyd,
I dir y bywyd fry;
Y seintiau ddaw 'nghyd
Bob wyneb i'r byd
Yn unfryd yno i ganu.

## MESUR 28.

Nid allodd angeu du
Ddal Iesu'n gaeth;
Ddim hwy nâ'r trydydd dydd.
Yn rhydd y daeth;
Ni ddelir un o'i blant,
Er myn'd i bant y bedd
Fe'u gwelir ger ei fron,
Yn llon eu gwedd.

## MESUR 29.

Dy gariad Iesu sydd yn awr,
Yn curo pob cariadau i lawr,
Yn llyncu enwau gwael y llawr,
Oll yn ei enw 'i hun:
Rhyw fflam angerddol gadarn gref,
O dân enynodd yn y nef,
Tragwyddol gariad ydyw ef,
Wnaeth Dduw a ninau'n un.

## MESUR 30.

Gwnes addunedau fil,
I gadw'r llwybr cul,
Ond methu 'rwy':
Preswylydd mawr y berth,
Chwanega etto'm nerth,
I ddringo'r creigiau serth
Heb flino mwy.

## MESUR 31.

Tydi fy Nuw, tydi i gyd,
Yw'r oll a feddaf yn y byd,
Yr wyt ti'n well, yr wyt ti'n well,
Nâ'r India bell, a'i pherlau drud.

## MESUR 32.

O, deffro f'enaid, cod dy ben,
O'r ddaearen i fynu;
Nesâu mae'th iechydwriaeth wiw,
A hyfryd yw ei henwi:
Mae fy Mhriod nefol hynod,
'Nawr yn bwrw 'mod i'n barod;
Paid ag ofni, cod i fynu,
Trwsia'r lamp rhag ei diffoddi;
Ti gei fyn'd i'r nefol wledd,
Tu draw i'r bedd i ganu.

## MESUR 33.

Fe ddaw'r blynyddau pur i ben,
Pan dywyno efengyl gras,
Fel haul dysgleirwyn yn y nen,
O gwmpas daear lâs:
Aed ei air i blith y werin,
Sy'n y dwyrain a'r gorllewin,
Fel bo i'w enw glod yn ddibrin;
Canu iddo, canu iddo,
Halaluia gylch y byd.

## MESUR 34.

O ffowch, o fawr i fân,
Cyn delo'r diluw tân,
I'r Arch mewn pryd;
Fe lysg y byd yn lân:
O ddinas dystryw brysiwch, ffowch,
Ar y gwastadedd nac ymdrowch,
I fynydd santaidd Sïon:
O ddynion, pa'm na ddowch?

## MESUR 35.

O Dduw, rho im' dy hedd,
A golwg ar dy wedd,
A maddeu 'nawr fy meiau mawr,
Cyn 'r elwy' lawr i'r bedd:
Ond im' gael hyn nid ofna'i'r glyn,
Na cholyn angau mwy;
Dof yn dy law, i'r ochor draw,
Heb friw na braw, ryw ddydd a ddaw,
Uwchlaw pob loes a chlwy'.

## MESUR 36.

Er cryfed yw'm gelynion,
Af yn mlaen, af yn mlaen,
Er gwaned yw fy nghalon,
Af yn mlaen, &c.,
Er poethed ydyw Sina,
Er syched ydyw Baca,
Er chwerwed dyfroedd Mara,
Af yn mlaen, &c.,
A'm golwg ar Galfaria,
Af yn mlaen.

## MESUR 37.

Coll'som y dydd yn Eden draw,
O wylwn, wylwn, wylwn;
Mae'r cwymp yn peri poen a braw,
O wylwn, wylwn, wylwn:—
Caed ar Galfaria gyfoeth mwy,
O canwn, canwn, canwn;
Sef Iesu Grist a'i farwol glwy',
O canwn, canwn, canwn.

## MESUR 38.

Os oes rhyw ddadl hyfryd,
Yn bod yn nhir y bywyd,
Rhyw unfryd gydfod;
Pwy sydd â'r dyled mwyaf,
A'r hawl i ganu uchaf,
Am faddeu pechod;
Bydd ple gan innau yn y ne',
Yn mysg y miloedd,
I'r lan a gododd
Duw o'r dyfnderoedd;
Erioed ni ddygodd e'

Yr un mor anhaeddiannol,
I mewn i'r nefol le.
Un iaith fydd gan y dyrfa faith,
I'r hwn a'n carodd,
I'r hwn a'n golchodd,
Ac a'n gwaredodd
O'r lleoedd lleidiog llaith!
Gan ddyblu'r anthem hyfryd
Mewn gwynfyd—dyna'u gwaith.

MESUR 39.

IESU, cyfaill f'enaid gwan,
Atat ffoi am noddfa 'rwyf;
D'aden dyner drosof taen,
Tra ar y môr tymhestlog 'rwyf;
Cudd fi, O fy Arglwydd, cudd,
Nes el heibio'r storom gref;
Yn Arweinydd i mi bydd,
Nes bwyf mewn yn nheyrnas nef.

MESUR 40.

UN a gefais im' yn gyfaill,
Pwy fel efe?
Hwn a gâr yn hŵy nag eraill,
Pwy fel efe?
Cyfnewidiol ydyw dynion,
A siomedig yw cyfeillion,
Hwn a bery byth yn ffyddlon,
Pwy fel efe?

MESUR 41.

YN mlaen, yn mlaen, chwi filwyr Duw,
O'ch blaen mae buddugoliaeth wiw,
Cewch ddwyn eich palmwydd yn eich [llaw,
A gwisgo'r hyfryd goron draw,
A bloeddio concwest ddydd a ddaw
Yn nheyrnas nef.

MESUR 42.

IESU'm Brenin mawr a'm Priod,
O bydd di byth o'm tu,
I orchfygu pechod.

MESUR 43.

BOED i efengyl Iesu mawr
I lenwi wyneb daear lawr;
Ei hyfryd sain a'i goleu clir
Fo'n amlwg yn yr anial dir;
Fel byddo i'r cenedloedd oll
Ymgasglu 'nghyd heb un ar goll;
Iuddewon hefyd yn gytun,
I gydfoliannu Mab y dyn.

MESUR 44.

A WELSOCH chwi Ef,
'Rhwn hoffa fy enaid—a'm Duw?
Dros droseddwyr fel myfi,
Rhoes ei hun ar Galfari,
Trwy gyfiawnder fy Meichiau caf fyw.

MESUR 45.

RHYFEDDOL yw rhinwedd
Marwolaeth yr Oen,
O'i glwyfau daw iechyd,
A bywyd o'i boen;
Y meddyg a ddrylliwyd,
Ei ystlys a wanwyd,
A ffynon agorwyd
Pan frathwyd ei fron
A phîg gwaywffon;
Ymolchwn yn hon:
Y ffynon agorwyd
Pan frathwyd ei fron.

MESUR 46.

Fe welir Sïon fel y wawr,
Er saled yw ei gwedd,
Yn dod i'r lan o'r cystudd mawr
'Nol agor pyrth y bedd;
Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
Yn ddysglaer fel yr haul,
Yn y cyfiawnder pur dilyth
A gaed drwy Adda'r ail.

MESUR 47.

EFENGYL yr Oen,
Am dani bydd son,
Trwy'r bröydd a'r bryniau o'r bron;
Hen Jerico fawr,
Yn llwyr ddaw i'r llawr,
Mae'r udgyrn yn bloeddio wrth hon.

MESUR 48.

LLAWN o ofid, llawn o wae,
A llawn o euogrwydd du,
Byth a fyddaf yn parhau
Heb gael dy gwmni cu;
Golwg unwaith ar dy wedd,
A'm cwyd i'r lan o'r pydew mawr,
O, fy Nuw, nac oeda'n hwy.
Rho'r olwg i mi'n awr.

MESUR 49.

TI dy hunan, Iesu mawr,
Yw fy noddfa ar y llawr,
Ni ddaw byth, ni bu erioed,
Dy gyffelyb îs y rhod;
Dere'n glau, 'does îs y ne'
Arall byth a leinw'th le.

MESUR 50.

YMA, cûr a blinder cawn,
Yma, cwrdd i 'madael wnawn;
Nid felly yn y nef:
O hyn fydd yn hyfryd,
Hyfryd, hyfryd, hyfryd;
O hyn fydd yn hyfryd,
Cwrdd heb byth ymadael mwy,

## MESUR 51.

Fry esgynodd Mab y dyn
Trwy ei werthfawr waed ei hun,
Dwyn tystiolaeth wnaeth y nef
I fawr werth ei Aberth ef.

## MESUR 52.

Claf wyf a llesg bron llwfrhâu;
Dy absenoldeb sydd fawr iawn:
Dy fod di cyhŷd yn pellhâu
Sy'n gwneyd i'm riddfan fore a nawn;
Rho wel'd dy wedd fy Iôr ar frys,
Neu cymer fi i'th nefol lys.

## MESUR 53.

Dadseiniwn orfoleddus glod
I'n Prynwr Duw a dyn,
Gwaredwr yw Ef,
Ei fraich sydd yn gref,
Dyoddefodd ein haeddiant ei hun.

## MESUR 55.

Y mae un uwchlaw pawb eraill
Drwy'r gre'digaeth faith i gyd,
Sydd yn haeddu ei alwn'n gyfaill,
Ac a bery'r un o hyd:
Brawd a anwyd i ni yw
Erbyn c'ledi o bob rhyw.

## MESUR 55.

Cydunwn oll i gofio'r awr
Daeth Crist i lawr o Ganaan,
Yn faban gwan i wisgo cnawd
I ni gael Brawd o Ganaan;
Yn un â'r llu gogoned glân
Sy'n seinio'r gân yn Nganaan,
Molianwn Grist—fe ddaeth y dydd,
Mae'r ffordd yn rhydd i Ganaan;
Canaan, hoff Ganaan,
Cyd-deithiwn tua Chanaan,
Nac ofnwn mwy, mae Crist ein brawd
Yn gwahodd pawb i Ganaan.

## MESUR 56.

Pob llwyth ac iaith ddaw yn gytun,
Yr Iuddew fel y cenedl-ddyn;
Fe glywir llais yn mhlith y llu
Am waith Oen Duw ar Ethiop du:
Clywch lais yr udgorn clir,
Mae'n galw i Salem dir;
Cawn, cawn feddiannu'r wlad,
Ordeiniwyd i ni gan ein Tad.

## MESUR 57.

Mae'n llon'd y nefoedd, llon'd y byd,
Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd tragwydddoldeb maith ei hun,
Diderfyn ydyw Duw;
Mae'n llon'd y gwagle yn ddigoll,
Mae oll yn oll a'i allu'n un;
Anfeidrol, anherfynol Fod,
A'i hanfod ynddo'i hun.

# HYMNAU.

HYMN 1. Emyn Genadol.—Mesur 9.

A allwn ni oleuwyd
Drwy rad y nefoedd fry,
Nacâu rhoi llusern bywyd
I'r sawl mewn tywyllwch sy?
Cyhoedder iechydwriaeth
A gorfoleddus lef,
Nes dysgo'r byd wybodaeth
O gû Eneiniog nef.

Ewch, wyntoedd, ewch â'r newydd,
Ymdreigla, don, o hyd,
Nes fel rhyw fôr o glodydd
Y taeno dros y byd:
Nes daw yr Oen fu'n gwaedu,
Dros feiau'r byd yn rhad,
Mewn gwynfyd i deyrnasu
Dros ei brynedig hâd.

2. Adnewyddol Nerth.—M. 5.

A all y fraich a wnaeth bob dim
Ddiffygio byth, neu fyn'd heb rym!
A balla nerth y cadarn Iôr
A wnaeth y nef, y tir, a'r môr!

Nerth dyn yn fuan a wanhâ,
A chryfder ie'nctyd blino wna;
Ond nerthoedd anchwiliadwy sy
Yn mythol freichiau'n Harglwydd ni.

Y saint ymadnewyddu wnant,
Can's derbyn nerth o hyd a gânt,
Nes cyrhaedd y dedwyddol dir
Lle mae digrifwch bythol pur.

3. Aaron a Christ.—M. 4.

Aaron â gwaed, nid eiddo'i hun
Unwaith bob blwyddyn safai;
O flaen y drugareddfa wiw,
Am gymod Duw ymbiliai.

Gwaed newydd beunydd yn ei bryd
Gynt gollid ar allorau;
Ond yr un offrwm ddygodd Crist
Dawela drist galonau.

Iesu ein Harch-offeiriad byw,
Saif o flaen Duw'n wastadol;
I ddangos ei rinweddol waed,
A dwyn rhyddhad i'w bobl.

I eiriol fry gerbron y Tad,
Yn wastad mae'n ymddangos;
Rho'th gwyn fy enaid iddo ef,
Mae'n siwr o ddadleu'th achos.

4. Marw i bechod.—M. 4.

A awn ni 'mlaen mewn pechod cas
Am fod dy ras yn maddau;
Gan ail groeshoelio Crist ein Ior.
Ac agor ei holl glwyfau?

Na ato Duw tra ynom chwyth,
Na chlywer byth i'r rhei'ny,
Groeshoeliodd eu pechodau un waith,
Fyn'd eilwaith i'w cyfodi.

Na fyddwn mwy i'n chwantau'n gaeth,
Can's Crist a'n gwnaeth yn rhyddion;
Ein treiswyr hoeliodd wrth ei groes,
A rhyddid roes i'r caethion.

5. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 5.

Aberthau Duw am borthi dyn,
Yw calon ddrylliog, lwythog, flin;
Cyssegrwn ninau heddyw hon,
Fel ysgub blaenffrwyth ger ei fron.

Clodforwn beunydd, fawr a bach,
O fore'i hwyr am fara iach;
Gan erfyn bendith ar y byd,
Byw ar drugaredd 'rym i gyd.

Ymrown i geisio tra b'o'n chwyth,
Y bara bywiol bery byth;
Nes delo'r angel uchel wawr
I'n galw fry i'r fedel fawr.

6. Diolch am gynhauaf.—M. 5.

Aberthwn fawl i Dduw yn llon,
Am gael cynhaua'r flwyddyn hon;
Aneirif yw ei roddion rhad,
Ei glod fo'n adsain dros ein gwlad.
Ei drugareddau sy'n parhau,
A'i law haelionus sydd heb gau;
Mae myrdd o leisiau'n tystio'n un,
Fod Duw yn hoffi cynnal dyn.
Ei roddion geir yn llenwi'r wlad,
Yn llaw yr hauwr mae'n rhoi had,
Rhoi bara i'r bwytawr mae ef,
Am hyn dyrchafwn fawl i'r nef.

7. Adeiladu Sïon.—M. 25.

Achub Sïon, er dy glod,
O'i chyfyngder;
Mae'r dydd nodedig wedi dod,
Dyma'r amser;
Mae dy weision ger dy fron,
Yn gofidio,

Ac yn hoffi meini hon,
Gan dosturio.

Pan adeiladir hon drwy lwydd,
Ar y ddaear;
Bydd Iesu Sanct a'i uchel swydd,
Oll yn hawddgar:
Pawb a'i gwelant yn ei waith,
Mewn gogoniant;
A'i eglwys fydd drwy'r ddaear faith,
Yn ben moliant.

8. Cwmwl tystion.—M. 5.

Adenydd ffydd yn awr pe cawn,
Tu fewn i'r llen ehedeg wnawn,
I wel'd y saint mor llawen sy,
Mewn gwynfyd a gogoniant fry.

Fel ninnau buont yn y byd,
Yn wylo'n bruddion lawer pryd,
Ymdrechu'n galed iawn â grym
Amheuon, ofnau, a phechod llym.

Gofynwn iddynt hwy yn brudd,
P'odd darfu iddynt gario'r dydd;
Hwy oll atebant, mai trwy boen
A gwaed y croeshoeliedig Oen.

Dilyn'sant gamrau'u Harglwydd Crist,
Trwy glod ac anghlod trallod trist,
A gorthrymderau o bob rhyw,
Nes myn'd i'r wlad addawodd Duw.

Tragwyddol glod i'r Iesu glân,
Rhoi'i hun yn Batrwn wnaeth o'n blaen;
A'r cwmwl mawr o dystion maith,
Fel ser i'n tywys ar ein taith.

9. Saint yn llaw Crist.—M. 4.

Addewid Crist dros byth a saif,
Yn hon y mae f'ymddiried;
Os yn llaw rasol Iesu 'rwyf,
Ni choilir mwy fy enaid.

Anrhydedd Crist sy'n rhwym o'm plaid,
Fe geidw'i ddefaid gwirion;
Yr oll a roes ei Dad dan sel,
Fe'u ceidw'n ddiogel ddigon.

Angeu ni ddwg, nac uffern ddu,
Mo'i ddeiliaid cu o'i ddwylaw;
Yn mynwes glyd yr Iesu glân,
Dros byth y cân' orphwysaw.

10. Ni'th anghofiaf, Sïon.—M. 5.

A ddichon gwraig gariadas gu,
Anghofio baban bach ei bru?
A gaiff yr hwn fu'n sugno'i bron,
Ddim lle yn holl feddyliau hon?

Etto, medd Duw, pe felly doi
I famau'n ddidrugaredd droi,
Byth ar fy nghalon Sïon sai',
Byth mae fy nghariad yn parhau.

Ar fy nwy law, mewn argraff llawn,
Rho'is enw hon yn ddwfn iawn;
Cyfodaf ei hadfeiliog fur,
Adferaf ei chysuron pur.

11. Bara'r Bywyd.—M. 5.

Addolwn y tragwyddol Air,
All borthi'n llawn ein henaid cu,
Efe yw'r bywiol ddw'r a gair
A Bara'r Bywyd oddi fry.

Bu farw'r holl Iuddewon gynt
Er cael ar hynt y manna gwiw;
Ond y bwyd hwn a brofwn ni
All godi'r enaid marw'n fyw.

Mawl byth i'r Oen am roi ei gnawd;
Meithrin ein tlawd eneidiau mae;
A hulio bwrdd yn fynych bydd
O newydd rhag i ni lesgâu.

Llesgâu mae'n marwol gnawd o hyd,
Ond Crist ein bywyd ddaw mewn hedd
A chwyd drwy anorchfygol nerth
Ein cyrff yn brydferth iawn o'r bedd.

12. Peraroglau Crist.—M. 10.

Addurna'm henaid â dy ddelw,
Gwna fi'n ddychryn yn dy law,
I bob llygredd a chnawdolrwydd,
A phob gelyn yma a thraw:
O am gymdeithasu â'th enw—
Enaint tywalltedig yw—
Leinw'r byd o beraroglau
Hawddgar ddoniau Crist fy Nuw.

Rhwyga'r tew gymylau duon
Sydd yn cuddio'th wenau gwiw,
Nid oes dim all fy nyddanu
Ond yn unig ti fy Nuw:
Môr didrai o bob trugaredd,
Iechydwriaeth fawr ei dawn,
Lifodd allan o dy fynwes
Ar Galfaria un prydnawn.

13. Addurn y Cristion.—M. 5.

Addurnodd Duw fy enaid noeth,
A gwisgoedd iechydwriaeth goeth;
Ar bryfyn tlawd llygredig cas,
Dysgleirio mae ei ddwyfol ras.

A rhag i un brycheuyn du
Gael aros ar fy enaid cu,
Y wisg o waith fy Mhrynwr drud,
A daflodd ef o'm cylch i gyd.

Fe dreuliodd Crist ei oes trwy gur,
I weithio i'm gyfiawnder pur;
A harddach yw fy ngwisgiad drud,
Na gwisgiad gwych breninoedd byd.

14. Gweddi Genadol.—M. 5.

Aed dy efengyl, Anwyl Iôr,
O wlad i wlad, o fôr i fôr;

Fel na bo'n bod un enaid byw
Heb glywed hael wahoddiad Duw.

Aed dy genadon, dirion Dad,
At bob rhyw lwyth, i bob rhyw wlad,
A syrthied Dagon yn ddibarch,
Yn ngolwg pawb o flaen dy Arch.

15. Efengyl fel y wawrddydd.—M. 21.

Aed efengyl fel y wawrddydd,
Ar led i gludo myrdd drwy'r gwledydd;
Ac aed sain yr udgyrn arian,
I ddadymchwel teyrnas satan.

T'wyned haul ar fyrdd o werin,
Sy'n y dwyrain, a'r gorllewin;
Son am Iesu lanwo ynysoedd,
Fel mae'r dyfroedd yn toi'r moroedd.

Llanwed moroedd iechydwriaeth,
Holl gyrau'r byd â gwir wybodaeth;
A'r ynysoedd oll fo'n nesu,
Trwy ras Ion dan faner Iesu.

16. Plygu i Fab Dafydd.—M. 25.

Aed efengyl gras ar led,
Drwy'r holl wledydd;
Plygu wnelo'r rhai digred
I Fab Dafydd;
Doed trigolion dae'r a nef,
O un galon,
I ddweyd mai teilwng ydyw ef
I gael y goron.

Crist fydd llywydd nef a llawr
Yn oes oesoedd;
Ar ei orsedd fry mae'n awr
Uwch y nefoedd;
Eiriol mae gerbron y Tad,
Yn diflino,
Ac yn dadleu gwerth ei waed,
Moliant iddo.

17. Llwydd efengyl.—M. 10.

Aed efengyl hedd drwy'r hollfyd,
Clywed pawb ei hyfryd sain:
Cluded moroedd y newyddion,
Am y groes a'r goron ddrain.
Son am Iesu'r Meddyg gorau,
Elo drwy holl barthau'r byd:
Gwel'd ei degwch gaffo'r Indiaid
A'r paganiaid oll i gyd.

Boed i ninau weled tegwch
A hawddgarwch Iesu gwiw;
Wrth goffhau fel bu dan hoelion,
Mae yn fraint cael calon friw:
Ca'dd ei galon ei harcholli,
Modd i gànu'r gynau gaed;
Golchir miloedd o rai duon,
Yn glaerwynion yn ei waed.

18. Duw gyda dyn.—M. 31.

Aed heibio'm dyddiau bob yn un,
Wrth garu'm Crëwr mawr yn ddyn;
Fy enaid cân, fy enaid cân
I'th Brynwr glân, nes myn'd i'r bedd.

Bydd treulio mynud uwch y llawr,
I garu fy Iachawdwr mawr,
Yn well ryw ddydd, yn well ryw ddydd,
Nâ'r cwbl sydd o dan yr haul.

19. Llwydd efengyl.—M. 13.

Aed sain efengyl hedd
Drwy barthau'r byd o'r bron,
Na fydded ardal dan y nef,
Heb yr efengyl hon:
Dychweled gaethion fyrdd,
Addolwyr duwiau gau,
O'u bodd i gredu'n Iesu Grist,
Ac iddo ufuddhau.

20. Dryllio'r delwau.—M. 9.

Aed son am Geidwad enaid
I dir yr India draw,
A boed i filwyr Sïon
Orchfygu ar bob llaw;
I lawr y delo'r delwau,
A'r holl eilunod mud;
A'r Iesu fo'n teyrnasu
Dros holl derfynau'r byd.

21. Lledaeniad efengyl.—M. 13.

Aed son drwy'r byd am gariad
Ein tirion Arch-offeiriad,
Am fywyd pur, ac angeu loes,
A dirmyg croes ein Ceidwad;
Aed dros y byd ar fyrder,
Lle mae trigfanau trawsder,
Sain gwaredigaeth i rai gwael,
A llewyrch Haul Cyfiawnder.

Yr Iesu fo'n marchogaeth,
Yn ngherbyd iechydwriaeth,
Nes clywo pawb o deulu dyn
Am drefn y prynedigaeth:
A Duw dywallto'i Ysbryd,
Yn ber gawodydd hyfryd,
Fel delo'r byd fel gardd i Dduw,
A phawb i fyw'n dduwiolfryd.

22. Son am Grist trwy'r byd.—M. 38.

Aed son drwy'r byd am Iesu,
Ddatguddiodd o'i ras ini,
Ei fawr ddoethineb;
Prysured y newyddion,
Trwy ddawn, at bob rhyw ddynion,
Am ei diriondeb:
Ef yw, yr un ordeiniodd Duw,
Yn iawn a chymod,
Dros bob rhyw bechod,
A mawr ryfeddod,
Oedd canfod Iesu gwiw,
Yn myn'd dan ddyrnod angau,
Fel byddai i ni gael byw:

Mae'n ben y llu tu draw i'r llen,
Ac yn teilyngu
Ei anrhydeddu,
Am iddo'n caru,
A'n prynu ar y pren,
Rhown iddo'r holl anrhydedd
A'r mawredd mwy—Amen.

23. Gwleddoedd y nef.—M. 7.

Aed y nos derfysglyd heibio,
Doed y boreu cyn bo hir,
Pan y caffo'm henaid wledda
Yn y nefol Ganaan bur;
Gyda myrddiwn &c,
O ffyddloniaid anwyl nef.

Yno y dymunwn drigo,
Wrth afonydd gloywon llawn,
O risialaidd ddwr y bywyd,
Sydd yn llifo'n hyfryd iawn;
Lle cawn yfed, &c.,
Hyfryd gariad byth mewn hedd.

24. Diwedd Blwyddyn.—M. 4.

Aeth heibio etto flwyddyn gron,
Mae arall bron ymwawrio;
Holl oesoedd byd ar fyr o dro,
O dô i dô, ant heibio.

Mae'r byd ysbrydol, ddydd a nos,
Yn agos agos atom;
Nid oes ond llen marwolder brau
A dŷr yr angeu—rhyngom.

Fy enaid gwan, cyn angeu glas
Cais brofi gras i'th buro;
Ond gwir adnabod Prynwr byd,
Cei fythol fywyd ynddo.

25. Cyfarfod yn Sion.—M. 36.

Aeth llu o'r genedl gyfion,
Oll yn iach, oll yn iach,
I nefol fynydd Sion,
Oll yn iach;
Mae etto dorf yn dyfod,
O'r cystudd mawr a'r trallod,
Cawn yno gyd-gyfarfod,
Oll yn iach,
Ar ddysglaer wedd ein priod,
Oll yn iach.

26. Gostyngeiddrwydd.—M. 52.

Aeth Mair, gan ddewis y rhan dda,
I lawr at draed yr Iesu gwiw,
A chalon isel Lydia fwyn
A wnaed yn addas deml i Dduw;
Y galon decaf oll yn wir
Sy'n gwisgo gostyngeiddrwydd pur.

Y sant gaiff uchaf goron nef
Yw'r isaf ei addoliad gŵyl,
Gan bwys gogoniant plyg i lawr,
Pan fwyaf fyddo'i nefol hwyl;
Agosaf i'r orseddfainc fry
Yw troed-fainc gostyngeiddrwydd cu.

27. Afon bur rededog.—M. 33.

Af at yr orsedd fel yr wyf,
Anfeidrol orsedd gras;
Datguddio wnaf fy nghlwyfau maith
A'm holl archollion cas;
Afon loyw redodd allan,
O orseddfa'r nef ei hunan,
I olchi'r euog, cas, a'r aflan,
Halaluia, Halaluia,
Dwr heb ddarfod, dwr heb drai.

28. Cyfarfod y nef.—M. 9.

Af finau i'r Iorddonen
Yn ddiau maes o law,
Ond trwy fy Archoffeiriad
Caf lan yr ochr draw;
Diangaf ar elynion,
Yn iach i Salem dir,
I hwylio'r delyn auraidd
A meddu'r gwynfyd hir.

Mae yno lu o frodyr
Yn awr ar ben eu taith
Yn ddedwydd wedi gorphen
Eu pererindod maith;
Bu melys eu cyfeillach
I mi yr ochr hyn,
Ond bydd yn fil melysach
Byth fry ar Sion fryn.

29. YR AIL RAN.

Fy enaid paid ag ofni,
Mi welaf gyrau'r wlad,
Fy etifeddiaeth werthfawr,
Terfynau tŷ fy Nhad:
Caf yno wledda'n hyfryd
Ar ffrwythau'r Ganaan bêr,
A llawenhau mewn gwynfyd
Tragwyddol uwch y sêr.

Caf yno weled Iesu
Fu farw yn fy lle,
I'm hachub rhag y fflamiau
A'm dwyn i deyrnas ne';
Caf orphwys yn ei fynwes,
Heb aflonyddwch mwy,
A chanu byth heb dewi
Am ras ei farwol glwy'.

30. Afon amser.—M. 10,

Afon amser gludodd ymaith
Frodyr i mi fwy na rhif;
Ar eu hol 'rwyf finau'n myned
Yn ddiaros gyda'r llif;
Pethau daear, troion amser,
O'm tucefn sydd yn awr;
O fy mlaen nid oes i'm golwg
Ond cyffiniau'r eilfyd mawr.

Gwyn eu byd fy hen gyfeillion
Aeth o'm blaen i'r porthladd draw;
Ar eu hol hwy dros y tonau
Moriaf finau maes o law:
Clywaf lais yn galw arnaf
Bydd yn barod, fe ddaw'r wŷs,
Mae'r priodfab bron a dyfod,
Bydd yn barod, bydd ar frys.

31. Agoriad Addoldy.—M. 5.

A fydd i'r Duw tragwyddol mawr
Sefydlu'i drigfan ar y llawr!
Ac o'i orseddfainc ddysglaer fry
Arddelwi'n temlau iddo'n dŷ!

I'w ofal mwyn rhown fawl un wedd
Am roi i'n synagogau hedd;
Ni faidd un gelyn godi llaw
I beri i'r addolwyr fraw.

Datganwn glod ag uchel lef
Ei gariad a'i diriondeb ef,
Am wrando cwyn rhai gwael mor hawdd,
A'n galw'n nes i gael ei nawdd.

32. Iaith doethineb.—M. 5.

A gaiff doethineb weiddi maes,
Heb neb yn gwrando iaith ei gras?
Lleferydd y tragwyddol Dduw,
A haeddai barch gan bob dyn byw.

Mi oedd ei brif hyfrydwch ef,
Ei Fab tragwyddol cyn bod nef;
A llawenhe's, er gwaeled yw,
Wel'd lle preswyliai dynolryw.

Fy meddwl ar y cyntaf âi
Ar iechydwriaeth y fath rai;
A gadwo'm ffyrdd i, dedwydd yw,
A'r dyn a'u gedy, ni bydd byw.

33. Pechadur achubedig.—M. 9.

A gaiff y fath bechadur,
Sydd ffiaidd, aflan, noeth,
O flaen yr orsedd sefyll,
Pan elo'r byd yn boeth?
Pryd hyn caf eglur wybod,
Beth yw cyfammod rhad,
A chanu i'm hanwylyd,
Yn hyfryd dŷ fy Nhad.

O Arglwydd, dysg i'm chwilio
Pur wirioneddau'r gair,
Nes dod o hyd i'r Ceidwad,
Fu gynt ar liniau Mair:
Mae ef yn Dduw galluog,
Mae'n gadarn i iachâu;
Er cymmaint yw fy llygredd,
Mae'n ffynnon i'm glanhau.

34. Achwyniad am farweidd-dra.—M. 5.

A gawn ni fod mor swrth a gwan,
O Arglwydd, byth heb weithio'n rhan?
Ni dros ba rai daeth Crist o'r nef,
Ac er ein lles llafuriodd ef?

Mor ddiofal y'm am gael sicrhad
O'r goron brynodd ef â'i waed!
Tyr'd, g'lomen fwyn, o'r nefol fryn,
Gwresoga di'r calonau hyn.

Ein hysbryd swrth, O bywiocâ,
A'n henaid llesg ymlòni wna;
Ar edyn serch a bywiog ffydd,
Ehedeg wnawn, nes cawn y dydd.

35. Eneinniog y nef.—M. 11.

Agorwn blethedig gerdd seingar,
Yn hawddgar a llafar ein llef,
O foliant, gogoniant gwiw union,
Yn un â chantorion y nef;
Moliannwn am ras mor ardderchog;
Caiff euog bechadur iachâd;
Agorwyd trysorau trugaredd,
Drwy rinwedd Etifedd y Tad.

Rhyfeddod nas gellir ei draethu,
Yw dyfod yr Iesu, Ior hael,
I godi dynoliaeth syrthiedig,
O'i chyflwr colledig a gwael;
Drwy ing ei lafurus farwolaeth,
Rhyw fawr fuddugoliaeth a gaed;
Fe redodd fel afon lifeiriol,
Rinweddau iachusol ei waed.

36. Ffordd at y Tad.—M. 47.

Agorwyd drwy'r gwaed
Y ffordd at y Tad,
Am dani bydd canu bob awr;
Yr Oen ar y groes,
Wrth farw dan loes,
Wnaeth heddwch rhwng nefoedd a llawr.

Tra'r nefoedd yn bod,
Fe genir ei glod,
Gan filoedd faddeuwyd eu bai;
Oen Duw yw efe,
Fu farw'n ein lle,
Mawl iddo fo byth i barhau.

37. Ffynnon agored.—M. 14.

Agorwyd ar y bryn,
Ryw ffynnon rad cyn hyn,
A'm gylch yn wyn o'm pen i'm traed:
Mae'n golchi'r dua'i liw,
Mor wyn â'r eira gwiw,
Rhinweddol yw y dwyfol waed.

Y ffynnon loyw hon,
O ôl y wayw-ffon,
Aeth dan ei fron, ddug i ni fraint,
Hi ylch y brwnt yn lân,
Hosanna f'enaid cân
Can's dyma sail, holl lu y saint.

38. Ffynon gwaed yr Oen.—M. 3.

Agorwyd ffynon i'm glânhau
Gan Iesu, Brenin nef;

A'i ffrydiau olcha ffwrdd ein bai
Trwy rym ei gariad ef.

Llawenydd sydd i lawer un
O herwydd agor hon,
Mae lle i minnau lawenhau
Bod i mi roesaw llon.

Mi ganaf fi tra byddwyf byw
Am rinwedd gwaed yr Oen;
Ond mi gaf ganu cyn bo hir
Mewn rhyw felusach dôn.

'Rwy'n credu caf fi delyn aur,
Anheilwng er fy mod,
Ddarparodd Iesu er fy mwyn
I seinio'n gu ei glod.

39. Môr o waed.—M. 3.

Agorwyd pyrth y nefoedd wiw,
Mi welaf fôr o waed;
A gallaf fi'r ffieiddia'n fyw,
Yn hollol gael glanhad.

O edrych arnaf, Arglwydd cu,
Mae bellach yn brydnawn;
A llanw euog sydd heb ddim
O'th nefol ddwyfol ddawn,

O tyr'd yn glau, mae'n gyflawn bryd,
'Rwy'n griddfan dan fy mhoen:
Yn methu dod i ffynnon rad
Santeiddiaf waed yr Oen.

40. Addewid wir.—M. 6.

A heibio'r dywell nos,
Fe ffy cymylau'r nen,
Fe ddaw'r addewid wir,
A'i geiriau pur i ben;
Ceir gwel'd y nefol hyfryd dir,
Ar fyr o dro, mewn goleu clir.

Ceir gwel'd yr addfwyn Oen,
Fu farw ar y bryn,
Yn medi o ffrwyth ei boen,
Yn hyfryd y pryd hyn;
A myrdd heb rif, yn canu'n nghyd
I'r hwn fu farw dros y byd.

41. Bradwyr enaid.—M. 4.

Ai am y drwg a wneuthym i,
Fy Arglwydd cu a laddwyd!
Llid nef dywalltwyd ar Fab Duw,
A'i enaid gwiw gystuddiwyd.

Ior grasol, maddeu 'meiau i,
Ni chlwyfaf di ond hyny;
O'm calon ewch bechodau mwy,
Fy Iesu wyf am garu.

Rho nefol arfau im' fy Ior,
O'th raslawn drysor uchod;
Cyhoeddaf ryfel tra b'wyf byw
Yn erbyn pob rhyw bechod.

42. Dyoddefaint Crist.—M. 28.

Ai dan ein pechod ni
Mewn poenau bu,
Etifedd mawr y Tad,
O'i gariad cu;
Mewn ymdrech meddwl prudd
A chystudd ef a gaed
A'i chwys (O ddyfna gûr!)
Yn ddafnau gwaed.

Disgyblion draw a drodd
Ni rosodd 'run,
Dan ŵg y byd a'r nef
Ond ef ei hun,
I'r lladdfa yn ein lle
Fel Oen aeth e'n ddilyth,
Ein Iesu cu oedd hwn,
Rhyfeddwn byth.

43. Drws a ffordd y bywyd.—M. 5.

Ai ffordd yw Crist? mae'n dwyn atDduw
Rhwng liniau gwaed,mae'r llwybr gwiw;
Mewn ffydd a zel af hyd-ddi'n syn,
Nes esgyn fry i Sïon fryn.

Y drws yw ef, a thrwyddo'r af
I'r nefol werddlas borfa braf;
Efe yw'r ddysglaer seren sydd
Yn dwyn i'r enaid wawr y dydd.

Haul ydyw ef, gras yw ei byst,
Goleuni pur yw gyrfa Crist;
Pan ymddangoso ymlid mae
Gymylau'r saint, a'u llawenhau.

44. Cymdeithas Biblau.—M. 10.

Ail gydganed ser y boreu,
Gorfoledded meibion Duw,
Fod ar daith efengyl oleu,
I fendithio dynol ryw:
Udgyrn gras sy'n uchel seinio,
Drysau'r carchar sy'n datgloi,
Haul Cyfiawnder sydd yn gwawrio,
T'w'llwch hirnos sydd yn ffoi.

Bwriwn hatling i'r drysorfa,
I roi Biblau i'r wlad bell,
Ac ni ddichon chwaith y calla',
Byth ddefnyddio mammon well;
Os un enaid sy'n newynu,
Mae yn Iesu'r manna iawn;
Ar y gair y'm yn ledaenu,
Boed cynnyddol lwyddiant llawn.

45. Balchder dillad.—M. 9.

Ail-llaw i mi yw'r dillad,
A'u defnydd gwerthfawr main;
Bu'r ddafad a'r sidanbryf,
O'm blaen yn gwisgo'r rhai'n;
Am hyn boed im' ymddiosg
Oddiwrth bob balchder cas,
Ac oddifewn ymdrwsio
Ag addurniadau gras.

Y rhosyn sydd yn gwywo,
Yn fuan y prydnawn,
Ar ol ei wywo hefyd,
Arogla'n beraidd iawn;
Er llygru'r corff daearol,
Effeithiol ffrwythau ffydd
Aroglant oll yn rasol,
O'r isel wely pridd.

46. Einioes yn cilio.—M. 22.

Ail ydyw fy nyddiau
I rediad y wenol,
O'r byr fyd daearol
I'r maith fyd tragywyddol;
Neu fel y blodeuyn
'Nol hawddgar flodeuo,
Yn nghanol ei degwch
Yn darfod am dano;
Mae pob peth o'm hamgylch
Yn amlwg yn tystio,
Mae'n fuan yn angeu
Y byddaf yn huno.

Pe i olwg fy mhabell,
'Nol iddi ddadfeilio,
Y deuai 'nghyfeillion,
Gan ddwysaidd och'neidio,
Dim cysur nis caffent
I'w teimlad hiraethlon,
Nis gallai galarnad
Byth gyrhaedd fy nghalon:
O, f'enaid! mewn bywyd,
Cais undeb â Iesu,
Efe all dy gynal,
Pan byddont hwy'n cefnu.

47. Gwyrthiau'r groes.—M. 5.

A'i llyfr llawn, saif natur wiw
I draethu glod ei Chrëwr Duw;
A'r oll a wnaeth ei law hael, gref,
A brawf mai teilwng ydyw ef.

Ond yn y gras achubodd ddyn,
Gwel'd ei ogoniant tecaf 'ry'm,
Pan ar y groes ei dynu wnaed,
Mewn leiniau coch o werthfawr waed.

Ei enw oll geir yma'n llawn,
Ac byth ni ddengys dysg na dawn,
P'un o'r llyth'renau'r decaf yw—
Doethineb, nerth, neu gariad Duw.

O felus wyrthiau croes mab Duw!
O'i fodd yn marw i mi gael byw!
Tyn, f'enaid, nerth a hedd o hyd
O'i ystlys friw a'i glwyfau drud.

48. Gorfoledd ar angeu.—M. 4.

Ai marw raid i mi'n ddilai,
A'r tŷ o glai ymddatod?
Raid i'r aelodau bywiog hyn
Falurio yn y beddrod?

Ni chaiff y pridd a'r pryfaid tlawd,
Ond malu'm cnawd a'i buro,
Nes del fy enaid llon ryw ddydd,
I'w wisgo o newydd etto.

Byw ydyw Duw, fy Mhrynwr mawr,
Fe edrych lawr o'r wybren;
A gwylia'm llwch nes gyro'r llef,
I'w godi ef drachefn.

49. Yr ail ran.

Mewn gwisgiad gogoneddus gwyn,
Ein gwael gyrff hyn dysgleiriant;
A phrydferth fydd pob gwedd a phryd—
Mor hyfryd yr edrychant!

Y gobaith bywiol hyn a ddaeth
In' trwy farwolaeth Iesu,
Cawn yma foli ei ras ef,
Ac yn y nef ei allu.

Derbyn ein moliant, Arglwydd cu,
A'n cerddi gostyngedig,
Nes gallom roi it' amgen clod,
A thafod didrancedig.

50. Pren y bywyd.—M. 5.

Ai pren yw Crist? mae'r byd yn rhad,
Yn cael o'i ddail ef lawn iachad:
Ai rhosyn yw? nid Saron fwyn
Ei fath erioed a allodd ddwyn.

Y Pen yw ef, pob aelod sydd
Yn cael oddiwrtho fywiol fudd;
Y seintiau fry ac yn y byd
A unwyd ynddo ef i gyd.

51. Seren ddydd.—M. 19.

Ai Seren yw?
Ei nerth a chwal yn llwyr
Y dywell nos,
A holl gysgodau'r hwyr;
'Rwy'n gwel'd o bell
Ei llewyrch llon drwy ffydd,
A gwybod 'rwyf,
Mai hon yw'r seren ddydd.

Ai haul yw ef?
Rhydd lewyrch gras ar led,
Ei gylch a'i wres
Trwy'r anial dir a red;
Cenedloedd pell
Wynebant ar y nef,
Gan lawenhau
Pan ymddangoso ef.

52. Purwr nefol.—M. 5.

Ai tân yw Crist? Fe bura'm drwg,
Ond colled i'r gwir aur ni ddwg;
Fe eistedd lawr fel purwr glân,
A'i draed a fathra'r sorod mân.

Ai ffynnon yw? I hon mi â,
I olchi ymaith fy holl bla;
Ei dyfroedd byw a'm bywiocâ,
A'm dillad budron a lanha.

Ai craig yw ef? fe saif yn syth,
Ni syfla Craig yr Oesoedd byth:
Daw melus ddw'r o honi maes,
I'm cynnal drwy'r anialwch cras.

53. Hunan-gyfiawnder.—M. 5.

Alarwyr llesg, medd Duw, ple'ch cair,
Sy'n crynu'n isel wrth fy ngair?
Newn t'w'llwch du sy'n rhodio'n brudd,
Rhowch ar fy ngras holl bwys eich ffydd.

Nid all eich dyledswyddau llawn
Roi am y pechod lleiaf Iawn;
Y wisg all natur barotoi,
Ni chuddia'ch gwarth, er ynddi 'mdroi.

Rhy fŷr yw'r gwely wnoethoch drin
I esmwythâu cydwybod flin:
Trowch at fy Mab i geisio hedd,
Cewch ganddo Ef dragwyddol wledd.

54. Angeu'r groes.—M. 3.

Am angeu'r groes mae canu'n awr,
Bydd etto ganu mwy
Pan gwrddo plant y gaethglud oll,
Mawr fydd eu canu hwy.

Trwy angeu Crist daeth i ni hedd,
A chymmod yn ei waed;
A thrwy ei glwyfau dyfnion ef
Caed i ni lawn iachâd.

Pan ddelo'r seintiau adref oll
I Salem fawr eu son
Nid ofni mwy, ond dyblu'r mawl,
Bydd pawb i Dduw a'r Oen!

55. Teilwng yw'r Oen.—M. 19.

Am angeu'r groes
O oes i oes bydd son;
A'r anthem lawn,
Fydd—Teilwng iawn yw'r Oen
O'r parch a'r bri,
Y clod a'r gallu 'nghyd,
Coronir ef,
Gan deulu'r nef i gyd.

56. Derbyniad aelodau.—M. 5.

Am blygu rhai o'i ras yn glau
I fod yn ufydd dan yr iau,
Clodforwn dirion nerth ein Duw
Yn llwyddo ei efengyl wiw.

Boed iddynt mwy o ddydd i ddydd
Barhau'n ddiysgog yn y ffydd,
Ac ymdebygu'n fwy o hyd
I ddelw deg eu Prynwr drud.

Blagured eu santeiddrwydd gwiw
Trwy rodio'n deilwng gyda Duw;
Gan ffyddlon aros yn dy dŷ,
Nes uno gyda'r eglwys fry.

57. Nerth gras Crist.—M. 4.

Am deimlo'th ras mae arnom chwant,
A gwel'd dy ogoniant nefol;
Bendithia'th fwrdd, O Frenin hedd,
Rho i ni wledd ysbrydol.

Bwytawn y bara bywiol hwn,
A'r cwpan yfwn eilwaith;
A'n henaid wrth wneyd hyn mewn ffydd
Yn llawen fydd mewn gobaith.

Cawn felly nerth i deithio'n hŷ
Ein gyrfa tua'r bywyd;
Cawn ras wrth raid gan Grist o'r nef,
A'i foli ef mewn gwynfyd.

58. Gwialen cerydd.—M. 25.

Am dy drugaredd bydd fy nghân,
Yn dragywydd;
A rhoddaf glod i'th enw glân,
Am dy gerydd:
Fe fydd dy blant yn ufyddhau,
Tan geryddon;
Ni wna gelynion ond parhau
Yn anffyddlon.

Mae ceryddon tyner Tad,
Yn fendithiol;
I roi cysuron a llesâd,
I'r crediniol:
Ac os daw i fynu'n fyw,
Mae'n fwy diwyd,
I gael ei dŷ wrth feddwl Duw,
Weddill bywyd.

59. Arfau i lawr.—M. 25.

Am ddod adre' i dŷ fy nhad,
'Rwy'n hiraethu;
Blinais ganwaith ar y wlad
Lle mae pechu;
Bydd dy hunan Iesu mawr,
Yn fy nerthu;
Fel na roddwyf f' arfau lawr
Nes gorchfygu.

Maddeu fy mhechodau i gyd,
Er dy ogoniant;
Ac na chosba fi 'n dy lid
Yn ol fy haeddiant:
Grym fy llygredd fo'n gwanhau
Yn feunyddiol;
A'r anian newydd fo'n cryfhau
Yn fwy nerthol.

60. Ymffrost y groes.—M. 5.

Am fywyd credu 'ry'm mewn un
A brofodd wŷn angeuol loes,
Gan ddysgwyl am goronau'n siwr,
Oddiwrth y gwr fu ar y groes.

Os llwytha'r byd eu gwaradwydd trist
Ar achos Duw, dim help nid oes,
Ymffrostio wnawn o enw Crist,
A gorfoleddwn yn ei groes.

61. Craig yn yr afon.—M. 9.

Am graig i adeiladu,
Fy enaid chwilia'n ddwys,

Y sylfaen fawr safadwy,
I roddi arni'th bwys:
Bydd melus yn yr afon,
Gael craig a'm deil i'r lan,
Pan fyddo pob ystormydd,
Yn curo ar f'enaid gwan.

Y graig yw'm noddfa dawel,
Dymunwn ganu am hon,
Pan byddwy'n rhoddi ffarwel
Am byth i'r ddaear gron;
O fewn y graig nid ofnaf
Elynion gwaetha'u gwedd,
O fewn y graig mi ganaf,
Yn ngwyneb angeu a'r bedd.

62. Gwerth crefydd.—M. 9.

AM grefydd ymofynwn,
A cheisiwn nes ei chael;
Gall hon ein dal a'n llòni
Pan fo'm ar wely'n wael:
Gall fyw mewn cyfyngderau,
Rhydd oleu yn y glyn;
A medi geir o'r ffrwythau
Byth fry ar Sïon fryn.

63. Llwydd efengyl.—M. 30.

AM Grist a'i farwol glwy'
Mae'r son yn myned drwy
Ororau maith:
Y mae'r efengyl lân,
Fel pur angerddol dân,
Yn 'hedeg yn y blaen,
I blith pob iaith.

Daw'r anial dir fel gardd
Yn llawn rhosynau hardd,
Ardderchog wedd!
Y ddaear a fydd lawn
O bob rhinweddol ddawn,
Ac yn flodeuog iawn
Mewn gras a hedd.

64. Diolch am gysuron.—M. 4.

AM gysur yn mhob adwy gaeth,
Yn nghyd â maeth dilysiant,
Am iechyd, synwyr, a phob rhad,
I ti, O Dad, bo'r moliant.

Am it' ein cadw yn mhob man,
Ein porthi a'n dilladu;
A gobaith bywiol am ail fyd
O wynfyd wedi'n claddu.

Uwchlaw bob peth boed iti glod
Nad allo tafod draethu,
Am ryfedd iechydwriaeth gref,
A ddaeth o'r nef drwy Iesu.

Pâr i ni ganu'r foliant hon
Yn noddfa Sïon nefol;
Yn nghôr dy gu angylion di
I'th foli yn drag'wyddol.

65. Môr o gariad.—M. 14.

AM iechydwriaeth lawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
Molianu gawn yr Iesu gwiw;
Dyoddefodd angeu loes,
Yn ddiddig ar y groes,
A'i ddoniau roes i ddynol-ryw.

O'r iechydwriaeth fawr,
A lifodd i ni lawr,
Yn ffrydiau o anfeidrol hedd:
Rhyw fôr o gariad yw,
Dy heddwch di, fy Nuw,
A nef y nef yw gwel'd dy wedd.

66. Bore Sabbath.—M. 4.

AMLYGODD Crist hoff rym ei ras,
Pan sangodd deyrnas angeu;
I lawr fe sathrai'r gelyn sur,
Gan ddryllio'i fur yn foreu.

Agorodd ffordd o eigion bedd
I ddinas hedd oddiyno;
Am hyn diolchaf i fy Naf,
Os nerth a gaf i'w gofio.

67. Genedigion Sïon.—M. 5.

AM Sïon gynt, pa son a gair,
Pa ryfeddodau a goffhair!
Ti ddinas Duw, is nef sy'n bod,
Clyw Tyrus draw, a'r Aifft dy glod.

Iuddewon a Chenedloedd llon
Gânt dechreu bywyd gras yn hon;
Cân dynion ac angylion Duw
Am dan y bryn mae'r dyfroedd byw.

Pan wnel Duw gyfrif ddiwedd byd,
O wladwyr Sïon hardd i gyd;
Anrhydedd fydd i un ger bron,
Ei eni ef a'i faethu'n hon.

68. Aberth y groes.—M. 4.

AM werth yr Aberth ar y groes
O oes i oes fe genir;
Pan ddarffo'r ddaear faith i gyd,
Am dano nid anghofir.

Oblegid hwn fe lawenhâ
Iuddewon a Chenedloedd,
Boed son am dano yn mhob man
Drwy'r ddaear gan y bobloedd.

69. Llawenydd cnawdol.—M. 4.

AM wir lawenydd pur parhaus,
Boed mwy fy nghais gwastadol;
Fy enaid sydd am ymryddhau,
Oddiwrth bleserau cnawdol.

Eu cariad a'u cyfeillach wael.
Nid wyf am gael ond hyny;
Y gwynfyd wyf yn garu'n well
Sydd fry yn mhell o'u gallu.

Pe cawn adenydd c'lomen gref,
Hedwn i'r nef heb oedi;
Yno mae'm Mhrynwr mwyn yn byw,
Ac yno'm Duw yn gwenu.

Mae yno bleser bywiol iach,
Heb sothach pechod ffiaidd;
Yn llifo o orsedd Duw'n ddibaid
I loni'r enaid santaidd.

70. Etholedigaeth gras.—M. 9.

ANFEIDROL a rhyfeddol,
Yw cariad rhad fy Nuw,
A redodd yn yr arfaeth,
At ddynion gwael eu rhyw;
A'u dewis mewn Cyfryngwr,
A'u rhoddi iddo'n hâd,
Ac yntau yn ymrwymo.
Eu hadgymmodi â'i Dad.

Etholiad heb deilyngdod,
I'w ganfod yn y dyn,
Yn tarddu o foddlonrwydd
Ewyllys Duw ei hun;
Tragwyddol ddoeth a grasol,
Anghyfnewidiol yw,
Mae'r sylfaen a'r adeilad,
I gyd o gynghor Duw.

71. Darpariadau gras.—M. 9.

ANFEIDROL a rhyfeddol,
Yw'r ffordd a drefnodd Ef,
I ddwyn ei eiddil bobl,
Yn iach i ganol nef;
Darparodd ar eu medr,
Ryw ffynnon bur ddidrai,
Er cysur i'r anghenog,
Mae'n golchi'r euog rai.

Myrddiynau ga'dd eu golchi
Heb ddim i dalu iawn;
Er tywallt pob cysuron,
Mae'r ffynnon byth yn llawn:
Rhinweddau'r ffynnon yma,
Sy'n para byth heb drai,
Anturiaf finnau iddi,
Er cymmaint yw fy mai.

72. Cadw'r ffydd.—M. 5.

ANFEIDROL Iôr y nef a'r llawr,
O gwrando di ein llef yn awr,
Gâd i ni gael diweddu'n gwaith
A'n gyrfa mewn gorfoledd maith.

Moes i ni brawf tu yma i'r bedd
O'th werthfawr hoff felusaf hedd;
A doed o'n cylch d'oleuni cu,
O nefol Dad, yn angeu du.

Pan ddelom i ddiweddu'n dydd,
Diweddu'n ffordd, diweddu'n ffydd,
I deyrnas nef, O derbyn ni,
Ar felus dant, i'th foli di.

73. Cystuddwyr Iesu.—M. 5.

ANFEIDROL ofid! erchyll wae!
Wele fy Arglwydd, gwaedu mae!
O'r ing a'r loesau trymion trist,
A ddug fy anwyl Brynwr Crist!

O'r hoelion dur a'r goron ddrain!
Ond ofer im' gyhuddo rhai'n—
Chwychwi, fy meiau creulawn, fu
Cystuddwyr penaf f' Arglwydd cu.

Chwi dynodd ddial y Duw mawr
Ar ei ddiniwed ben i lawr;
Am hyn, fy nghalon, tor yn ddwy,
A'm llygaid wylwch alar mwy.

74. Rhagrith.—M. 4.

ANFEIDROL ysbryd pur yw Duw,
Sy'n gwel'd pob rhyw feddyliau;
Cyfodi llef nid gwiw i neb
I'r nef heb eu heneidiau.

O flaen ei orsedd dim ond gras
Yn addas a ymddengys;
Pob un rhagrithiol edwyn Duw
Trwy liw ei wisg dwyllodrus.

Fy ffyrdd a'm meddwl prawf, O Dduw,
Gwna'm henaid byw'n ddiragrith;
Taer ymbil ger dy fron a wnaf
O hyd nes caf y fendith.

75. Duw digyfnewid.—M. 57.

ANFESUREDIG yw ei ras—
Un addas yw i ni;
Ni welsom ac a glywsom son
Am droion Un yn Dri;
Ac fel y clywsom, felly mae
O hyd yn rhyfedd yn parhau
Yn ddigyfnewid i'w fwynhau
Er cymmaint beiau'r byd.

Un hunanfodol ydoedd Ef,
Cyn llunio nef na llawr,
Yn nhragwyddoldeb maith yn ol,
Yn Dduw anfeidrol fawr;
Heb ddechreu dyddiau iddo'n bod,
Na diwedd einioes chwaith i ddod,
Tragwyddol a rhyfeddol Fod,
Yn Drindod diwahan.

76. Gweithwyr i'r Winllan.—M. 10.

ANFON beunydd weithwyr allan
I dy winllan, Arglwydd Ion:
Miloedd sydd heb glywed etto
Am y Siloh air o son!
Boed i'th deyrnas ymledanu,
Dangos di dy allu mawr
I Iuddewon a Chenedloedd,
Drwy holl leoedd daear lawr.

Clod a fyddo'n gyffredinol,
I Waredwr dynolryw;

Anorchfygol rym ei allu,
Sydd yn codi'r marw'n fyw:
Ni saif gelyn yn ei wyddfod;
Cwymp eilunod wrth ei lef;
Halaluia! 'r byd yn gryno
Ddaw yn eiddo iddo ef.

77. Cyfoeth i'r anghenus.—M. 15.

Anghenus wyf, bechadur gwan,
Er hyn 'rwy'n tynu tua'r lan,
Wrth weled digon gan fy Nuw:
Trysorau pe cawn eu mwynhau,
A laddai'n ngofid, laddai'n ngwae,
A gwnai fi'n llawen tra faw'n byw.

Mae yn ei glwyfau drysor drud,
I faddeu beiau pena'r byd,
O flaen yr orsedd buraf sydd:
Nid all euogrwydd yno ddim.
Fe gyll y ddeddf ei damniol rym,
Troseddwr euog caeth â'n rhydd.

78. Difyrwch mewn trallod.—M. 14.

Anghenus wyf o hyd,
Mewn trallodedig fyd,
Heb ynddo ddim i'm henaid gael
All roddi im' ryddhad,
Na grym, nac esmwythad,
Ond haeddiant rhad yr Iesu hael.

Ond er mewn anial le
Heb gyfaill is y ne,
Mi alla'n hawdd yn ngwedd fy Nuw,
Ddifyru'm hoes mewn hedd,
Nes myn'd i byrth y bedd,
Yn hyfryd wedd ei wyneb gwiw.

79. Y Gair yn Gnawd.—M. 11.

Angylion byth syllant ar Berson
Y gair ga'dd ei wneuthur yn gnawd,
Cynnydda fwy-fwy eu rhyfeddod
Wrth ganfod gogoniant ein Brawd:
Mae'r undeb yn awr yn agosach
Rhwng uchel Benllywydd y nen,
A'r dynion a goilwyd yn Eden
Na'r angel sydd uchaf ei ben.

O Iesu nad allem dy garu,
A'th foli tra byddom ni byw,
Ac hefyd dy ufydd was'naethu,
Dymuniad ein henaid, hyn yw:
O derbyn ddymuniad ein calon
Nes gallom dy foli yn well
Am i ti 'rioed adael dy drigfan
I geisio y truan oedd bell.

80. Telynau angylion.—M. 9.

Angylion doent yn gyson,
Rifedi gwlith y wawr,
Rhoent eu coronau auraidd,
O flaen y fainc i lawr;
Dadseiniant eu telynau,
Ynghyd a'r saint yn un;
Ond byth ni chanant ddigon
Am Dduwdod yn y dyn.

Am angeu'r groes bydd canu,
I dragwyddoldeb maith;
Ond im' gael teimlo'i rinwedd,
'Rwyf bron ar ben fy nhaith;
Fy nefoedd yw ei deimlo,
A'i deimlo'n union sydd
Yn troi pob rhyw dywyllwch,
O'm mewn yn oleu ddydd.

81. Codi dyn.—M. 4.

Angylion drow'd i soddi'n syth
I'r tân sydd byth yn llosgi,
Ond gadodd Crist ei orsedd fry,
I'n cadw ni a'n codi.

I lawr o ben dedwyddwch byd,
Fel hwy, dyn hefyd syrthiodd;
Ond plygodd Iesu'n îs nâ'r bedd,
I'w gyrhaedd ef i'r nefoedd.

O gariad na cheir byth i maes!
O ryfedd ras anfeidrol!
Mab Duw o'i fodd a drengai 'i hun
Er achub dyn gelynol!

Am y fath gariad mawr a hwn
Cydseiniwn bawb Hosana,
A boed drwy'r byd a'r nefoedd fry
Gyd-ganu Halaluia.

82. Angylion Duw.—M. 4.

Angylion Duw castellu wnant
O gylch ei blant a'u trigias;
Pa dafod byth all draethu faint
O ddrygau maent yn luddias.

O cerwch Dduw, ei seintiau gwâr
Am ei holl garedigrwydd:
O mor gyfoethog ydyw rhan
Rhai gredant yn yr Arglwydd.

83. Nadolig Crist.—M. 30.

Angylion gwyn eu gwawr,
Ryw foreu'n dyrfa fawr,
A ddoent o'r nef;
A chenadwri fad,
Am eni'r pur Fab rhad,
I gaethion gael rhyddhad,
O'i gariad ef.

Hwn ydyw Had y Wraig,
Ein cadarn Iôr, a'n Craig;
Fe wrendy'n cri;
Trysorau dwyfol ddawn
Sydd ynddo ef yn llawn,
Mae'n Briod anwyl iawn,
A Brawd i ni.

84. Llawenydd y nef.—M. 12.

Angylion, Seraphiaid, a saint,
Wrth ganu'n soniarus yn nghyd,

Eu cyngan sydd gyfuwch ei faint,
Nes adsain y nefoedd i gyd:
Neb yno yn glaiar ei gân,
Na neb yn addoli mewn rhith,
Pob calon yn llosgi fel tân;—
A gwynfyd a f'ai yn eu plith.

Pan gofiont eu dyddiau'n y byd,
A'r amryw dymhestloedd o'r blaen,
Ennyna'u hysbrydoedd i gyd,
Yn fflamiau angerddol o dân,—
I Iesu, er cymmaint eu bai,
Eu codi o bydew mor ddu,
Nis gall eu calonau hwy lai
Na seinio'r Jerusalem fry.

85. Mair y forwyn.—M. 5.

A'n henaid, Arglwydd, y'th fawrhawn,
Yn Nuw'r Iachawdwr llawenhawn;
Wrth ddatgan cerdd y forwyn lân,
Boed i'r un Ysbryd hwylio'n cân.

Ei gwaeledd welodd Brenin nef,
A phethau mawr i hon wnaeth ef;
Ei nerth a'i ras ef arni ddaeth,
Yn fam i'w Anwyl Fab fe'i gwnaeth.

Ni ddysgwyl Israel ddim yn hŵy,
Ni edir mo'r cenedloedd mwy,
I'r rhai sy'n ofni a chredu yn Nuw,
Ei ras a'i hedd, diderfyn yw.

86. Hyder wrth orsedd gras.—M. 3.

Anturiaf at orseddfainc gras,
Dan eithaf tywyll nos;
Ac ymddiriedaf, doed a ddel,
Ar haeddiant gwaed y groes.

Anfoner eirchion aml ri',
I mewn i byrth y nef;
Gwrandewir pob amddifad gri
Yn union ganddo ef.

Ni fethodd gweddi daer erioed
A chyrhaedd hyd y nef;
Ac mewn cyfyngder, f'enaid, rhed
Yn union ato ef.

87. Tawelwch yn Nghrist.—M. 5.

Anwylaf o'r holl enwau fry
Iesu, fy Nuw, fel dyn y'th gaed!
Pwy all wrth'nebu'th gariad cu,
Neu ddibris farnu'th werthfawr waed?

Trwy haeddiant dy farwolaeth di
Mae'r Tad yn gwenu heb ddim dig;
A thrwy d' eiriolaeth, Arglwydd da,
Dy Ysbryd gyda dynion drig.

Nes gwelwyf Dduw mewn dynol gnawd
Fy enaid tlawd heb gysur sy',
Y Cyfiawn santaidd Dri yn Un,
Rhyw ddychryn yn' i'm meddwl i.

Ond gwel'd Immanuel os caf,
Mewn gobaith llawenhaf bryd hyn;
Ei enw ladd fy ofnau caeth,
A'i waed f' euogrwydd ymaith tyn.

88. Marw raid.—M. 1.

A raid i angeu du
Gael chwalu 'mhabell frau?
Ai marw raid! a'm henaid fyn'd
I'r gwynfyd, neu i'r gwae?

Gwirionedd, marw raid,
A'r enaid fyn'd i'r glyn;
O am ryw hardd angylaidd lu
I'w ddwyn i Sïon fryn.

Wrth nesu tua glàn
Yr hen Iorddonen ddu;
O am gael teimlo 'mod i'n nes
I fynwes Iesu cu.

89. Amynedd dan y groes.—M. 15.

A raid i gystudd garw'r groes
I ddilyn f'ysbryd ddydd a nos?
Os rhaid, gwna fi yn foddlon iawn:
Tan ganu gwna im' fyn'd yn mlaen,
Yn llawen yn y dwr a'r tân,
O foreu 'mywyd hyd brydnawn.

Os trof i'r dwyrain faith neu'r de,
'Does neb yn ffyddlawn fel Efe:
Mae'n gwneyd fy ysbryd llesg yn llon;
Goddefaf golled o bob rhyw
Yn mhresennoldeb hoff fy Nuw,
A holl gystuddiau'r ddaear hon.

90. Marw beunydd.—M. 4.

A raid i'm corff i farw?—rhaid,
A'r enaid yma 'madael;
O am ryw angel, geidwad cry',
I'w ddwyn i fynu'n ddiogel.

I'th ffyddlawn law, fy Mhrynwr doeth,
Fy enaid noeth ro'f fynu, [dydd,
A dysgwyl d' arch mae'm cnawd bob
I fyn'd i'r pridd i lechu,

Fy enaid am ymadael mae
Wrth glywed geiriau'th gariad,
A hedeg fry i'r nef, mewn hwyl,
I'th gôl, fy anwyl Geidwad.

91. Porth marwolaeth.—M. 7.

Ar bellderau tragwyddoldeb
Mae fy wyneb yn y blaen,
Ni chaf aros, ni chaf orphwys,
Nes fy myned yno'n lân;
Porth marwolaeth,
Er mor dywyll, rhaid myn'd trwy.

Pwy wasgara fy amheuon,
Pwy wna i'm hofnau mawrion ffoi,
Pan fo dyfroedd oer marwolaeth
O fy amgylch yn crynhoi?—
Gwenau Iesu,
Wnant y glyn fel goleu ddydd.

92. Sylfaen cysur.—M. 1.

Ar bwy wrth deithio'r byd
  Caf sylfaen glyd rhag loes,
Ond ar y Person dwyfol glân,
  Fu'n griddfan ar y groes.

Efe yn ffyddlawn fydd,
  I'm cynnal ddydd a ddaw,
Pan ddelo mewn gogoniant mawr
  Ar gwmwl dirfawr draw.

Tra byddo'r nef a'i gwawl
  Y talaf fawl i ti,
Gan roddi'n uchel ddwyfol werth
  Ar aberth Calfari.

93. Gweinidogaeth angylion.—M. 7.

Archodd Duw i'w lân angylion,
  Fyw yn Sïon efo'i saint;
Gan eu gwylio yno'n unol,
  Rhag uffernol hudol haint:
    Mor ddymunol, &c.,
  A hyfrydol ydyw'r fraint.

Gwrendy'n fwyn ar gwyn y gweinion,
  Mewn trallodion clyw eu llef;
Mae'n gwaredu'r sawl a gredo,
  Pan y galwo arno ef;
    Halaluia, &c.,
  Dyma ddiddos noddfa gref,

94. Mawl a gweddi.—M. 35.

Ar dân, yn lân, bo llu,
  Yn canmol Iesu cu,
Gwnaeth daliad llawn, ar un prydnawn,
  Am hyny awn yn hy'
At orsedd Ior, mae yno stor,
  Fyth fel y môr, a mwy;
Ei haeddiant ef, sydd noddfa gref,
O ganol nef, fe glyw ein llef,
  Bu'n dyoddef marwol glwy'.

95. Ei debyg nid oes.—M. 19.

    Ar dir na môr
  Ei debyg gwn nad oes;
    Seraphiaid pur,
  Ni thraethant byth ei oes:
    Dringo a wnaf,
  Drwy nerth ei ras o'm gwae,
    Nes caffwy'n glir,
  Ei weled fel y mae.

    Darfydded son
  Am haeddiant dyn a'i rym,
    Fe dawdd yn llwyr
  O flaen cyfiawnder llym;
    Yn nghlwyfau'r Oen
  Mae ymffrost f'enaid tlawd;
    Daeth trefn y nef,
  A Iesu i mi'n frawd.

96. Nerth ffydd.—M. 10.

Ar dy allu 'rwy'n ymddiried,
  Mi anturiaf, doed a ddel;
Treiddiaf drwy'r afonydd dyfnion,
  Mae dy eiriau oll dan sel:
Gwelaf draw yn nghadw imi
  Drysor mwy nâ'r moroedd maith;
Cyfoeth pur heb fesur arno,
  Hir brydnawn ar ben fy nhaith.

97. Craig sydd uwch nâ mi.—M. 10.

Ar dymhorau o ofidiau
  Tro'f fy wyneb at fy Nuw,
Pan bo 'nghalon bron ymollwng
  Dan helbulon o bob rhyw;
O eithafoedd pella'r ddaear,
  Llefaf, Arglwydd, arnat ti
Am dy gymhorth i fy nhywys
  I y Graig sydd uwch nâ mi.

Pan y delo fy ngelynion,
  Fel rhyw afon greulon gref,
I ddifadu f'enaid eiddil
  O gysuron pur y nef;
Gwaeddaf ar fy Iesu tirion,
  A fu farw ar Galfari,
Am fy nhywys yn ddiogel,
  I y Graig sydd uwch nâ mi.

98. YR AIL RAN.

Pan yn ymchwydd yr Iorddonen,
  Yn swn gwyllt-ryferthwy'r lli',
Melus ganaf, er mor eiddil,
  Ar y Graig sydd uwch nâ mi!
Ac mi roddaf hèr, heb g'wilydd,
  I alluoedd uffern ddu,
Pan y bo fy nhraed yn ddiogel
  Ar y Graig sydd uwch nâ mi.

Pan âf adref at y teulu,
  Teulu dedwydd Had y wraig.
Rhai fu'n hyfed yn yr anial
  Ddwr i'w llòni, ddaeth o'r graig;
Yn mhlith miloedd dirifedi,
  Minnau unaf gyda'r llu,
I foliannu byth heb dewi,
  Am y Graig sydd uwch nâ mi.

99. Casglu i weiniaid.—M. 3.

Ar dyner drugareddau Duw
  Yr y'm yn byw bob awr;
Daeth Crist yn dlawd i'n codi ni
  O wae ein tlodi mawr.

Yr hwn sy'n hau yn helaeth iawn
  A fed yn llawn ryw ddydd;
Caiff wobrwy deg ar ben ei daith,
  Gorfoledd maith a fydd.

100. Dydd ympryd.—M. 5.

Ar ddydd fel hwn at Dduw yr awn,
A llefain a galaru wnawn;
Ond codwn eilwaith i gyffroi
Ei lid, drwy at ein pechod droi.

Ar ol ceryddu'n ofer cyd,—
A'n harbed—cyfiawn fyddai'i lid

Pe taflai ni i'r fflamiau tân,
I'n cyd-ddyfetha yno'n lân.

Ond er holl grî'n pechodau mawr,
Gostwng dy rasol glust i lawr;
Ac mewn tosturi tyner clyw
Weddiau llesg dy blant, O Dduw.

A thrwy anadliad d' Ysbryd Glân,
Enyner ynom nefol dân;
Diwygia'n gwlad ac arbed hi,
Fel y mawrhaer dy enw di.

101. Cariad Crist.—M. 5.

Ar edyn cariad 'hedodd Crist,
I'r ddaear wael o'r nefoedd wen,
I gadw colledigion trist,
A'u dwyn i'r llys o fewn i'r llen.

Y ffordd i'r nef yn rhydd a wnaed,
Trwy rinwedd ei gyfryngdod ef,
Anfeidrol werthfawr yw ei waed,
Fe'n prynodd ni i feddu'r nef.

102. Môr ystormus.—M. 24.

Ar ein taith yr ydym ninnau,
Yn morio'n dyn drwy'r mawrion dònau,
Gan hyn fe ddylem fod yn effro,
A myfyriol iawn am forio;
Dwys fo'n golwg, diesgeulus,
Rhaid ymdaro'n wyliadwrus,
Neu diau bydd in' golli'r dydd,
Mewn tywydd ystormus,
A suddo dan y dòn arswydus,
Heb un gafael da gofalus.

103. Tad wrth y llyw.—M. 3.

Ar fôr tymhestlog teithio 'rwyf
I fyd sydd well i fyw,
Gan wenu ar ei stormydd oll,
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

Er bod yn awr o dòn i dòn,
Nes ofni bron cael byw,
Diangol ydwyf hyd yn hyn,
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

Ac os oes stormydd mwy yn ol,
Yn nghadw gan fy Nuw,
Wynebaf arnynt oll yn hy',
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

Pan fo eu hymchwydd yn cryfhau,
Fy Angor sicr yw;
Mi ddof yn ddiogel drwyddynt oll,
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

I mewn i'r porthladd tawel clyd,
O swn y storm a'i chlyw,
Y caf fynediad llon ryw ddydd,
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

104. Tir Immanuel.—M. 4.

Ar fynydd Sïon wrth ein blys,
Cawn bethau melus filoedd;
Cyn myned fry i'r nefol fro,
Neu rodio'r auraidd strydoedd.

Can's dynion grasol profi wnant
Ogoniant yma'n dechrau;
Oddiwrth wir ffydd a gobaith crŷ,
Gall dyfu nefol ffrwythau.

Am hyny canwn glod i'n Duw,
Yn nghanol pob rhyw drallod;
Ein ffordd trwy dir Immanuel sydd
I wychach gwledydd uchod.

105. Ffarwel forwynion ffol.—M. 9.

Ar fyr caf rodio'r llwybr,
Na ddeuaf byth yn ol,
Caf roi ffarwel dragwyddol
I'r holl forwynion ffol;
Dedwyddwch pur diddarfod,
Sydd uchod i barhau;
O f'enaid, dechreu ganu,
Mae'r amser yn nesâu.

Fe genir ac fe genir
I dragwyddoldeb maith,
Os gwelir un pererin
Mor llesg ar ben ei daith;
A gurwyd gan dymhestloedd,
A olchwyd yn y gwaed,
A godwyd ac a gadwyd,
Drwy iechydwriaeth rad.

106. Diwedd gofidiau.—M. 9.

Ar fyr fe dderfydd galar,
Caethiwed, cur, a phoen;
Daw Jubili dragwyddol
I bawb sy'n caru'r Oen.
Mae etto'n ol orphwysfa,
O gylch yr orsedd-fainc,
I blant y gorthrymderau
I seinio nefol gainc.

Ac os yr anheilyngaf
Yn mysg y dyrfa lân,
Fydd byth â'i fawl bereiddiaf,
A gyfyd uwchaf gân,—
A ddichon y bydd rhywun
O fewn y Salem fry,
A chwery dannau'r delyn
I'r Oen yn well nâ mi?

107. Rhyddhad y gwystl.—M. 16.

Ar Galfari, yn ngwres y dydd,
Y caed y gwystl mawr yn rhydd,
Trwy golli gwaed yn lli';
Ac yno gwnaed anfeidrol Iawn,
Boddlonwyd deddf y nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi.

Trywanwyd, do, fy Mhrynwr rhad,
Nes daeth o'i galon ddw'r a gwaed;
Yn llifo'n afon bur,—
O'i glwyfau mawr i'r llawr yn lli',
Dros f'enaid tlawd ar Galfari,
O todd fy nghalon ddur.

108. Ffynon Calfaria.—M. 47.

Ar Galfari fryn,
Agorwyd cyn hyn,
Ryw ffynnon ryfeddol ei rhin;
A hollol lanha
Bob llygredd a phla,
A chàna y dua yn wyn.

Y gwan mae'n gryfhau,
Er cymmaint ei fai,
I sefyll wrth Sinai'n ddigryn;
Mae'n symud â'i hedd,
Rym angeu a'r bedd,
A'u hofnau heb adael yr un.

109. Trysor Calfaria.—M. 47.

Ar Galfari fryn,
Rhyfeddwn am hyn,
Caed trysor, am dano bydd son;
Mae'n drysor mor ddrud,
Mae'n digon i'r byd,
O diolch am gariad yr Ion.

Mae trysor sydd fwy
I'w gael yn ei glwy',
Nâ'r ddaear a'i gwychder i gyd;
A phrofiad o'i hedd,
Sydd fwy nag a fedd
Holl fawredd a bonedd y byd.

110. Grym llef Crist.—M. 8.

Arglwydd, anfon dy leferydd,
Heddyw yn ei rwysg a'i rym,
Dangos fod dy lais yn gryfach,
Nas gall dyn wrthsefyll dim:
Tyr'd yn mlaen, nefol dân,
Cymmer yma feddiant glân.

Deuwch hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil lawn o hedd,
Galwad sydd i bawb o'r enw,
I fwynhau tragwyddol wledd:
Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn.

111. Gweddi pererin.—M. 7.

Arglwydd, arwain trwy'r anialwch
Fi, bererin gwael ei wedd;
Nad oes ynwyf nerth na bywyd,
Fel yn gorwedd yn y bedd:
Hollalluog, &c.
Ydyw'r un a'm cwyd i'r lan.

Agor y ffynnonau melus,
Sydd yn tarddu o'r graig i maes,
Hyd yr anial maith canlyned
Afon iechydwriaeth gras:
Rho i mi hyny, &c.
Dim i mi ond dy fwynhau.

112. Presennoldeb Duw.—M. 7.

Arglwydd cadarn, bydd o'n hochr,
Dal fy ysbryd llesg i'r lan,
Gwyddost amled yw'm gelynion,
Ac nad wyf ond eiddil gwan;
Yn mhob trallod,
Rho im' wel'd dy fod o'm tu.

Mae fy meiau fel mynyddoedd,
Ac fel ser y nef eu rhi';
Ond mae haeddiant aberth Iesu
Yn anfeidrol fwy i mi;
Dyma unig
Sail fy nghysur a fy hedd.

113. Ymadawiad.—M. 10.

Arglwydd, gollwng dan dy fendith,
Rho dy heddwch dan ein bron,
Portha'n henaid â'r gwir fanna,
Cariad pur seraphaidd llon;
Llanwn calon â chysuron,
Atat ti dyrchafwn lais,
Pan y delom adref atat,
Yna rhown it' glod parhaus.

BYRDON.

Halaluia i Dduw ac i'r Oen,
I oesoedd diderfyn
Y maith dragwyddoldeb,
Halaluia, Amen.

114. Cyhoeddiad efengyl.—M. 7.

Arglwydd grasol, dyro gymorth
I gyhoeddi'n eglur iawn;
Ddyfnder tlodi dyn truenus,
Ac anfeidrol ddwyfol ddawn:
Fel bo'r truan, &c.,
Yn cael trysor nef yn rhad.

Pa'm yr ofnaf feiau mawrion,
Trymach ydyw marwol glwy';
Mwy yw gair o enau'm Harglwydd
Nag yw myrdd o honynt hwy:
Goruchafiaeth, &c.,
Fydd yn hyfryd pan y del.

115. Lamp heb olew.—M. 7.

Arglwydd, paid a gadael i mi
Ymfoddloni heb y gwir,
Lamp heb olew a ddiffodda
Yn y *trial* mawr cyn hir!
Rho im' olew,
Yn fy llestr gyda'm lamp.

Ond cael hyny byddaf barod
Yna i ddyfod atat ti,
I gael gwledd a llawenychu,
Gyda theulu'r nefoedd fry;
O am ddyfod,
Yna i mewn cyn cau y drws.

116. Cerddi Gabriel.—M. 5.

Arglwydd, pan fwy'n myfyrio'n syn,
Ar dy ddyoddefaint mawr cyn hyn;
Fy ysbryd gwyd a hedeg bydd,
Yn llawn o dân, ar aden ffydd.

Dymunwn gyrhaedd tônau hy',
Trag'wyddol gerddi Gabriel fry;
Ond cwympo'n llesg mae'm cân i lawr,
Yn mhell islaw dy goncwest mawr.

Ond fe ddaw'r amser, mae'n nesâu,
Cawn ado'n ol ein cyrff o glai;
A siriol gyflym hedeg fry,
I ganu gyda'r nefol lu.

117. Hiraeth am dy Dduw.—M. 6.

Arglwydd y bydoedd fry
Mor deg a hawddgar yw
Trigfanau'th gariad cu,
Daearol demlau Duw;
Mae tynfa f'enaid tua'th dy,
Fy Nuw i wel'd dy wyneb cu.

Aderyn bach y tô
Gais yno i'w gywion le,
A'r wenol ar ei thro
Hiraetha am ei thre;
Mae hiraeth f'enaid i 'r un faint
A fod, O Dduw, yn mysg dy saint.

118. YR AIL RAN.

Gwyn fyd y dynion fo'n
Gweddio yn y lle:
Mae Duw yn gwrando'i blant,
Yn wastad molant ef;
A dedwydd ydynt hwy'r pryd hyn,
Sy'n hoffi'r ffordd i Sion fryn.

O nerth i nerth â rhai'n
Trwy lŷn wylofain du,
Nes delont oll gerbron
Eu Duw yn Sion fry;
O hyfryd fan, pan ddygo ef
Ei blant i gyd o'r byd i'r nef.

119. Bwrdd yr Arglwydd.—M. 5.

Arglwydd y bywyd, yma'n rhad,
Arlwyodd fwrdd â'i gnawd a'i waed,
Rhyfeddwn faint yr arlwy wiw,
Profwn y wledd, a molwn Dduw.

Er yn absennol, mae Efe
Yn parotoi i'n henaid le,
I gael yn ngwlad goleuni fyw
Yn agos byth at wyneb Duw.

Edrychwn tua'r bryniau fry
O'r lle y daw ein Harglwydd cu,
Gan ddysgwyl am ei gerbyd Ef
I ddwyn ein henaid blin i'r nef.

120. Arglwydd y Sabbath.—M. 5.

Arglwydd y Sabbath, erglyw'n llef,
'Nawr ar dy ddydd, o fewn dy dŷ;
Doed ein caniadau llesg i'r nef,
O'r anial fyd, fel ebyrth cu.

Cawn yma rai Sabbathau gwiw,
Ond fry gorphwysfa hoffach gawn,
At hon boed tynfa'n henaid byw
Mewn dymuniadau gwresog iawn.

Mor ddedwydd yw y dyrfa lân,
Heb yn eu plith na phla na phoen;
Nac yno ddim i rwystro'r gân
A seiniant byth i Dduw a'r Oen.

121. Merch yr Amoriad.—M. 47.

Ar groesbren brydnawn,
Cyfiawnder ga'dd Iawn,
A'r gyfraith anrhydedd 'run dydd;
Trwy rinwedd y gwaed,
Boddlonwyd y Tad,
Daw merch yr Amoriad yn rhydd.

Anfeidrol yw'r fraint,
Ddarparwyd i'r saint,
Trwy'r Duwdod a'r Dyndod yn Un;
Brawd ffyddlon a gaed,
Rhodd drosom ei waed,
O'i fodd daeth yn Geidwad i ddyn.

122. Iesu yn yr ardd.—M. 13.

Ar Iesu yn yr ardd
'Roedd golwg hardd yn wir,
Ymdrechodd am ein bywyd ni
A'i waed yn llifo'r tir;
O gariad heb ddim trai,
Heb dwyll na bai y bu,
A dyma gysur i barhau,
Mewn cyfyngderau du.

Ei addewidion da,
Ant bellach â fy mryd,
Ei fywyd a'i farwolaeth bur
Yw'm cysur yn y byd;
Mewn trallod, ac mewn hedd
Ei wledd sy'n llawenhau,
Yn angau ac yn nydd y farn,
Mae'n gadarn i barhau.

123. Ei lusern a ddiffydd.—M. 22.

Ar lan yr Iorddonen
Mewn dyrus anialwch,
Fe dry holl oleuni'r
Annuwiol yn dywyllwch,
O'i amgylch y rhua
Bwystfilod am 'sglyfaeth,
Drwy swn cenllif afon
Glyn cysgod marwolaeth:
*Ond heulwen gogoniant*
*Dywyna i'r Cristion,*
*Nes iddo iach rydio*
*I hyfryd fro Sion.*

Diffodda ei lusern
Bydd yntau mewn cyffro,
Heb obaith eu gweled
Byth mwyach yn gwawrio;
Marwolaeth yn unig
Sydd yno'n cartrefu,

A lleni tywyllwch
Rydd dros ei ffenestri:
*Ond heulwen gogoniant &c., &c.*

124. YR AIL RAN.

Mewn pryder ymwrendy
Oes neb yn dod heibio
Rydd air i'w ddyddanu,
Neu lamp i'w oleuo:
Ond swn troed addewid
Ni chlywir yn unlle,
Na dim ond trwm adswn
Cerddediad yr angeu!
*Ond heulwen gogoniant, &c.*

O'r diwedd dan riddfan
Mae'n llithro i'r afon!
Pa dafod byth draetha
Fawr ing ei wasgfeuon!
Heb fyw ac heb farw,
Heb nofio, na soddi,
Fe'i teflir i lync-lyn
O fythol drueni!
*Ond heulwen gogoniant, &c.*

125. Arlwyadau gras.—M. 4.

Arlwywyd gwledd trwy nefol ddawn,
Mae groesaw llawn i fwyta;
Rhoi bywyd yn ein calon bydd,
A'r meddwl prudd a lona.

O molwch gariad Crist bob un,
Wrth brofi gwin ei heddwch;
Yn un â'r saint eich ceraint fry,
Hosanna'n gu adseiniwch.

Gogoniant byth i'r Duw a rydd
Y fath lawenydd ini;
Seinier Hosanna hyd y ne'
Nes cyrhaedd lle mae'r Iesu.

126. Angladd credadyn.—M. 5.

Ar ol ei ddydd, a'i lafur maith,
A holl flinderau 'i farwol daith,
Mor felus fydd priddellau'r glyn
I'w gorff lluddedig, wedi hyn.

Ond nac ymffrostia, reibus fedd,
Er mor llygradwy yw ei wedd,
Fe'i gwelir etto'n hardd ei bryd
Er gwaetha'th alanastra'i gyd.

Daw etto'n llon o lwch dy lawr,
A'i gorff yn ddysglaer fel y wawr,
Yn llawn o nerth a didranc nwy',
Heb deimlo byth ddim methiant mwy.

127. Aros dan y groes.—M. 30.

Arosaf ddydd a nos,
Byth bellach dan dy groes,
I'th wir fwynhau;
Mi wn mae'r taliad hyn,
Wnaed ar Galfaria fryn,
A'm gylch yn hyfryd wyn
Oddiwrth fy mai.

O gwawria fore ddydd,
Pan gaffwyf fyn'd yn rhydd,
O'm carchar caeth;
Fe dodda'r dwyfol wres,
Y pyrth a'r barau pres,
O hyd 'rwy'n myn'd yn nes
I ben fy nhaith.

128. Buddugoliaeth drwy Grist.—M. 8.

Aros Iesu yn y rhyfel,
F'enaid yn lluddedig sydd,
Ti all ddrysu fy ngelynion,
Ti bia'r enw, ti bia'r dydd:
Trwy dy ddawn 'n unig cawn
Fuddugoliaeth werthfawr iawn.

Minnau redaf drwy'r byddinoedd,
Ond it' fyned o fy mlaen;
Mae dy gamrau'n tori'r tònau,
Ac yn diffodd grym y tân.
Yn ol dy droed par i mi ddod,
I'r hyfrydwch mwya' erioed.

129. Iawn ac eiriolaeth Iesu.—M. 9.

Ar sail marwolaeth iawnol
Ein Harchoffeiriad mawr,
Mae bobpeth da'n dylifo
Yn rhad i deulu'r llawr;
Mae heddyw'n eiriol drosom
O flaen yr orsedd fry,
Awn ninnau yn ei enw
At orsedd gras yn hŷ.

130. Preswyl y Drindod.—M. 5.

Ar uchel faine y nefol wlad
Teyrnasa'r hollalluog Dad;
Gan dywallt ei ddaioni'n llon
Dros holl wastadedd dedwydd hon.

Ac fel Haul dysglaer ganol dydd,
Ein Prynwr siriol yno sydd;
Prydnawn na nos nid oes i'r fan,
Nac achos wrth y lleuad wan.

Yn nghanol y fro ddysglaer fry,
Y g'lomen santaidd hefyd sy;
A phoen a phechod ymaith ffo'nt,
I wlad y cariad byth ni ddont.

131. At bwy yr awn ni?—M. 4.

At bwy, O Dduw, at bwy'r awn ni,
Ond atat ti dy hunan?
Ni cheir yn agos nac yn mhell
Un cyfaill gwell yn unman.

Mae'th eiriau oll, da gwyddom hyn,
Yn ysbryd ac yn fywyd;
Mae'th ffyrdd yn heddwch llawn o hyd,
A'th lwybrau i gyd yn hyfryd.

Pwy bynag dry oddiwrthyt ti
I'r wlad bell lle bu unwaith,
O Iesu hael nac erfyn di
Byth arnom ni fyn'd ymaith.

132. Bara a gwin nefol.—M. 5.

At draed yr Oen yn isel dewch,
Gwel'd pethau rhyfedd ynddo gewch;
Rhy gul yw'r byd i roddi i maes
Ei werth, a'i rinwedd ef, a'i ras.

Ei gnawd a'i waed, trwy ryfedd rin,
Sydd fywiol fara a nefol win;
A hwn y porthir f'enaid byw,
A lloni mae holl Sion Duw.

Y bêr Winwydden nefol yw,
O'i nodd y ffrwytha'r cangau byw;
Boed undeb byth rhwng f'enaid trist,
Fel cangen o winwydden Crist.

133. Llygriad dyn.—M. 5.

At ddrwg y mae tueddiad mawr,
Yn ein naturiaeth ni yn awr,
Nis gallwn fyth drwy'r gyfraith fyw,
Na haeddu dim o heddwch Duw.

Ond ar y groes fe ddygodd Crist
Ein camwedd trwm a'n cerydd trist;
Anfeidrol ydoedd cariad Duw,
A'i nefol ras at ddynol-ryw!

Hardd lunia Adda'r Ail ei had
Yn lân a doeth ar ddelw'i Dad;
Dwg hwy i deg Baradwys Duw—
Anfeidrol well nag Eden wiw.

134. Aberth Crist.—M. 4.

Atebodd mawrwerth Aberth Ion
Ofynion deddf gyfiawnaf,
Yn awr mae gwedd trugaredd gu
Yn gwenu ar y gwanaf.

Gwael yw ei lun, O gwel ei loes,
E roes ei einioes ini;
O galon ddifri ninnau wnawn
Yn felus iawn ei foli.

135. Chwilia fi.—M. 5.

A'th lygad, Arglwydd, prawf fi'n glau,
Rhag i mi rodio llwybrau gau;
Er nas cyhudda 'nghalon fi,
Fy enaid oll, O chwilia di.

Os llecha drwg o fewn fy mron,
Od oes rhyw fai nas gwn yn hon,
O tro fy nhraed pan wibiwyf fi,
A dwg fi'n ol i'th lwybrau di.

136. Taeniad efengyl.—M. 30.

At holl dylwythau'r llawr,
Efengyl hed yn awr,
O fôr hyd fôr;
Paganiaid ddelo'n llu,
Pob math, yn wyn a du,
I foli'r Iesu cu,
Ein Harglwydd Ior.

137. Plentyn gartref.—M. 4.

A'th law, O Dduw, yn ngŵydd fy nghas,
Fy mwrdd yn fras arlwyaist;
Rhoist i mi gwpan llawn dros ben,
Ag olew y'm heneiniaist.

Dy arlwyadau hael, fy Nuw,
Tra fyddwyf byw fo imi:
A'th dŷ fo'n drigfan im' o hyd,
A'm gwaith i gyd dy foli.

Am orphwys yno'n wastad 'rwy',
Nid un fo'n tramwy weithiau,
Fel gwestwr neu ddyeithr-ddyn,
Ond megys plentyn gartre'.

138. Gostyngeiddrwydd nefolion.—M. 4.

At orsedd Duw 'rwy'n gwylaidd ddod,
A'm tafod ac â'm calon;
I ddysgu mawl y nefoedd fry,
A chanu cerddi angylion.

Hwy wrth dy draed, oll gyda pharch,
Dan gyfarch yr addolant;
O flaen yr Oll trag'wyddol mawr
Yn ddim i lawr y soddant.

Cystadlwn innau â'r nefol lu,
I'th foli mewn ufydd-dod,
Fy enwi'n "Llai nâ dim" a wnaf,
A'm gwaeledd gaf gydnabod.

Pa fwya' wy'n wel'd o'th fawredd di,
Myn'd lawr 'rwyf fi'n fwy isel;
Pa isaf 'raf, fy ngwynfyd sy
Yn codi 'n fwyfwy uchel.

139. Llef am adnewyddiad—M. 19.

At orsedd gras,
Mi af i ddweyd fy nghŵyn,
Bydd im', O Dduw,
Yn Dad a Cheidwad mwyn:
O cadw fi
O rwydau'r gelyn cas,
Dan gysgod nawdd
Dy annherfynol ras.

O cofia'r hedd,
Rai prydiau ro'ist i lawr
I'm henaid trist,
Mewn cyfyngderau mawr;
Rho etto nerth,
Y mae fy enaid gwan,
Gan rym y dòn,
Yn methu dod i'r lan.

140. Diwedd blwyddyn.—M. 5.

At rif treuliedig flwyddau'm hoes,
Un arall aeth, ei thro a roes,
Llefaru maent o hyd yn glau,
Yr olaf sydd yn agosâu.

Dyn wyf dan ddeddf holl ddynol-ryw,
Unwaith i farw, byth i fyw;

Llaweroedd o'm cyfoedion cu,
A fudwyd draw i'r beddrod du.

Rhyfeddu 'rwyf i'm Harglwydd hael
Fy arbed i, bren diffrwyth gwael;
Cynhyrfed hyn fy enaid llon
I iawn ymostwng ger ei fron.

Pa beth a dalaf, Ior, fy ngrym,
It' am dy holl ddaioni im'?
Boed gweddill f'oes bob dydd ac awr,
Yn oes i foli'th gariad mawr.

141. Na wrthod fi.—M. 3.

At un a wrendy gŵyn y gwan,
'Rwyf yn dyrchafu 'nghri,
Yn mhob cyfyngder, ing, a phoen,
O Dduw, na wrthod fi.

Er mor annheilwng o fwynhau
Dy bresennoldeb di,
Gâd i mi nesu ger dy fron,
O Dduw, na wrthod fi.

Pan fo fy ngheraint is y nen
Yn cefni arnai'n rhi,
A'm holl gyfeillion yn pellhau,
O Dduw, na wrthod fi.

142. Trysorau gras Crist.—M. 3.

At wedd dy wyneb nid yw ddim
Drysorau maith y llawr;
Mae gair o'th enau 'n llawer mwy
Ei rym nag uffern fawr.

Ni feddaf ar y ddaear lawr,
Ni feddaf yn y ne',
Neb ag a bery'n ffyddlon im',
Yn unig ond efe.

Mae ynddo'i hunan drysor mwy
Nag fedd yr India lawn;
Ynillodd i mi fwy nâ'r byd,
Ar groesbren un prydnawn.

143. Awelon adfywiad.—M. 46.

Awelon per dros fryn y groes,
Adfywio'r oes yn awr;
Golygfa lawn ar angeu loes
I'th eglwys moes, Dduw mawr:
A lladd ein bai, llinara'n pla,
Adfywia ni yn llawn;
Ein gwrthnysigrwydd, Ion, iacha,
A chrëa ni yn iawn.

Cyfodwn oll wylofus lef
Am wlith o'r nef i lawr,
Ar eglwys Dduw, ei winllan ef,
Gwywedig yw ei gwawr;
Adfywiad mawr, llewyrchiad lles,
O doed y gwres yn gry',
Er gwywo llygredd, Arglwydd, nes
I fynwes plant dy dŷ.

144. Anthem angylion.—M. 4.

Awn â chalonau llon didrist,
I weled Crist ein Ceidwad;
Gan wrando sain nefolaidd lu,
Yn canu fry bêr ganiad.

"Gogoniant f'o i Dduw uwch ben,
Ac ar y ddae'ren heddwch;
Ewyllys da i ddynion gwael,
Trwy Grist i gael dyddanwch."

I foli Duw yn y modd hwn,
Ein tafod rhoddwn ninnau;
Unwn â'r nefol lu'n gytun,
I ganu'r un caniadau.

145. Galwad efengyl.—M. 41.

Awn bechaduriaid at Dduw'r ne',
Yn nghlwyfau'r Oen mae i ni le,
Cawn wleddoedd breision yn ei dŷ,
Wrth gofio angeu Iesu cu,
Cawn gyfran o'r llawenydd fry,
Sy'n nghwm'ni Duw.

Boed i ni garu Crist a'i ras,
Lle gwrando ar y gelyn cas,
Gwrandawn ar lais Glân Ysbryd Duw,
Mae'n cymhell pawb o ddynolryw,
Awn blant marwolaeth, a chawn fyw,
Drwy angeu Crist.

146. Dilyn Iesu.—M. 10.

Awn yn mlaen ar hyd y llwybrau
Gerddodd Iesu ddyddiau'i oes;
Ymladd raid â'r un gelynion—
Nid yw'r goron heb y groes:
Nid gorphwyso yn ngwlad y pechu,
Am fod Iesu'n aberth hedd;
Rhaid milwrio dan ein harfau,
Ynnill gwlad â min y cledd.

147. Baich o bechod.—M. 9.

Baich o bechod sy'n fy mlino,
Dano 'rwy'n och'neidio'n brudd,
Dysgwyl am yr hyfryd foreu
Caf o'm rhwymau fyn'd yn rhydd;
Llefain wnaf am Ysbryd Iesu,
I orchfygu pechod cas;
Ac i ymladd yn ei erbyn
Tra b'wyf ar y ddaear las.

Arglwydd tirion, tor gadwynau
Sy'n fy nal yn mhell yn ol;
Dwg fy enaid gwan i ryddid
Fel y rhedwyf ar dy ol;
Nid wy'n ceisio ond dy gwm'ni,
Llona hyn fy enaid llaith;
Goleu'r nef i'm cyfarwyddo,
Nes im' gyrhaedd pen fy nhaith.

148. Wele Oen Duw.—M. 5.

Bechadur, edrych, gwel Oen Duw,
Mor addfwyn ac mor llariaidd yw!
Ei waed sy'n golchi'r duaf rai,
Ac yn dileu'r ffieiddiaf fai.

O gwel o'i fron ar Galfari,
Ei werthfawr waed yn ffrydio'n lli';
O edrych arno ar y groes,
O'i fodd yn marw dan ei loes.

A gwel ef fry o flaen y Tad
Yn dadlu gwerth ei aberth rhad;
Fe wnaeth yr oll o'i gariad cu,
Bechadur, er dy achub di.

149. Ing y Gwaredwr.—M. 9.

BECHADUR, gwel e'n sefyll
Yn llonydd ar y groes;
Clyw ddwys riddfanau 'i enaid
Mewn ing dan farwol loes:
O gwrando'i gwyn alarus,
Mae pob ochenaid ddrud,
Yn floedd yn nghlustiau'r nefoedd
Am faddeu beiau'r byd.

Gwel ar y groesbren chwerw
Gyfiawnder pur y ne',
Doethineb a thrugaredd
Yn gorwedd mewn un lle;
A chariad anfesurol
Yn awr i gyd yn un,
Fel afon fawr lifeiriol,
Yn rhedeg at y dyn.

150. Offeiriad yn y dwfr.—M. 24.

BELLACH gorfoledda'n hyfryd,
'Rwyt ar ddianc o'th galedfyd,
Fe agorwyd rhydiau'r afon,
Mae'r arch yn myn'd o'th flaen yn union,
Cadw afael, pan ddaw'r alwad,
Gadarn ar yr Arch-offeiriad;
Dos i'r dw'r, cryf yw'r gwr,
Mae'n siwr o dy dderbyn,
Ti âi drosodd yn mhen gronyn
I mewn i'r nefol wlad ddiderfyn.

151. Dydd gwarediad.—M. 4.

BENDIGAID byth fo Duw fy nhŵr,
Rhwyd yr adarwr torodd;
Fe'n cadwodd rhag y cleddyf llym,
A'n bywyd ymddiffynodd.

Yn nawdd ein Duw mae cymmorth gref,
Efe wnaeth nef a daear:
Ei lygaid sydd yn gwylio'n ddwys,
Er cadw'i eglwys hawddgar.

152. Rhwygo cadwyn angeu.—M. 5.

BENDIGAID foreu ar y wawr
Y darfu'n Duw, a'n Prynwr mawr,
Gyfodi fynu'n wych ei wedd
A gorfoleddu ar y bedd.

Yn ngharchar oer y beddrod du
Y Prynwr marwol gorwedd bu,
Nes daeth oddiamgylch yn ddiludd,
Y trydydd apwyntiedig ddydd.

I'r bedd ac uffern nid oedd gwiw
Gytuno o drais i ddal ein Duw;
Y Conc'rwr godai o'r bedd i'r lan,
A drylliodd ef eu cadwyn wan.

O Arglwydd Ior, i'th enw di
Yr oriau hyn gyflwynwn ni;
Tragwyddol glod yn deilwng sydd
I'n Brenin dewr am gario'r dydd.

153. Gwleddoedd enaid.—M. 5.

BENDIGAID Iesu, melus yw
Dy wleddoedd pur i'n henaid byw;
Erioed ni cha'dd angylion flas
O'th gariad trwy achubol ras.

Mae nef o gariad, gras, a hedd,
Yn hardd-ddysgleirio yn dy wedd,
Yn ennyn ein serchiadau'n dân,
I garu a moli'th enw glân.

Am hyn gwna frys dan wenu'n llon,
A hilia fwrdd dy ras gerbron;
Rho brawf o'th santaidd air a'i rîn;
A'n calon llôna â'th nefol win.

154. Creadigaeth a Rhagluniaeth.—M. 18.

BENDITHIED pob credadyn
Yr Arglwydd Ior diderfyn,
Sy'n gwisgo'r hardd oleuni teg,
Dull gwiwdeg, fel dilledyn:
Mae ei 'stafelloedd hefyd
Yn y dyfnderoedd dyfrllyd;
Mae'n rhodio ar adenydd gwynt,
Cymylau ynt ei gerbyd.

I'r môr fe roes orchymyn
I'w ddyfroedd gadw'i derfyn,
Gan orwedd yn ei wely'n glos,
Heb fyned dros yr erchwyn:
Mae'n anfon y ffynnonau
I redeg rhwng y bryniau,
I ddyn a 'nifail yn mhob gwlad
Yn rhad wrth anghenrheidiau.

155. YR AIL RAN.

LLIOSOG iawn a llesol
Mewn trefniad doeth odiaethol,
At gynnal pob creadur byw,
Yw gwaith y Duw tragwyddol;
Rhown addas foliant iddo,
Myfyriwn fwy am dano,
A rhown ar gân modd glân ei glod,
Tra b'om is rhod yn rhodio.

156. Oen yn gweini fry.—M. 10.

BERERIN llesg gan rym y stormydd,
Cwyd dy olwg, gwel yn awr
Yr Oen yn gweini'r swydd gyfryngol,
Mewn gwisgoedd lleision hyd y llawr;
Gwregys auraidd o ffyddlondeb,
Wrth ei odre clychau'n llawn;
Llwyr faddeuant i bechadur,
Ar gyfrif ei anfeidrol iawn.

O am dynu o'r anialwch
I fynu fel colofnau mwg,
Yn hyderus at ei orsedd,
Nid oes yn ei wedd ddim gwg;
Alpha, Omega, ffyddlawn Geidwad
Yw ein Iôr, â'i air mae'n un;
Dysgleirio byth wna gras y Duwdod,
Yn achubiaeth marwol ddyn.

157. Ffrynd yn angeu.—M. 5.

Beth dâl im' roi fy serch a'm bryd
Ar ddim a welais yn y byd;
Da, daear, dyn, pa gysur yw,
Y dydd y del digofaint Duw.

Pa'm carai'r byd a'i wagedd mwy,
Hyd angeu'n brin y deuant hwy;
Gwell i mi garu'r ffrynd a ddaw,
Yn angeu i 'maflyd yn fy llaw.

Ffarwel deganau gwael y byd,
A'r holl ofidiau sy ynddo'i gyd;
Tuag adre'r af er dw'r a thân,
Mae swn fy mrodyr o fy mlaen.

158. Tosturi Crist.—M. 5.

Beth gawn ni roi i'r Iesu mawr,
Am ado'r nef, ei drigfa wiw,
A dod i barthau isa'r llawr,
I'n dwyn ni, grwydriaid, 'nol at Dduw.

Fe gostiodd iddo farwol loes
I gadw'n hoes, a'n dwyn i'r nef;
A'r holl gysuron y mae'n roi,
A darddodd o'i ofidiau ef.

Er gwybod traul ei gariad oll,
Tosturio wnaeth ei galon wiw;
Fe'n ceisiodd pan yn myn'd ar goll,
O carwn Grist—ein dyled yw.

159. Moli'r Meddyg.—M. 39.

Beth sydd i mi yn y byd?
Gorthrymderau mawr o hyd:
Gelyn ar ol gelyn sydd
Yn fy nghlwyfo nos a dydd;
Meddyg archolledig rai,
Dere'n fuan i'm iachau,
Yna canaf am dy waed
Nes meddiannu'r nefol wlad.

160. Beth am y nos.—M. 39.

Beth, wyliedydd, am y nos?
Pa ryw argoel boreu sydd?
Gwel, ymdeithydd, acw dros
Ben y bryniau'r seren ddydd.
Beth, wyliedydd, yw ei gwawr?
Oes rhyw amser gwell a ddaw?
Oes, ymdeithydd, boreu mawr
Yr addewid sydd gerllaw.

Beth, wyliedydd, am y nos?
Onid yw ar dori'r dydd?
Ydyw, deithydd, darfu'r nos,
Goleu mawr ar gynnydd sydd.
Pa'm, wyliedydd, llon dy wedd,
Troi di tua'th gartref clud?
Gwel, ymdeithydd, Frenin Hedd
Yn teyrnasu tros y byd.

161. Blaguryn yr addewid.—M. 5.

Blaguryn yr addewid ddaeth,
Dyrchafu corn ein iechyd wnaeth,
Cyhoeddi'r iechydwriaeth wnai,
A llawn faddeuant am bob bai.

Caiff Israel, a chenedloedd byd,
Ei felus foli yn un fryd:
Ei air a red, a phob dyn byw
Gaiff wel'd gogoniant pur Mab Duw.

Cyfeirio'n traed mae ef yn fwyn,
I ffyrdd tangnefedd mae'n eu dwyn;
A'r rhai yn awr mewn t'w'llwch sydd,
Edrychant ar y Seren ddydd.

162. Milwyr Sïon.—M. 13.

Blant ffyddlon Sïon dewch,
A llawenhewch yn nghyd,
Yn mlaen â chwi, fel milwyr da,
Yn llon er gwaetha'r llid:
O hyfryd ddedwydd awr,
Messia mawr a gaed,
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iechydwriaeth rad.

Drachefn llawenhewch,
Chwi etholedig lu,
Mae'r oruchafiaeth wedi dod,
Trwy Grist ein Priod cu:
Er cyfeiliorni'n hir,
Cawn ddod i dir ein gwlad,
Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iechydwriaeth rad.

163. Adferyd Sïon.—M. 4.

Blant Sïon, llawenhewch yn fawr
Fe ddaeth yr awr addawed;
Fe glybu Duw ei gwylaidd lef,
Mewn nerth daw ef i'w gwared.

Wrth lwch ei hoff fagwyrydd hi
Yr ydym ni'n tosturio;
Ail-welir hon yn deg ei phryd,
Ei meini gyfyd etto.

Pan godir felly Salem bur,
Duw welir mewn gogoniant;
Plyg pobloedd iddo ef o'u bodd,
Breninoedd a'i gwas'naethant.

164. "Af at y Brenin."—M. 5.

B'le trof, ble'r af, wael euog ddyn,
O Dduw, ond atat ti dy hun?
'Rwyf wedi penderfynu'n lân,
Os marw, marw o dy flaen.

Y mae teyrnwialen auraidd gras
Yn estynedig etto'i maes;
Arwydd i ddyn, mai 'wyllys Duw
Yw meddeu'i fai, a'i gadw'n fyw.

Os derfydd byth am dana'i'n llyn,
Wrth ddrws trugaredd y bydd hyn;
Os marw wnaf, caiff hyny fod
Lle na bu farw neb erioed.

165. Diwedd gofidiau.—M. 4.

B'LE troi fy wyneb, Arglwydd cu,
Ond atat ti dy hunan;
Pob peth gweledig ni thâl ddim,
Ond gwneuthur i mi riddfan.

Os yw 'ngofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd;
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

Pryd hyn pereiddia Duw ar g'oedd,
Holl chwerwon ddyfroedd Mara;
Pryd hyn y try pob chwerw nant
Yn win i blant Jehofa.

Pa fwyaf fo'u cyfyngder hwy,
Bydd mwyfwy eu cysuron:
Eu hedd melusach nâ'r dîl mel,
A lifa fel yr afon.

166. Hiraeth am y nefoedd.—M. 10.

BLINAIS ar afonydd Babel,
Nid oes yno ond wylo i gyd;
Llais telynau hyfryd Sïon,
Sydd yn cysson ddenu 'mryd:
Tyr'd â ni yn dorf gariadus,
O gaethiwed Babel fawr,
Ac nes bo'm ar fynydd Sïon,
N'âd i ni orphwys mynud awr.

Dyn dyeithr ydwyf yma,
Draw mae'm genedigol wlad,
Draw i'r moroedd mawr tymhestlog,
Ac o fewn y Ganaan rad:
Stormydd blin o demtasiynau
A'm curasant i yn bell;
Tyred, awel fwyn y deau,
Chwyth fi i'r baradwys well.

167. Pren almon.—M. 38.

BLODEUODD y pren almon,
Mae'r gwanaidd flodau gwynion
I mi'n arwyddo
Fod gwraidd y pren yn darfod,
A'r bedd a'i ddorau'n barod
I'm derbyn iddo;
Llesgau mae'm natur a gwanhau,
Gwnaeth anadl byrach
I'm dramwy'n drymach,
Mae'n amlwg bellach
Nad allaf hir barhau;
Fe dduodd haul fy nyddiau,
Nos angeu sy'n nesâu:

'Nol ffoi o'm ffûn bydd rhaid fy rhoi
Mewn cell i'm cuddio,
Nes llwyr falurio:—
'N yr annedd hôno
Pridd tew fydd yno i'm toi;
Nes delo Crist fy Mrenin
Trwy'r dyffryn i'm deffroi.

168. Blwyddyn gwaredigaeth.—M. 4.

BLWYDDYN y carcharorion caeth,
O'r diwedd ddaeth i fynu;
Nesâu mae gwaredigaeth lawn,
I'r rhai sy'n uniawn gredu.

Rhyfelant â gelynion gâd,
Trwy rinwedd gwaed eu Capten;
Gorchfygant, lladdant ar bob llaw,
Nes myn'd tu draw'r Iorddonen.

Ni ddaw i ran y cyfryw rai,
Nac och, na gwae, nac angen;
Nac yfed dyfroedd Mara mwy,
'Nol myned drwy'r Iorddonen.

169. Dattod y daearol dy.—M. 17.

POB dydd
Daearol dŷ fy mhabell bridd,
O'i sylfaen yn adfeilio sydd,
Nid yw dattodiad hwn yn mhell;
O f'enaid, cofia hyn bob cam,
A meddwl am adeilad well.

170. Cysur o'r gair.—M. 4.

BOB dydd a nos, i mi, O Dduw,
Mor felus yw'th gysuron:
Mewn syndod cwyd fy nghalon i,
I'th foli di'n bereiddlon.

Pan lanwer f'ysbryd â dy air,
Mor llon y cair fy helynt:
Pwy byth wrth ranu'r yspail sydd
A'r fath lawenydd ganddynt!

171. Nef yn gartref.—M. 35.

BODDLONAF ar fy nhaith,
Boed f'oes yn fer neu'n faith,
Os trefna ef, fy Nuw, im' nef
Yn gartref gyda'i waith:
Y dafnau sydd yn dod bob dydd
Fel newydd wlith o'r nen,
A ddygo 'mryd oddiar y byd,
Fwy-fwy o hyd, i'r nef i gyd,
Bob mynud byth, Amen.

172. Ymostyngiad.—M. 4.

BODDLONAF, Dad, i'th 'wyllys iach,
Fel plentyn bach yn dawel;
Tynghedaf fy meddyliau'u gyd
I fod o hyd yn isel.

Yr enaid araf isel fryd
Wobrwyir hyd foddlonrwydd:
Dysgwyliaf mwy, beth bynag ddaw,
Yn ddystaw wrth yr Arglwydd.

**173.** Gwialen cerydd.—M. 4.

BODDLONI wnaf i drefn fy Ner,
Dan bob rhyw flinder beunydd;
Fe ddichon droi fy chwerwaf gri,
A'm galar i lawenydd.

Mae'n Tad yn profi (fwy neu lai)
Pob un o'r rhai a hoffo;
A'i olwg arnynt ddydd a nos
I'w dwyn yn agos ato.

O dan y wialen, os rhaid bod
Nes cael fy sorod ymaith;
Fel aur a burir yn y tân,
Y deuaf allan eilwaith.

**174.** YR AIL RAN.

ER chwerwed yw pob cwpan llawn,
Nid ydyw iawn bod hebddynt;
Cawn brofi'r cyfan er llesâd,
Mae gwin o gariad ynddynt.

Crist yw y Meddyg mawr ei ddawn,
A ddichon iawn gymhwyso
Pob rhyw gystuddiau ddel i'm rhan,
A gwneyd i'r cyfan lwyddo.

Efe a ddichon esmwythau
Dolurion angau difri,
A throi holl ddychryniadau'r glyn,
A'r t'w'llwch yn oleuni.

**175.** Cariad brawdol.—M. 4.

BOED cariad brawdol cywir brwd,
Fel llydan ffrwd yn llifo,
Trwy Salem deg, preswylfod Duw,
Gan daenu'n ddiluw yno.

Brawdgarwch mwyn, ac undeb maith,
Yn mawrglod waith ein Harglwydd,
Sydd addas iawn i'r ddinas hardd,
A'r tŷ lle tardd santeiddrwydd.

Dymunem feddu hyn o hyd
O fewn y byd presennol;
Cymdeithas wiw gariadus bur
Rydd anwyl gysur nefol.

**176.** Agwedd gwas.—M. 5.

BOED clod a mawl i Fab y dyn,
Am ddod yn was mor wael ei lun,
Heb le i roi ei ben i lawr,
Er nad oedd neb drwy'r nef mor fawr.

Clod byth a mawl a fo i'r Oen,
Aeth er ein mwyn dan y fath boen,
Clod am ei waith, clod am ei waed,
Mae'r ffordd yn rhydd 'nawr at y Tad.

Tu draw i'r bedd holl lu y nef
Ro'nt glod i Grist yn llon eu llef;
Yn mhlith y llu, heb friw na phoen,
Os caf fi fyw, rho'f fawl i'r Oen.

**177.** Rhyfedd ras Crist.—M. 28.

BOED clod i'n Prynwr rhad,
Ein Ceidwad cu,
Fe holltodd ef yr hen
Iorddonen ddu;
Gorchfygodd angeu cryf,
Er awch ei gleddyf glas,
A drylliodd rwymau'r bedd,—
O ryfedd ras!

Crist yw ein cadarn dwr,
Gwaredwr yw;
Dan gysgod tawel hwn
Y byddwn byw:
Fe arwain ei holl saint,
Er cymmaint llid eu cas,
I mewn i'r nefol wledd,—
O ryfedd ras!

**178.** Gwrando gwaedd y gwan.—M. 4.

BOED i bob tafod draethu'n rhwydd
Ddaioni'r Arglwydd allan;
Ei law a ddeil i fynu'r gwan,
A chwyd i'r lan y truan.

I fynu deil ein dyddiau blin,
A thywys ni'n ein hie'nctyd;
Ei ffyrdd sydd gyfiawn oll a phur,
A'i eiriau gwir ynt hefyd.

Gŵyr am bob ing mae'i blant yn ddwyn,
A chlyw eu cŵyn wrth achos
Cyflawnu wna eu heisiau i gyd,
Ei ras o hyd sydd agos.

**179.** Teyrnasiad Iesu.—M. 10.

BOED i Iesu wisgo'r goron,
Aed ei enw dros y byd,
Plyged pawb i'w fwyn awdurdod,
Am ei gymmod ef mewn pryd;
Boed i'r euog tlawd ymguddio
Dan ei dawel gysgod ef;
Boed i'r gwanaf ffyddiog bwyso
Ar ei fraich alluog gref.

**180.** Budd myfyrdod.—M. 5.

BOED i mi astud wrando o hyd,
Dirgelion pwysig bythol fyd;
A'm hunig bleser ddydd a nos,
Fo dyfnion wirioneddau'r groes.

Pan gaffwyf wel'd dy nefol wedd,
A phrofi blas dy ddwyfol hedd;
Nid yw gogoniant mwya'r byd,
Ond llwyr annheilwng o fy mryd.

Mae rhyw ddirgelwch llawer mwy,
Oes Iesu yn dy farwol glwy',
Nas gall un sant tra ynddo chwyth,
Na seraph pur ei ddeall byth.

**181.** Lloches dawel.—M. 30.

BOED i mi bellach fyw,
Dan aden bur fy Nuw,
Mewn lloches wir;
Ac yna af yn hy',
Trwy lu elynion cry',

I gol fy Iesu cu,
Yn iach, cyn hir.
Y gelyn oedd gerllaw,
Sy'n gorfod cilio draw,
Fe droes y rhod;
Mae carcharorion prudd,
Oedd bron a cholli'r dydd,
Yn awr yn gwbl rydd,—
I Dduw bo'r clod.

182. Buchedd santaidd.—M. 9.

Boed i ni â'n gwefusau,
A'n bywyd draethu i'r byd,
Efengyl santaidd Iesu,
Y'm ni'n broffesu o hyd;
Dysgleiried ein gweithredoedd
A'n rhinwedd o bob rhyw,
I brofi yr athrawiaeth,
Ei bod hi oll o Dduw.

Fel hyn y gallwn oreu
Gyhoeddi maes ar led,
Anrhydedd ein Iachawdwr,
Gerbron y rhai digred;
Pan fyddo'r iechydwriaeth
O'n mewn, a rhinwedd gras
Yn maeddu a darostwng
Holl rym ein pechod cas.

183. Gogoniant i'r Drindod.—M. 7.

Boed i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
Un Duw hyfryd diwahân;
Mewn gorfoledd bob gwir foliant,
A gogoniant fyth ar gân:
Halaluia, &c.,
Unwn glod i'w enw glân.

184. Mawl i'r Drindod.—M. 10.

Boed i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
Un Duw hyfryd diwahan,
Gael yn barchus felus foliant
A gogoniant fyth ar gân;
Fel yr oedd o dragwyddoldeb,
Mae mewn undeb hyd yn awr,
BOD heb ddim cyfnewidioldeb,
Fydd i drag'wyddoldeb mawr.

185. Moliant i'r Drindod.—M. 20.

Boed moliant drwy'r hollfyd,
O hyd heb wahan;
I'r Tad, a'r Mab hefyd,
A'r pur Ysbryd Glân:
Hy lef Halaluia,
Fo'n uchaf drwy'r nen;
I'r Drindod boed moliant,
Dros byth uwch y llen.

186. Tangnefedd Duw.—M. 10.

Boed tangnefedd Duw a'i annedd,
Yn ein hysbryd gwanaidd trist,
Fel y cadwer ein calonau,
A'n meddyliau byth yn Nghrist;
Yna maeddwn feiau fyrddiwn,
Beunydd cyrchwn at y nôd;
Ffy pob gelyn ddaw i'n herbyn
Nes cawn nef yn gartref clod.

187. Taliad y Dyled.—M. 23.

Boed yma fy nyth,
Am bywyd i byth,
Yn nghlwyfau'r Oen tyner,
A'i lawnder dilyth.

Er im' gael iachad,
Yn rhodd ac yn rhad,
Fe gostiodd i'r Iesu
Roi drosof ei waed.

Af bellach yn mlaen,
Trwy ddwr a thrwy dân,
Er cymmaint fy nyled,
Fe'i talwyd yn lân.

Am hyny caf fyw,
Er crocsau o bob rhyw,
A'm henaid yn llawen,
Dan aden fy Nuw.

188. Telynau'r saint.—M. 17.

Braint, braint,
Nad ellir byth mynegu ei maint,
Fydd bod yn un o'r ffyddlon saint;
Pan ddel digofaint Duw ryw ddydd
Ar rai digred, fel storom gref
Y duwiol, ef diangol fydd.

Y rhai'n
A wisgir oll â lliain main,
Telynau gânt o beraidd sain,
I ganu anthem faith o glod,
I'r Hwn fu gynt dan farwol glwy',
Teyrnasa mwy, tra'r nef yn bod.

189. Cymdeithas y saint.—M. 17.

Braint, braint,
Yw cael cymdeithas gyda'r saint,
Na welodd neb erioed ei mhaint,
Ni ddaw un haint i gwrdd â hwy;
Y mae'r gymdeithas yma'n gref,
Ond yn y nef hi fydd yn fwy.

Gwledd, gwledd,
O fythol a thrag'wyddol hedd,
Sydd yn y byd tu draw i'r bedd;
A hardd fydd gwedd y dyrfa i gyd,
Sy'n byw ar haeddiant gwaed yr Oen
O swn y boen sy' yn y byd,

190. Brawd mewn caledi.—M. 9.

Brawd anwyl sy'n ein cofio,
Mewn oriau cyfyng caeth,
Brawd llawn o gyd-ymdeimlad,
Nid oes yn bod ei fath;
Brawd cadarn yn y frwydr,
A gedw'i frodyr gwan;

Yn dirion dan ei aden,
Fe ddaw â'r llesg i'r lan.

O'i ras mae'n caru maddeu
Pechodau rif y gwlith;
'Does mesur ar ei gariad,
Na therfyn arno byth;
Mae'n 'mofyn lle i dosturio,
Hoff ganddo drugarhau,
Trugaredd i'r amddifaid,
Sydd ynddo i barhau.

191. Ni thrig ewyn yn ol.—M. 19.

BRAWD ydyw Crist
I'r llwythog ar y llawr,
Dof ar ei bwys
I'r lan o'r cystudd mawr:
Ni thrig yn ol
Un ewyn, er mor wan,
Fe'u dygir oll,
O'r anial yn y man.

Gan fyw drwy ffydd,
Boed i mi deithio o hyd,
Nes gorphen fy
Milwriaeth yn y byd;
Fy enaid f'o
Ar Grist yn pwyso'n llon
Nes gado'n lân
Yr hudol ddaear hon.

192. Crist a'i eglwys.—M. 5.

BRENIN y saint, mor deg ei bryd!
Mawrhydi a gras mae'n wisgo'i gyd;
Daw â bendithion oddifry
I ennill serch cenedloedd lu.

Ar ei ddeheulaw gwel'd a gair,
Ei eglwys gu mewn gwisg o aur;
Rhyfedda'r byd ei nefol ddrych
Mewn harddwisg o gyfiawnder gwych.

Y Brenin lawenhâ drwy serch,
Yn ei ddewisol Briod ferch;
Câr dithau Ef, dod iddo'r bri,
Dy Briod yw, a'th Arglwydd di.

O ddedwydd awr pan gyrcho ef
Di i'w frenin-llys yn y nef;
Cawn foli yno'n llon ein llef
Ostyngiad mawr ei gariad ef.

193. Sion, Cân.—M. 56.

BRESWYLFERCH Sion, cyfod, cân,
O gylch dy dŷ, mae mûr o dân;
Ni lwydda unrhyw elyn mwy,
Er tynu cledd i ro'i it' glwy';
Pob gelyn, er ymdroi
O'th amgylch orfydd ffoi,
Trech, trech yw hâd y Wraig,
Na llidiog rym holl lu y ddraig.

194. Aberthiad Crist.—M. 34.

BU Crist ar Galfari,
Yn Aberth drosom ni,
Ein Meddyg mawr,
A'i waed i'r llawr yn lli;
Ac yn ein lle fe dalai'n llawn,
O dan yr hoelion un prydnawn,
Gostegodd lid y gyfraith,
Trwy wneuthur perffaith iawn.

Goddefodd galed gur,
Y Person mwyaf pur,
A'i gnawd, Ior da,
A dorwyd gyda dur:
Rhoes yn ei lafur uchel lef,
Bu dirfawr grŷn drwy'n daear gref,
A'r heulwen a ymguddiai
Dan len, a duai'r nef.

195. Swyddau Crist.—M. 5.

BU farw'm Harch-offeiriad, gwn,
Ni cheisiaf aberth heblaw hwn;
Ei waed wnaeth hedd dros bawb un pryd
Ac o flaen Duw mae'n pledio o hyd.

Fy Meichiau gymmer f'achos gwan,
Atebodd ddeddfau'i Dad bob rhan;
Fy enaid euog wnaed yn rhydd
Trwy haeddiant perffaith fy Meichnŷdd.

Ymddengys fy Nadleuwr frŷ,
A'r Tad ei daran heibio drŷ;
Efe yw fy Ngwaredwr glân,
A'i goncwest fydd fy mythol gân.

196. Gwaed yr Aberthau.—M. 14.

BU lladd aberthau llawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
I ddangos iawn oedd yn nesâu;
Yr ŷch, a'r oen, a'r mŷn
A'u gwaed yn llifo'n llyn,
Ond nid oedd hyn ddim yn glanhau.

Disgwyliad oedd o hyd,
O ddechreu bore'r byd,
Am aberth drud y Meichiau cu;
Ac iawn i'r gyfraith gaed,
A ffordd i achub wnaed,
Drwy rin y gwaed ar Galfari.

197. Ffydd yn olwg.—M. 17.

BYDD, bydd,
Rhyw ganu peraidd iawn ryw ddydd.
Pan ddelo'r caethion oll yn rhydd,
Fe droir ei ffydd yn olwg fry;
Cydunant byth heb dewi son,
I foli'r Oen fu ar Galfari.

A gwledd
Sydd yno'n bod tudraw i'r bedd,
Dros byth i'w chael i'r gwael eu gwedd,
Lle bydd caniadau maith diri',
I bara beunydd yn ddiboen,
O fawl i'r Oen fu ar Galfari.

198. Prynwr Byd.—M. 9.

BYDD byth ryfeddu'r cariad,
Yn nhragwyddoldeb pell,

A drefnodd yn yr arfaeth
Im' etifeddiaeth well—
Nâ'r ddaear a'i thrysorau,
A'i brau bleserau i gyd;
Y cyfoeth mawr ni dderfydd
Yw Iesu, prynwr byd.

Er marw dros yr euog,
Fe gododd Iesu'n fyw;
Ac yn ei law alluog
Mae pardwn dynolryw:
Gwnaeth etifeddion uffern,
Yn etifeddion nef,
Fy enaid byth na thawed
A chanu iddo ef.

199. Gwledd a chân y nef.—M. 34.

Bydd gorfoleddus wledd,
Yn Salem dinas hedd,
Pâr byth yr ŵyl
Yn ngwydd ei anwyl wedd;
Pan gesglir eglwys Iesu'n nghyd,
O garchar bedd, goruwch y byd,
Llawenydd fydd drwy'r ddinas
A'r gân fydd gras i gyd.

200. Diogelwch Israel.—M. 4.

Bydd lawen, Israel, gorphwys, trig,
Dy Iôn yw'th unig Geidwad;
Ei lygaid ef a'i allu sydd
Y nos a'r dydd i'th warchad.

Fe geidw'th oes, a'th enaid drud
Yn mhob rhyw enbyd fanau;
Cai fyn'd, a dod, a diogel fyw
Nes dygo Duw di adre.

201. Cofio y Cyfammod.—M. 10.

Bydd melus gofio y cyfammod
Draw a wnaed gan Dri yn Un,
Tragwyddol syllu ar y Person,
A gym'rodd arno natur dyn;
Wrth gyflawni yr ammodau,
Trist iawn hyd angeu'i enaid oedd,
Dyma gân y saith ugein-mil
Tudraw i'r llen, mewn llawen floedd.

Fy enaid trist wrth gofio'r frwydr
Yn llamu o lawenydd sydd,
Gwel'd y ddeddf yn anrhydeddus,
A'r pechadur caeth yn rhydd;
Rhoi Awdwr bywyd i farwolaeth,
Claddu'r Adgyfodiad mawr,
A dwyn i mewn dragwyddol heddwch,
Rhwng nef y nef a daear lawr.

202. Cân y nef i Grist.—M. 16.

Bydd peraidd floedd mewn puraidd flas
Gan ddynolryw am ddoniol ras
Drwy ddinas fawr y nef;
Cân tyrfa loyw ar y lan
Am gadw'r gwael, am godi'r gwan,
Cyd-bynciant—Iddo Ef.

Am gael eu dwyn o farw'n fyw
A chael yn ol hardd ddelw Duw
A gollwyd yn yr ardd,
Y bydd caniadau, lleisiau llon,
Heb glwy' na briw o dan eu bron,
A'u coron etto'n hardd.

203. Yfed hedd.—M. 33.

Bydd torf ddirif ar Sion fryn
Cyn hir heb glwy, na phoen;
A'u gwisgoedd wedi eu cànu'n wyn
Drwy rinwedd gwaed yr Oen:
Mae ynddo drysor fel y cefnfor,
Byth ni cheisiant ddim yn rhagor,
Hedd a bywyd yw ei ffafor,
Nefoedd berffaith, nefoedd berffaith,
Fydd cael yfed dwyfol hedd.

204. Sion fry yn bur.—M. 47.

Bydd tyrfa ddiri'
Yn canu byth fry,
Heb newyn na syched na chur;
Yn nghwmni eu Duw,
Yn ddysglaer eu lliw,
Pryd hwnw bydd Sion yn bur.

Ymdrechwn o hyd,
Er rhwystrau y byd,
Am fyned i'r nefoedd i fyw;
I uno â'r rhai'n,
Sy'n beraidd eu sain,
Heb flino yn moli ein Duw.

205. Anthem Calfaria.—M. 13.

Byth boed maddeuant rhad
Yn ngwerthfawr waed yr Oen,
Yn destyn moliant yn mhob man,
I mi sydd dan fy mhoen;
Yr anthem faith ei hyd.
Fo'i gyd am Galfari,
A'r iechydwriaeth fawr ei dawn.
Ddaeth un prydnawn i ni.

Mae rhinwedd yn y gwaed
I faddeu beiau mwy,
Nas dichon angel byth na dyn
Wneyd rhif o honyn' hwy;
Caed ffynnon ar y bryn,
A ylch yn wyn a glân,
Y beiau du ffieiddia 'rioed
Rifedi'r tywod mân.

206. Byw yw Iesu.—M. 17.

Byw, byw
Yw Iesu'm ffrynd a'm Prynwr gwiw,
Er iddo gynt gael marwol friw;
A sicr yw mai byw wna'r saint;
O herwydd bod eu Ceidwad cu,
Yn eiriol fry, mawr yw eu braint.

Mawr, mawr,
Yw'r gras eglurwyd, i ni'n awr,

Daeth Iesu cu o'r nef i lawr;
Mae'r ffordd o'r llawr i'r nef yn rhydd,
Gelynion yn eu hol sy'n troi,
Yn gorfod ffoi rhag arfau ffydd.

**207.** Dychweliad pechadur.—M. 5.

Byw'n bell yr y'm odddiwrth ein Duw,
A charu'r pellder hyn sydd waeth,
Heb goelio mai peryglus yw
Y ffordd a'n dwg i angau'n gaeth.

A ellir troi'r fath gyndyn rai
A newid eu naturiaeth gas?
Dynoetha'th fraich, O Dduw, yn glau
A gwna in' deimlo grym dy ras.

Bendithiwn enw'n Tad o'r nef
Ei ysbryd enfyn oddi fry
I ddwyn dyeithriaid ato ef,
A'r estron tlawd yn blentyn try.

**208.** Iawn digonol.—M. 24.

Bywyd glân ac angeu poenus,
Crist yw'r Iawn dros ddyn truenus;
Rhaid oedd ei gael dros epil Adda,
Cyn cael o un o'r rhai'n ddihangfa:
Am ei fod yn Iawn digonol
Bydd myrdd o honynt yn ddihangol;
Ac "Iddo ef" fydd eu llef,
O fewn y nef olau;
Gwedi gadael gorthrymderau
Y byd a'i helynt ar eu holau.

**209.** Barn.—M. 5.

Cadernid sydd yn eiddo Duw,
A rhyfedd mewn cyfiawnder yw;
Fe dâl, pan rydd yr udgorn floedd,
Yn ol eu gwaith, i bawb ar g'oedd,

Boed i ni gofio hyn o hyd,
Fod Duw mewn bôd i farnu'r byd;
Y nef a rydd i'r duwiol rai,
Ond cyfiawn fydd i gospi bai.

**210.** Enwaediad a Bedydd.—M. 5.

Ca'dd meibion Abraham cyn hyn,
Fyn'd dan sel waedlyd gras yn llyn,
Dug y dysgyblion bach yr iau,
Nes dyfod Iesu i'w rhyddhau.

Mewn mwynach ffyrdd rhydd Crist yn [awr
Ammodau rhad ei gariad mawr;
Mae'n selio i'w saint ei werthfawr ras,
Ac nid yw'n cau y plant i maes.

Eu had daenellir â'i waed gwiw,
Eu plant a roi'r i ofal Duw;
A'i Ysbryd arnynt ddaw o'r nen
Fel dwr dywallter ar y pen.

O llawenhaed y saint yn llon
Am yr addewid helaeth hon;
A'u plant a ro'nt am hyn o hawl,
Yn foreu i Dduw Abram fawl.

**211.** Afon Calfaria.—M. 12.

Caed afon ar Galfari fryn,
Fe gofir, fe genir am hon,
Ei rhinwedd annhraethol cyn hyn
A olchodd ryw luoedd o'r bron;
Mae'n rhedeg trwy'r anial mor gref,
Dim rhwystrau ni saif o flaen hon,
A nofia myrddiynau mewn hedd
I'r porthladd dymunol yn llon.

**212.** Clwyfau Iesu.—M. 9.

Caed modd i faddeu beiau,
A lle i guddio pen,
Yn nghlwyfau dyfnion Iesu
Fu'n gwaedu ar y pren;
Anfeidrol oedd ei gariad,
Annhraethol oedd ei gur,
Wrth farw dros bechadur
Pan dan yr hoelion dur.

Daeth i mi iechydwriaeth
Drwy rinwedd gwaed ei groes,
Caed i mi bob cyflawnder
Er mwyn ei farwol loes;
Y gyfraith lân droseddwyd
A ga'dd anrhydedd llawn:
Cyfiawnder a foddlonwyd
Yn ei anfeidrol Iawn.

**213.** Aros yn y Ty.—M. 6.

Cael aros yn y tŷ
Sydd ryw annhraethol fraint,
I alw ar Dduw o hyd,
A moli gyda'r saint;
Pan gwelwyf f'enw'n mysg y plant
Mi ganaf glod ar uchel dant.

Mae enwau'r saint i gyd
Gan Iesu, yn y nef;
Ni chollir 'r un o'r rhai'n
Tra pery ei fywyd ef;
Fe arddel ei aelodau mân
Ar ol i'r ddaear fyn'd yn dân.

**214.** Santaidd ddydd.—M. 6.

Cael treulio santaidd ddydd
Lle byddo Duw a'i saint,
Llawenydd gwell a rydd,
Nâ mil mewn bydol fraint:
Gwell genyf gadw'r drws o hyd
Lle dêl fy Nuw, na ph'lasau'r byd.

Ein Haul a'n Tarian yw,
Ein llewyrch gwiw a'n grym;
Ei law o hyd sydd lawn,
Oddiyno cawn bob dim;
Ei ras i'w blant yn awr rydd ef,
A llawn ogoniant yn y nef.

**215.** Cafwyd y Ceidwad.—M. 44.

Cafwyd addewid
O Geidwad i wael ddynol ryw:

O mor wael oedd 'Tifedd nef,
Pan y daeth i Fethlem dref,
Nid oedd le iddo gael gyda'i ryw!
Ond er ei waeledd
Yr ydoedd ar fydoedd yn Ben:
Daeth gwŷr doeth o'r Dwyrain draw,
Aur a thus oedd yn eu llaw,
I anrhegu Tywysog y nen,
Dyma'r gwir Feddyg;
O'r llu dan ei law fu erioed!
Eu gwellhau yn llwyr a wnaeth,
Gan ryddhau y rhai oedd gaeth,
O'r gwyrthiau a wnaeth ef wedi d'od!

216. Aberth digonol.—M. 10.

Cafwyd digon; ŵyn, gorphwyswch;
Lloi a theirw ciliwch draw;
Gorphwys Sion, daeth dy Brynwr,
Do, â digon yn ei law:
Duw neillduodd Oen ei fynwes
I gymmeryd arno'n bai;
Rhoddodd drosom Iawn oedd ddigon,
Ni thalasai Aberth llai.

Try y galar yn llawenydd
Pan y cofir am ei loes,
Ni ddaw niwed colyn angeu
Lle taenellir gwaed y groes:
Dan ei gysgod mae tawelwch
A dyddanwch byth i'w gael,
Hedd ddylifa fel yr afon
Yno i bechadur gwael.

217. Gwaed yr Oen.—M. 40.

Cafwyd modd i olchi'r halog
Yn ngwaed yr Oen;
Ac i lwyr ryddhau yr euog,
Trwy waed yr Oen;
Halaluia, byth heb dewi,
Fydd y gân yn ngwlad goleuni,
Gan y dyrfa ddirifedi,
Am waed yr Oen.

Ceir diangfa rhag marwolaeth
Trwy waed yr Oen;
Nid oes ffordd o waredigaeth
Ond gwaed yr Oen;
Iesu'n drysor boed in' ddewis,
Gan ddefnyddio'i waed uchel-bris,
O! gochelwn fod yn ddibris
O waed yr Oen.

218. Hiraeth am y nef.—M. 6.

Caersalem, dinas hedd,
O na bawn yno'n byw,
O hyd cawn weled gwedd
A siriol wyneb Duw;
Mae weithiau'n dywyll arna'i'n awr,
Fy haul nid â byth yno i lawr.

Yn Nuw ymddiried 'rwy'
Am nerth i rodio'i ffyrdd;
Fe'm dygodd eisioes drwy
Ryw gyfyngderau fyrdd:
Hyderu etto 'rwyf drwy ffydd,
Yn nerth fy Nuw, caf gario'r dydd.

219. Undeb gwylwyr Salem.—M. 3.

Caersalem lon sy'n llawenhau
A'i gwylwyr o un fryd;
A'r anial blin sy'n dysgu cân
O fawl i Brynwr byd.

Gwaith hyfryd yw clodfori'r Ion,
Ei ras a'i hedd dilyth;
O oes i oes ei fawl a red
Mewn sain gorfoledd byth.

220. Jerusalem newydd.—M. 4.

Caersalem newydd ddaw i lawr
Mewn harddwch mawr nefolaidd;
At ddynion, daw'r Jehofah glân
I wneyd ei drigfan santaidd.

Pob deigryn trist o'u llygaid ddaw,
Ei dyner law wnaiff sychu;
A phoen a griddfan, gwae a gwŷn,
Ac angeu 'i hun gaiff drengu.

Pa bryd, fy Mhrynwr mwyn, pa bryd
Y daw'r awr hyfryd hòno?
Olwynion amser trowch yn glau,
Boed iddi'n frau brysuro.

221. Marwolaeth Crist.—M. 3.

Caethiwed mewn caethiwed roes
Oen Duw ar Galfari;
A rhinwedd haeddiant gwaed y groes
Sy'n dwyn rhyddhad i ni.

Iawn i gyfiawnder gafwyd trwy
Ei farwol boenau ef,
Ac nid oes eisieu aberth mwy,
Llwyr foddlawn yw y nef.

Am hyny awn at fwrdd y wledd
O ber ddanteithion gwiw,
A gwledda gawn, mewn hyfryd hedd,
Ar ffrwythau cariad Duw.

222. Twr cadarn y Cristion.—M. 5.

Caf brofi nawdd gan Freniu nef,
Fe'm dwg i graig oruchel gref;
Twr cadarn fydd i'm cadw'n fyw,
Rhag fy ngelynion o bob rhyw.

Byth dysgwyl wnaf wrth borth fy Nuw,
Fy nerth wrth raid a'm cymmorth yw:
Pan ballo calon yn ei nerth,
Mae gweddi wan gan Dduw o werth.

Rhydd etifeddiaeth yn y nef,
I'w anwyl blant a'i hofnant ef;
Ac yno'n llon a lleisiau llawn,
Cânt ganu moliant melus iawn.

223. Mawl i'r Drindod.—M. 6.

Caiff cariad Duw y Tad
Drwy'n holl ganiadau wau,

Hosanna i'r Mab rhad
Fo'n wastad yn parhau
Gyda'r un sel yn ddiwahan
Rhown hefyd glod i'r Ysbryd Glân.

Angylion gylch y fainc,
A'r seintiau fry'n gytun,
Cydseiniwch beraidd gainc
I'r santaidd Dri yn un,
Fel hyn drwy'r nef adseinia clod
Pan na chaiff byd nac amser fod.

224. Arglwyddiaeth Iesu.—M. 4.

Canaf i'm Prynwr, Brenin nef,
Gorchfygodd ef pan gwympodd;
A'i farwol lef, gwnaeth nerthol wyrth,
Ac uffern byrth ysgydwodd.

Gorphenwyd, medd Immanuel mwyn,
Y gwaith ofnadwy wnaethpwyd;
Ei orsedd bellach codi wna,
Ei deyrnas a ddechreuwyd.

Ei groes osododd sylfaen gref
Am deyrnas nef i ddynion,
Pan aeth drwy dir yr angeu du
I gyrhaedd i ni'r goron.

225. Ffynnon rinweddol.—M. 25.

Caned nef a daear lawr
Fe gaed ffynnon,
I olchi pechaduriaid mawr,
Yn glaer wynion;
Yn y ffynnon gyda hwy
Minnau 'molcha'
Ac a ganaf byth tra bwy',
Halaluia.

Mae Seraphiaid pur y nen
Yn rhyfeddu,
Gwel'd eu Brenin ar y pren
Yn gwir drengu;
Rhyfedd goncwest gynt a gaed
Ar Galfaria,
Byth fe genir am y gwaed
Halaluia.

226. Noddfa i lofruddion.—M. 21.

Caned pechaduriaid mawrion,
Fe gaed noddfa i lofruddion,
Noddfa glyd, rhag llid dialydd,
Noddfa rad yn ngwlad y cystudd.

Caned nef a daearolion,
Sain Hosana i Frenin Sion;
Llawn tosturi yw e'n wastad,
Nid oes diwedd ar ei gariad.

Canwn mwy am waredigaeth,
Heb ei hail i blant marwolaeth;
Talodd Iesu ein dyledion,
A gorchfygodd ein gelynion.

227. Hyder y credadyn.—M. 10.

Can fy enaid, mwy bydd lawen,
Minnau ddo'f, er tònau maith,
Grym afonydd, llid gelynion,
Cyn bo hir, i ben fy nhaith:
Mi gaf ado'r dyrus anial,
Myn'd i blith y dyrfa fawr;
Yn eu cwmni, byth heb flino,
Caf ddysgleirio fel y wawr.

Ac ni bydda'i'n hir cyn gorphen,
Ddim yn hir cyn glanio fry;
Pob gorchymyn, pob bygythiad,
Pob addewid sydd o'm tu:
Nid y dyfnder fydd fy nhrigfan,
Gwn y deuaf yn y man,
Wedi 'ngolchi gan y tònau,
Yn ddiangol iach i'r lan.

228. Gogoniant i'r Drindod.—M. 5.

Canmoled pob creadur byw,
O ddyn hyd angel, ddoniau Duw;
A rhoed pob genau fawl ar gân
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân.

229. Harddwch gwaith Duw.—M. 4.

Can o anfarwol glod dilyth
A berthyn byth i'n Harglwydd;
Fy nghalon cân, a'm tafod dod
Ar led ei odidawgrwydd.

Mor fawr yw gwaith ei ddwylaw gwych,
Mor harddwych yw i'n golwg;
Ac yn mhob oes hyfrydwch rhai
Oedd gwneyd ei wyrthiau'n amlwg.

A fyno fod yn ddoeth i fyw
Yn ofn Duw rhaid dechrau;
Prawf eglur o'n gwybodaeth yw
Casâu pob rhyw bechodau.

230. Cofio ôl yr oelion.—M. 4.

Cantorion Sion, deuwch chwi
A'ch peraidd gerddi dygwch;
Crist y tragwyddol Dduw, yr un
A Christ y dyn molienwch.

Dan dew gysgodau angeu îs nen
Gogwyddai'i ben urddasol,
Ond codi wnaeth, a byw fydd e,
Pan drengo angeu'n farwol.

Ni bydd i'r waedlyd wayw-ffon
Na'r hoelion mwy ei wânu;
Holl uffern wrth ei enw grŷn,
A'r holl nef sy'n ymgrymu.

Ar fainc ei Dad, mewn uchel wedd,
Mae'n eistedd a theyrnasu;
A'r Tad ddyd heibio'i ddial, a
Bydd ar ei Fab yn gwenu.

231. Hyder yn Nghrist.—M. 10.

Can yn iach fy enaid egwan,
Paid a dysgwyl nefoedd mwy,
Noddfa dawel, hedd, na chysur,
Ond yn Nghrist a'i farwol glwy';

Cwyd dy olwg ar i fynu,
  Edrych i'r ardaloedd pell,
Lle mae'th Briod yn teyrnasu,
  Lle cei drysor can mil gwell.

Brysia, brysia i'th orphwysfa,
  Sylla ar dy Brynwr glân,
Brawd a anwyd erbyn c'ledi,
  Ffyddlon yw mewn dwr a thân;
Pwysa arno, byth ni'th edy,
  Dwg di drwy'r Iorddonen gref;
Ti gei bob digonedd ganddo,
  Cadw'th olwg arno ef.

232. Buddugoliaeth Iesu.—M. 10.

Capten mawr ein hiechydwriaeth,
  Welaf yn y frwydr hon;
Holl elynion ei ddyweddi,
  Yn gorfod plygu ger ei fron:
Plant afradlon sy'n dod adref,
  Rhai fu mhell o dir eu gwlad,
Rhai fu'n fudion sy'n clodfori
  Duw am iechydwriaeth rad.

Marchog Iesu yn llwyddiannus,
  Gwisg dy gleddyf ar dy glun,
Nid all daear dy wrthsefyll,
  Chwaith nac uffern fawr ei hun;
Mae dy enw mor ardderchog,
  Pob rhyw elyn gilia draw,
Mae rhyw arswyd drwy'r greadigaeth
  Pan y byddost ti gerllaw.

233. Gwellhad o glefyd.—M. 4.

Caraf fy Nuw, fe glybu'm llef,
  A'r gwael gwnaeth ef drugaredd;
Yn mhob rhyw drallod hyn a wnaf,
  Prysuraf at ei orsedd.

Caraf fy Ion, gostyngai'i glust,
  A'm blinder trist drodd heibio;
O na wanhaed fy nghalon byth;
  Gwnaf, tra caf chwyth, weddio.

Rhag angeu cadwodd f'enaid caeth,
  A sychu wnaeth fy nagrau;
I'w fawl y treuliaf yn ddiludd
  Y gweddill sydd o'm dyddiau.

234. Cymmwynasgarwch.—M. 4.

Cariad a odde'n ymarhous,
  Nid yw gyffrous i ddigio;
Maddeu'r presennol gamwedd mae,
  Anghofio'r bai aeth heibio.

A hunan-les yn llon ymâd,
  Er mwyn llesâd cymmydog;
Gan gofio'r Crist a ddaeth i'r groes,
  I farw dros yr euog.

Hwn ydyw'r gras yn fyw a fydd
  Yn ngwledydd y gogoniant;
Lle na bydd ffydd na gobaith mwy
  Y saint byth hwy a garant.

235. Planhigion gras.—M. 5.

Cauedig ardd yw'r saint yn wir,
A wnaethpwyd yn neillduol dir;
Eu planu wnaed gan law Duw Ner,
A'u dail yn las a'u ffrwyth yn ber.

O tyr'd ddeheuwynt nefol mwyn,
Chwyth ar ein gardd ag awel dwym;
Anadla'n rasol, Ysbryd Glân,
Ar dy blanhigion tyner mân.

Gwasgara ein haroglau per
I roesaw Crist, ein tirion Ner;
Ffydd, cariad, a llawenydd gwiw,
A phob rhyw ras fo yma'n byw.

236. Ffordd newydd.—M. 20.

Cawn ddianc o'n hadfyd
  A'n gofid i gyd,
A therfysg a dwndwr
  A chynwrf y byd;
Byth, byth ni ddaw blinder,
  Na llygredd, na phoen,
Na gelyn, na gormes,
  I fynwes yr Oen.

Am hyny mi gredaf
  Er nad wyf ond gwan,
Y deuaf o ddyfnder
  Y ddaear i'r lan:
Agorwyd gan Iesu
  Ffordd newydd a byw,
Im' ddianc o'r anial
  I fynwes fy Nuw.

237. Esgyn o'r anialwch.—M. 11.

Cawn esgyn o'r dyrus anialwch,
  I'r nefol baradwys i fyw,
Ein henaid lluddedig gaiff orphwys
  Yn dawel ar fynwes ein Duw;
Diangfa dragwyddol geir yno
  Ar bechod, cystuddiau, a phoen;
A gwledda i oesoedd diderfyn,
  Ar gariad annhraethol yr Oen.

O fryniau Caersalem ceir gweled
  Holl daith yr anialwch i gyd,
Pryd hyn y daw troion yr yrfa
  Yn felus i lanw ein bryd:
Cawn edrych ar stormydd ac ofnau,
  Ac angeu dychrynllyd a'r bedd,
A ninnau'n ddiangol o'u cyrhaedd,
  Yn nofio mewn cariad a hedd.

238. Cân yr adgyfodiad.—M. 38.

Cawn weled rhyfeddodau,
A chlywed swn caniadau
  Yr adgyfodiad;
Holl ddyffryn angau'n deffro,
Bydd rhyfedd gynnwrf drwyddo,
  Wrth floedd yr alwad;

Peth syn! yr esgyrn sychion hyn
Fu'n wael eu helynt,
Daw cnawd teg arnynt,
A bywyd iddynt;
A'u gwawr yn ddigon gwyn,
Cânt godi'n llu anfarwol
I'r nefol freiniol fryn;
Lle bydd y bronau gynt fu'n brudd
Ar feusydd gwynfyd,
Dan lewyrch hyfryd
Yr Haul na fachlud,
Mewn bywyd rhyfedd rydd,
Uwchlaw y du dymhestloedd
A'u daliodd yn eu dydd.

**239.** Y dyrfa lân.—M. 30.

CEIR gweled miloedd maith,
O bob rhyw lwyth ac iaith,
Ar Sïon fryn:
Rifedi'r tywod mân,
Oll wedi eu golchi'n lân,
A'u puro yn y tân,
A'u cànu'n wyn.

Y dyrfa bur ddiboen,
A folant Dduw a'r Oen,
Heb dewi mwy:
Yn iach ar ben eu taith
I dragwyddoldeb maith,
Moliannu fydd eu gwaith,
Am farwol glwy'.

**240.** Gwraig yr Oen.—M. 31.

CEIR gweled tyrfa ddysglaer fawr,
Rifedi gwlith y boreu wawr;
Heb friw na phoen, heb friw na phoen,
Yn canu i'r Oen y newydd gân.

Bydd gwraig yr Oen y boreu hwn,
Yn iach a llon, heb boen na phwn,
Ar ddeheulaw, ar ddeheulaw,
Ei phriod draw, heb farw byth.

**241.** Dyddanydd.—M. 10.

CEISIWN beunydd y Dyddanydd
Yn arweinydd ar ein rhan,
Er ein gwisgo'n hardd a'n cànu,
Er ein nerthu pan yn wan;
Holl gymhwysiad iechydwriaeth
Sy'n ei oruchwyliaeth hael,
Pob rhyw rasol ymgeleddiad
Yn ei gariad sydd i'w gael.

**242.** Dyn i farw.—M. 5.

CENADON angeu sy'n nesâu,
Rhont fynych freg i'm heinioes frau.
Dangosant im' heb barch na bri
Mai dyn i farw ydwyf fi.

Er cymmaint yw fy meiau cas,
O Dduw, hyderaf yn dy ras,
Y caf faddeuant genyt ti,
Can's dyn i farw ydwyf fi.

O paroto fy enaid trist,
Yn awr erfyniaf er mwyn Crist,
Fel caffwyf wên dy wyneb di
Cyn yn y farn y gwelir fi.

**243.** Cenadon hedd.—M. 19.

CENADON hedd,
Mewn efengylaidd iaith,
Sy'n galw i'r wledd,
Dros fôr yr India faith;
Caiff Hotentots
Barbaraidd dua'u lliw,
Eu golchi'n wyn,
A'u dwyn i deulu Duw.

Doed natur oll,
Doed pawb o ddynolryw,
I roddi'r clod
Yn llwyr i enw Duw;
Pob llwyth ac iaith
A ddelo'n ddinacad
I'w foli'n faith,
Am iechydwriaeth rad.

**244.** Iachad o dristwch.—M. 5.

CENWCH i'r Ion ei saint i gyd,
Mynegwch ei ddaioni i'r byd;
Bendithiwch Dduw yn llon eich llef,
Wrth goffa ei santeiddrwydd ef.

Ni saif ei ddig ond enyd frau,
Ei hedd sydd fywyd i barhau;
Er treulio'r nos mewn tristwch prudd
Gorfoledd ddwg ar wawr y dydd.

Fy nagrau blin a'm cŵyn o'r blaen
Drow'd yn orfoledd ac yn gân;
Fy nhafod, fy ngogoniant i,
Na pheidied byth dy ganmol di.

**245.** Cyngor Duw i'w saint.—M. 4.

CENWCH i'r Ion yn uchel iawn,
A llafar llawn llawenydd;
Ein Craig yw ef, a'n Ceidwad hael
Clyw Israel ei leferydd.

Cadw fy nhŷ yn lân, medd Duw,
Oddiwrth bob rhyw gau-dduwiaeth;
Yr Arglwydd wyf all dy ryddhau
O'th lygredd a'i holl effaith.

O na bai fy saint oll dan go'
Yn gwrando fy nghynghorion,
Eu cwyn yn glau a esmwythawn,
A llawenhawn eu calon.

Rhown i'w gelynion farwol glwy'
Ond porthwn hwy'n ddigonol;
Caent genyf lawer nefol saig,
A dwr o'u Craig dragwyddol.

**246.** Dinas ar fryn.—M. 22.

CERDDORION gwir ddawn,
Yn llawn mewn llawenydd,

Cyd-hwyliwch delynau,
Moliannwch yr Arglwydd;
Ein Sion cyn hir
A welir yn llwyddo,
Fel dinas ar fryn,
Nad ellir ei chuddio;
O deuwch i'r wledd,
Mae hedd mewn cyhoeddiad,
A'r durtur a'r gân
Yn gwiwlan roi galwad.

247. Bugail a Phriod.—M. 9.

Ce's gadarn Graig i ymguddio,
Ce's Feddyg i'm hiachâu,
Ce's hefyd Fugail ffyddlawn,
Ce's ffynnon i'm glânhau,
Ce's wisg i guddio'm noethni,
Ce's eli wrth fy nghlwy',
Ce's Briod diwahaniad,
Nid wyf amddifad mwy.

Tra fyddwyf yn y rhyfel,
Edrychaf tua'r nen,
Er gwaned yw fy ngolwg,
Mi welaf pwy sydd ben:
Y gwr fu dan yr hoelion,
Sydd gryf o blaid y gwan,
A than ei dawel gysgod,
Mi ddof yn iach i'r lan.

248. Dilead y cysgodau.—M. 10.

Cilio wnaeth y tew gysgodau,
Gwawriodd hyfryd oleu ddydd,
Nid oes eisieu gwaedlyd ebyrth,
Thuser aur, nac allor bridd:
Daeth y gogoneddus Sylwedd,
Daeth yr addawedig Had,
Cododd dysglaer Haul Cyfiawnder,
Sain y durtur sydd drwy'r wlad.

Mwy ni cheisir urddau Aaron,
Olew per, na brasder ŵyn,
Gwisgo'r Urim ar ei ddwyfron,
Yn y nef mae'r Iesu mwyn;
Wrth yr allor aur mae'n gweini,
Clywir adsain clychau hedd;
Yn ei law mae'r aur deyrnwialen,
Wrth ei glun mae'r dwyfol gledd.

249. Bythol gariad.—M. 17.

Clod, clod,
I'r hwn a'm carodd cyn fy mod,
Mae'm llef am gyrhaedd at y nôd,
Ac am gael d'od i'w dawel hedd;
I'r lle mae llawnder ar bob llaw,
Heb boen na braw, tu draw i'r bedd.
Efe
A'm carodd cyn sylfaenu'r ne',
Aeth dan law'r lleiddiaid yn fy lle,
Mae 'i haeddiant ef yn awr o'm tu,
Mi deithia'r ffordd i'r nef yn lân,
Af trwyddo yn mlaen i'r Canaan fry.

250. Clod i'r Oen.—M. 17.

Clod, clod,
I'r Oen a laddwyd cyn fy mod,
Y parch a'r mawl i'w enw boed,
Am iddo erioed, o'i gariad rhad,
Roi 'i serch ar wael syrthiedig ddyn:
Mawr iawn yw rhin ei ddwyfol waed.

Ei glod
Sydd heb un terfyn iddo'n bod,
O aed yn mlaen fwy nag erioed,
O gwmpas rhod y ddaear fawr,
Nes elo swn efengyl bur
I dori'n glir fyrddiynau i lawr.

251. Aberth hwyrol.—M. 4.

Clodforaf di, fy Arglwydd da,
Fy ngwerthfawr Noddfa nerthol;
Arbedaist f'einioes hyd yn hyn,
Rhag angeu yn ddiangol.

Am ddirfawr drugareddau'r dydd,
A'th ddoniau beunydd imi,
Offrymaf hwyrol aberth per,
O glod diderfyn iti.

Gorchymyn i'th angylion, Dad,
Drwy'm hûn i'm gwarchad heno,
A thrwy y nos i'th waelaf lwch,
Dy dirion heddwch dyro.

A phan yr hunwyf yn y bedd,
Rho'th nefol hedd i'm henaid;
Ac adgyfoda 'nghorff i fyw,
Byth gyda'r gwiw ffyddloniaid.

252. Emyn i blentyn.—M. 4.

Clodforaf fi, yn ol fy nawn,
Y Bôd sy'n llawn daioni;
Yr hwn fu farw ar y groes
I brynu einioes ini!

Ei eiddo yw fy einioes frau,
A rhif holl ddyddiau 'mywyd;
Fy null, a'm maint a drefnodd ef,
A rhodd o'r nef yw iechyd.

Fy nyled yw cyssegru f'oes
I'r hwn a roes im' fywyd:
Gall ef ei attal pan y myn,
A gall ei estyn hefyd.

Fe all fy nghànu'n lân fy ngwedd
Oddiwrth bob llygredd gwreiddiol,
A'm golchi'n ffynnon gras didrai,
Oddiwrth bob bai gweithredol.

253. Ffyddlondeb Iesu.—M. 4.

Clodforwch bawb ein Harglwydd Dduw
Doed dynol-ryw i'w ganmol:
Ei hedd fel afon fawr ddidrai,
Gaiff ddyfrhau ei bobl.

Ni feddaf ffrynd, na mam, na thad,
A'r cyfryw gariad imi;

Mewn culni, gofid, poen, a gwae,
Yn wastad mae'n fy lloni.

O blaid fy enaid gwan fe fydd,
Ar chwerw ddydd marwolaeth;
Yn angeu, dan ei gysgod ef,
Caf floeddio, Iechydwriaeth.

254. Arweinyddiaeth Duw.—M. 5.

Clodforwn Lywydd mawr y nef,
Mor fawr yw ei drugaredd ef!
Ca'dd oesoedd gynt o hyny braw',
Ac felly caiff yr oesau ddaw.

O boed i waredigion Duw
Goffhau o hyd ei wyrthiau gwiw;
O law y gelyn gwnai ryddhau
Mewn pryd, ei ddewisedig rai.

Fe'n portha ninnau drwy'r holl daith,
Fe'n tywys rhag in' grwydro'n faith,
Fe'n ceidw â'i alluog law,
A dwg ni'n iach i'r nefoedd draw.

O na chanmolai pob dyn byw
Aneirif drugareddau Duw!
Mor fawr ei waith, mor fwyn ei ffyrdd!
Rhoed pawb i'w enw foliant fyrdd.

255. Llais y ddyweddi.—M. 5.

Clywch fel mae'r Prynwr oddifry,
Yn mwyn wahodd ei eglwys gu,—
"C'od 'nawr dy ben, nac ofna ddim,
Dy beraidd lais rho glywed im'."

Gorfoledd im' sy'n cael ei ddwyn,
Trwy alwad gu fy Iesu mwyn;
Eiddo f'Anwylyd wyf o'm bodd,
A'm heiddo i yw e'r un modd.

Fe lawenha'dd fy nghalon flin
A bywiol fara a nefol win;
Pan oeddwn lesg fe daenodd len,
Neu faner cariad dros fy mhen.

256. Marwolaeth y saint.—M. 5.

Clywch lais o'r nef, cyhoeddi mae
Wynfyd i'r meirw, dduwiol rai;
Eu cwsg sy'n esmwyth yn y pridd,
A'u henwau'n perarogli sydd.

Yn Iesu marw'n ddedwydd maent,—
Mor felus ydyw hûn y saint! [hwy,
Rhydd oddiwrth bechod gwnaethwyd
Ni theimlant boen na gofid mwy.

Yn mhell o'r byd a'i adfyd trist,
Maent yn bresennol gyda Christ,
Llafurus waith eu bywyd brau,
Mewn gwobr fawr diweddu mae.

257. Gorphenwyd.—M. 7.

Clywch leferydd gras a chariad
O Galfaria'n seinio sydd,
Wele'r cedyrn greigiau'n hollti,
Haul yn t'w'llu ganol dydd:
Fe orphenwyd,
Dwys ddolefai'r Meichiau mawr.

O'r trysorau anchwiliadwy
A gynnwysir yn y gair,
Môr diderfyn o fendithion
I dylodion ynddo gair:
Fe orphenwyd,
Ni bydd eisieu aberth mwy.

Adgyweirier pob rhyw delyn
Trwy y ddaear faith a'r nef,
Er cyd-daro'r anthem newydd,
Heddyw a ddechreuodd ef:
Fe orphenwyd,
Dyma gân na dderfydd byth.

258. Duw yn ei dy.—M. 5.

Clyw'th blant, O Dduw, yn canu'n llon
Eu mawr orfoledd ger dy fron:—
Gwell treulio un dydd gyda thi,
Na mil mewn bydol freiniol fri.

Pe caem fwynhau'r lle nesa'i maes
O fewn dy dŷ, o Dduw y gras;
Nid pebyll teg a'u pethau tlws
A hudai'm traed i ado'th ddrws.

Pob rheidiol ras a ddyry Duw,
A choron o ogoniant gwiw,
Ni attal un ddaionus rodd
Oddiwrth y rhai sydd wrth ei fodd.

259. Gweddi ar ol pregeth.—M. 10.

Clywsom werthfawr wirioneddau,
Arglwydd maddeu'n hangof mawr;
Dwysion eiriau dy genadon
Lanwo'n calon, fach a mawr;
Egin fyrdd a darddo allan,
Ffrwythed gwinllan Iesu gwiw;
Saethau llymion y gwirionedd
Glwyfo'n llygredd o bob rhyw.

260. Tragwyddoldeb Duw.—M. 5.

C'od, c'od, fy enaid gâd y llawr,
Ehanga'th holl feddyliau'n awr;
Dihuna'th lef a'th lafar byw,
I ganmol y tragwyddol Dduw.

Erioed cyn taenu'r nefoedd fry,
Jehofa'n llanw'i orsedd bu;
Ei drigfan tragwyddoldeb yw,
A byth a byth yw amser Duw.

Ein hoesoedd ni ânt heibio'n glau,
Ei oes dragwyddol ef a sai';
Ein Duw fydd byw dros byth yn llon.
Pan losgo'n lân y ddaear hon.

261. Cân y pererin.—M. 48.

C'od fy enaid, cais yn awr,
Dy ran o fewn y ne',
C'od oddiwrth deganau'r llawr
I'th enedigol le;

Holl elfenau'r ddaear hon,
Doddant ymaith cyn bo hir,
C'od fy enaid, brysia'n llon,
I'r hoff drigfanau pur.

Rhêd y dyfroedd yn y blaen
I'r môr heb aros dim,
At yr haul y cyrcha'r tân,
Er lleied f'o ei rym;
Felly'r anian sydd o Dduw
Llefain mae am wel'd ei wedd;
Tynu wna i'w hannedd wiw,
I aros yn ei hedd.

262. YR AIL RAN.

Bererinion na thristewch,
Ond cyrchwch at y nôd,
Gwel'd eich Iesu'n fuan gewch
Ar gwmwl goleu'n dod;
Enyd fechan, a chewch chwi
Rwydd-fynediad ato ef,
Gadael gwaeau heb ddim rhi',
A'u nhewid am y nef.

263. Eiriolwr mwyn fry.—M. 4.

Codwn ein golwg fynu i'r nef,
Ein Prynwr ef sydd yno;
Gerbron y Tad, Eiriolwr mwyn,
Yn gwrando'n cwyn a phledio.

Bu farw, f'enaid, drosot ti
A'i waed yn lli a gollodd;
Boddloni'r Tad wnaeth ar y pren,
Ac uwch y nen derchafodd.

Gweddiau 'nawr a mawl y saint
I'r nefoedd maent yn esgyn;
Can's Crist a'i aberth sydd bob tro,
Yn eu cyflwyno i'r Brenin.

264. Cofio'r ddyweddi.—M. 10.

Cofia, Arglwydd, dy ddyweddi,
Llama ati fel yr hydd;
Ac na âd i'w holl elynion
Arni'n hollol gael y dydd;
O datguddia y colofnau,
Wnaed i'w chynnal yn y nos,
Addewidion diammodol
Duw, ar gyfrif gwaed y groes.

Bod yn fyw sy'n fawr ryfeddod,
Mewn ffwrneisiau sydd mor boeth;
Ond mwy rhyfedd, 'nol fy mhrofi,
Dôf o'r cystudd fel aur coeth:
Amser cànu, diwrnod nithio,
Allaf dreulio heb ddim braw,
Y gŵr sydd i mi yn ymguddfa
Fydd â'r wyntyll yn ei law.

265. Cariad Iesu.—M. 7.

Cofia f'enaid gariad Iesu,
Edrych ar dy Brynwr mawr,
Yn yr ing a'r ymdrech meddwl,
Chwys a gwaed yn llifo i lawr;
Dyma'r cariad
Mwyaf mawr a fu erioed.

Yn yr ardd pan ddaliwyd Iesu
Fe atebodd drosom ni,
Gadewch iddynt hwy fyn'd ymaith,
Yn eu lle cymmerwch fi;
Dyma'r cariad
Mwyaf mawr a fu erioed.

266. Ymgeledd trugaredd.—M. 10.

Cofiwn byth yr hên drugaredd,
Nad oes diwedd ar ei dawn;
Trwy ei chyfoeth a'i daioni
Ein digoni'n llwyr a gawn;
Yn ein hisel radd hi'n cofiodd
Pan yn gorwedd yn ein gwaed,
Gwresog ganwn am ei rhinwedd,
A'r ymgeledd drwyddi gaed.

267. Bwrdd Crist.—M. 5.

Cofleidied Crist fy enaid gwan,
Boed i mi yn ei gariad ran;
Cusanau per ei felus fin
Sy'n llawer gwell nâ'r gloyw win.

Olew llawenydd, gras, a hedd,
Sy'n hardd ddysgleirio yn ei wedd,
A thra bo'r Brenin wrth ei fwrdd,
Ni ddaw byth ofid yno i'n cwrdd.

Tyn ni â'th gariad ar dy ol,
O swn y byd i'th gynnes gol;
I orphwys yno nes i ti
Ein codi i'th drigfanau fry.

268. Tosturi a gras Crist.—M. 4.

Coffawn yn llawen gyda pharch,
Am ras ein Harch-offeiriad;
Un yw o galon dyner iawn
A llawn 'mysgaroedd cariad.

Cyd-deimlo mae â'n natur wan,
Fe ŵyr mor egwan ydyw;
Gŵyr beth yw profedigaeth gref,
Can's teimlodd ef y cyfryw.

Yn nyddiau'i egwan gnawd 'roedd ef
Yn tywallt llef a dagrau;
Cyd-deimlo etto mae pan f'o
Un aelod iddo'n dyoddef.

269. Gwaed yr aberthau.—M. 10.

Collwyd gwaed dan y cysgodau
All'sai nofio llongau llawn;
A thrwy hyny fe gaed arwydd
O'r boreu-ddydd, am yr Iawn;
Nid oedd cymmod am un camwedd
I neb gael drwy rinwedd rhai'n,
Ond rhinweddau annherfynol
Gaed yn ôl y bicell fain.

270. Eiriolaeth gref.—M. 19.

Concwerwr yw,
Fy Iesu gwiw bob awr;

Clod iddo ef,
F'o byth drwy'r nef a'r llawr;
Addawodd fod,
Mewn dwr a thân o'm plaid,
A'i ddeheu law,
Gyflawna fy holl raid.

Ei fywyd glân,
A'i ddwys riddfanau roes,
Wrth farw'n iawn,
Dâl cyflawn ar y groes;
Daw ffrwyth ei boen,
A grym eiriolaeth gref,
A'r eiddil gwan,
Yn gadarn gydag ef.

271. Concro angeu.—M. 5.

Condemniwyd pechod yn y cnawd
Trwy aberth Crist ein hynaf Frawd,
Cyflawnodd ef holl ddeddf y Tad
Mae buddugoliaeth yn ei waed.

Am hyn fy enaid mentra'n hŷ
I ddyfroedd yr Iorddonen ddû;
Cei ganu concwest iddo'n llon
Yn nghanol tònau geirwon hon.

272. Craig safadwy.—M. 25.

Craig safadwy dan fy nhraed
Wy'n ei 'mofyn;
O dragwyddol faith barhad
Rhag y gelyn;
Unig sail fy nghysur i,
Mewn cyfyngdra,
Ydyw angeu Calfari,
Halaluia.

Dyma yw fy ngwleddoedd llawn,
Cariad Iesu;
Mae ei wedd yn hyfryd iawn,
Haeddai 'i garu;
Codi wnaeth o'i fedd yn fyw,
Minnau gana',
Noddfa gadarn i mi yw,
Halaluia.

273. Llawenydd credinwyr.—M. 20.

Credinwyr edrychant
I'r nefol fryn draw,
Eu bywiol ddyddanwch
Oddiyno a ddaw;
Eu henaid a orphwys
Mewn gobaith a ffydd,
A'u hwyneb heb dristwch,
Yn siriol y sydd.

Ni fynant ymofyn
Teganau o aur,
Ond treuliant eu horiau
I chwilio y gair;
Darparodd eu Priod,
Uwch ben iddynt hwy,
Lawenydd a gwynfyd
A golud sydd fwy.

274. Ceidwad dyn.—M. 51.

Crist ei hun sydd oll yn oll,
Ceidw ddyn rhag myn'd ar goll,
Nid oes neb ond Crist ei hun
Ddichon gadw enaid dyn.

Dyma'r Gair a wnaed yn gnawd,
Iesu Grist ddaeth i ni'n frawd,
Rhaid oedd iddo'n Dduw a dyn
Agor ffordd cyn cedwid dyn.

Nid oedd sant nac angel 'chwaith,
All'sai helpu yn y gwaith;
Ef yn unig, ef ei hun,
Weithiodd iechydwriaeth dyn.

275. Addoli'r Anweledig.—M. 4.

Crist ydyw'r derchafedig un
Heb wel'd y'm ni'n addoli,
Pan gaffom arno olwg lawn,
Rhagorach cawn ei garu.

Y tirion draed bendigaid 'ynt
Fu'r hoelion gynt yn dori,
Ar orsedd ddysglaer sefyll maent,
A'r holl saint yn addoli.

Ei anwyl ben, ardderchog ddull—
Fu'r drain yn erchyll glwyfo;
O'r fath ogoniant heddyw sy'
O'i amgylch frŷ'n dysgleirio;

Wrth wel'd drwy ffydd yr olwg hon,
Mae yn ein calon hiraeth,
Am ado'r corff, a myn'd o'r byd.
Mewn cerbyd tanllyd ymaith.

276. Lili'r dyffrynoedd.—M. 5.

Crist ydyw Rhosyn Saron mwyn,
Y Lili mae'r dyffrynau'n ddwyn;
A phren y bywyd heb ei ail,
Mae iechydwriaeth yn ei ddail.

Fel Lili hardd yn mhlith y drain,
Neu bren afalau 'n mysg y rhai'n,
Rwy'n gwel'd fy Mhrynwr hawddgar drud,
Yn ben ar holl gariadau'r byd.

Dan gysgod hwn i eistedd des,
I orphwys rhag y poenus wres;
Ei ffrwyth oedd i'm yn felus iawn,
A lloni'm henaid ganddo gawn.

277. Iechyd enaid.—M. 25.

Crist yw'm sylfaen gadarn gref
Drwy fy mywyd;
Pwyso'm henaid arno ef
Yw fy ngwynfyd;
Ynddo bellach trwy bob plâ
Y gobeithiaf,
Ac mewn rhyfel canu wnaf
Halaluia.

Dedwydd yw sy'n profi'i hedd,
A'i gymundeb;

Ac yn gweled hyfryd wedd,
Ei lân wyneb:
Ei gyfeillach nefol yw
Grym fy iechyd,
A fy heddwch hyfryd gwiw,
A fy mywyd.

278. Crist, Oen Duw.—M. 51.

Crist yw'r Oen difrychau i gyd,
Dynai ffwrdd bechodau'r byd;
Crist heb neb ond Crist ei hun,
Ydyw unig Geidwad dyn.

Crist yw gwir oleuni'r byd,
Crist yw'n bywyd oll i gyd,
Hebddo ni chawn weled Duw,
Trwyddo ni gawn fythol fyw.

279. Iachâu pob clefyd.—M. 5.

Crist yw y Meddyg mwya'i glod,
Mawr yw y son am dano 'rioed;
Nid oes yn agos nac yn mhell,
Ni fu, ni ddaw un meddyg gwell.

Ni chlywyd son am neb o'r blaen
Yn gwella pob clefydau'n lân;
Na meddyginiaeth mewn un oes,
Yn gwella pawb ond gwaed y groes.

280. Ymarweddiad yn y nef.—M. 10.

Cwyd fy serch uwch pethau amser
At gyflawnder Crist a'i ddawn;
Rho dy gariad yn fy mynwes,
Yn rhyw fflam angerddol iawn:
Boed fy nhrysor a fy nghalon,
A fy nghartref, a fy mryd,
Yn y nefoedd gyda'r Iesu,
Tra b'wyf yma yn y byd.

281. Dydd ympryd.—M. 5.

Cyd-blygwn wrth orseddfainc Ion,
O ddwyfron, bawb o ddifri;
Mae'n addas i ni blygu i gyd
Mewn ympryd ac mewn gweddi.

Mae achos ochain i ni'n awr,
Am gael i lawr drugaredd,
Terfynau'n tir yn awr y sy
Dan gwmwl du am gamwedd.

Os llwydda Lloegr mewn un lle,
Fel Ninefe y llwydda;—
Mewn edifeirwch yn y llwch,
Am heddwch a diangfa.

282. Dringo bryn Calfaria.—M. 5.

Cyd-ddringed ein meddyliau trist,
Alarus fryn Calfaria 'nawr;
Fry ar y groes canfyddwn Grist
Yn gwaedu mewn cyfyngder mawr.

Ei draed a'i ddwylaw anwyl ef,
A hoeliwyd wrth y poenus bren,
Ffrwd werthfawr, goch, effeithiol, gref,
A lifai'n frwd o'i ystlys wen.

Ond O! anfeidrol bwysfawr boen
Ei enaid cyfiawn, gwirion, cu,
Pan ddygodd y ddrylliedig Oen
Ddigofaint dwys ein camwedd du.

O todded gwresog gariad Crist
Ein calon ni i'w garu'n awr,
Gan dywallt trwy'n hysbrydoedd trist,
Orfoledd maith a heddwch mawr.

283. Gwaed a dwfr.—M. 4.

Cydfoled pawb â llafar lef
Ein Duw o'r nef,—mae achos,—
Am roi ei Fab (beth all'sai well)
I ddwyn y pell yn agos.

Na phalled ein tafodau ni
Byth foli'r Iesu tirion,
A ddaeth mor siriol gu ei wedd,
Yn genad hedd at ddynion.

Annhraethol oedd euogrwydd dyn,
Ond Crist ei hun wnaeth gymmod;
Ar y llawr oer tywalltai'i oes
Yn offrwm dros ein pechod.

O ystlys yr Iachawdwr mâd
Daeth dw'r a gwaed lifeiriant:
Trwy'r dw'r y purir ni yn llawn,
Trwy'r gwaed y cawn faddeuant.

284. Cynhauaf hyfryd.—M. 7.

Cyd-foliannwn Dduw ein Ceidwad
Rhoddwn iddo barch a bri;
Taenodd drosom aden cariad,
Ei rad rodd yw'n bywyd ni:
Caed cynhauaf
Hyfryd o'i haelioni ef.

A'i feunyddiol rasol roddion
Porthi mae ein bywyd brau,
Boed ein genau gyda'n calon
Yn ei ganmol a'i fawrhau:
Dyrchwn foliant
Am ein hymborth iddo ef.

Trenlio'i roddion i'w was'naethu,
Er ei glod y b'om bob un;
Ceisiwn ras i borthi'r enaid,
Rydd ddyddanwch pur i ddyn,—
Pur ddyddanwch,
Na ddaw terfyn arno byth.

285. Adgyfodiad Crist.—M. 12.

Cydganwn, fe wawriodd y dydd,
Daeth Crist, ein gwaredydd, i'r lan;
Agorodd byrth angeu a'r bedd,
Caed testun gorfoledd i'r gwan:
Fe ddrylliodd byrth uffern i gyd,
A'u cynghor wnai'n ynfyd am byth,
I'w foli daw'r caethion yn iach,
A'u nifer fydd amlach nâ'r gwlith.

286. Dyrchafiad Crist.—M. 5.

Cyd-lawenhawn, dyrchafodd Crist,
Yr hwn a fu dros ddyn yn drist;

Mewn rhyfel mae yn gadarn Dduw,
A Brenin y gogoniant yw.

Pan yr esgynodd Prynwr byd,
Dyrchafai'r pyrth eu penau gyd;
A dysglaer fythol ddrysau'r nef
A lawn agorwyd iddo ef.

Gan iddo faeddu erchyll lu
Byddinoedd arfog uffern ddu
Caiff ei ddilynwyr dan y nef,
Lawn fuddugoliaeth drwyddo ef.

287. Jehofah yn ddyn.—M. 19.

CYDSEINIWN gân
A dedwydd lu y nef,
Sy'n plygu'n llon,
Ger bron ei orsedd ef:
Cyweiriwn ein
Telynau oll yn un,
I ganu clod
I'r Duwdod yn y dyn.

Jehofah yw,
Mae'n un â'i enw pur;
Cyflawnder gwiw,
Ei addewidion gwir:
Mae'n codi ei law,
Doed pobloedd byd o'u bodd,
I dderbyn prawf
O'r gras, anfeidrol rodd.

288. Bwrdd yr Arglwydd.—M. 5.

CYDUNWN bawb mewn hyfryd gân,
I'n dyrchafedig Arglwydd glân,
Chwi'r saint o gylch ei orsedd fry,
A ninnau gylch ei fwrdd ef sy.

Tra'r oeddych yma ar y llawr,
Yn flin a llesg fel ninnau'n awr,
Dadebriad mynych gawsoch, gwn,
Oddiwrth y Bwyd anfarwol hwn.

Rhyfeddwn ras anfeidrol Duw,
A wnaeth fath wledd i'n henaid byw;
Gwledd helaeth rad a all ddi-goll
Ddiwallu'n llwyr ein heisiau oll.

289. Emyn Genadol.—M. 30.

CYDUNWN Gymry mwyn,
O galon hael ddigwyn,
I wneyd ein rhan;
Mae gwaedd y pagan pell
Yn cyrhaedd i bob cell
Am gael newyddion gwell:
Rhown nawdd i'r gwan.

Digonedd sydd i'w gael,
Am hyny byddwn hael
O'r trysor drud;
Fel bo'r efengyl fâd
Yn seinio trwy bob gwlad
I luoedd gael gwellhad,
Fu'n cwyno cy'd.

Ac yna daear lawr
A fydd fel allor fawr
I'r Iesu gwiw;
Gan bawb yn ddiwahan,
Bydd halaluia lân,
A'r byd i gyd yn gân
O fawl i Dduw.

290. Cyfammod newydd.—M. 4.

CYFAMMOD cariad Tri yn Un
A bery yn oes oesoedd,
Aberthodd Crist ei enaid mâd,
A'r gras â'i waed a seliodd.

Wrth seliau'r fath gyfammod hael,
Fy enw gwael 'rwy'n ddodi;
A selio'n rhwydd fy rhwymau wnaf,
Ac yna caf ei feddu.

Caf oleu, nerth, a gras yn rhydd,
A'm heiddo fydd gogoniant;
A'm cnawd a'm hysbryd i Grist ro'f,
Yn llwyr ei eiddo fyddant.

291. Haeddiant marwol glwyf.—M. 13.

CYFIAWNDER marwol glwyf,
A haeddiant dwyfol loes,
Y pris, y gwerth, a'r aberth drud,
A dalwyd ar y groes;
A gliria'm meiau'n llwyr,
A'm gylch yn hyfryd lân,
Ac nid oes arall dan y nef,
A'm nertha i fyn'd yn mlaen.

292. Nerth i'r gwan.—M. 3.

CYFLAWNDER nerth, cyflawnder gras,
Cyflawnder nef y nef;
Ac er mor lleied yw fy ngrym,
Mae digon ynddo ef.

Ni welaf wrthddrych mewn un man
O'r ddaear faith i'r ne,'
A dâl ei garu tra b'wyf byw,
Yn unig ond efe.

'Does genyf ond dy allu mawr,
I'm nerthu i fyn'd yn mlaen;
Dy iechydwriaeth yw fy ngrym,
Fy nghoncwest a fy nghân.

293. Dychweliad yr Iuddewon.—M. 5.

CYFLAWNDER y Cenedloedd sydd
Ar ddod i mewn, O hyfryd ddydd!
Hil Israel hen, freninol had,
Ddychwelant 'nol i dŷ eu Tad.

Er iddynt wadu Crist trwy wawd,
Pan ydoedd gynt yn gwisgo cnawd,
Addefant Grist dan awel gref,
A thanllyd nerth ei Ysbryd ef.

Addefant etto Hwn yn ben,
A groeshoeliasant gynt ar bren;
A bydd i'r olwg arno mwy
Groeshoelio'u hanghrediniaeth hwy.

294. Cariad brawdol.—M. 3.

CYFODED Brenin mawr y nef,
Gorphwysed yn ei barch;
Ein cadarn Ior, fe'n ceidw ef,
Rhown ysgwydd dan ei arch.

Dewisodd Sïon gyda'i saint,
Yn drigfan iddo'i hun;
Awn yno i fyw, mawrhawn y fraint,
Fel brodyr yn gytun.

Mor hyfryd a dymunol yw,
Gerbron trigolion byd,
Fod brodyr yn cyfeillgar fyw,
Yn eglwys Dduw yn nghyd.

Cydseiniwn ganiad oll yn gu,
A'r llu tu draw i'r llen;
Etifedd Dafydd sy'n ei dŷ,
Coroned pawb ei ben.

295. Haul Cyfiawnder.—M. 10.

CYFOD, esgyn, Haul Cyfiawnder,
Ymddysgleiria yn dy rym,
Rhwystro dy belydrau tanbaid
I ymledu nid all dim;
Gwawried goleu ddydd yn fuan
Lle mae'r dywell nos yn awr,
Eled son am waed Cyfryngwr,
Dros holl gyrau'r ddaear fawr.

296. Noddfa i'r gwan.—M. 4.

CYFODI wnaf, medd Duw, o blaid
Ochenaid y tylodion:
I'r enaid llesg a gwan sy'n gaeth,
Rho'f iechydwriaeth dirion.

Byth nid anghofir y tylawd,
Mae tirion frawd a'i cyfyd;
Fe dry ei obaith yn fwynhad,
Yn nghanol gwlad y gwynfyd.

Craig fy nghadernid yw Duw Ion,
Mewn ing gofidion angau,
I'm hachub daw, rhag braw mewn brys,
O'm dyrus orthrymderau.

297. Gwahoddiad y farn.—M. 22.

CYFODWCH eich penau
A deuwch gyfiawnion,
I mewn i'r trigfanau
Ddymunodd eich calon,
Dewch, gwelwch ryfeddol
Ddirgelwch duwioldeb,
A gwelwch y lwynau
Wregyswyd mewn preseb
A gwelwch y cefn
A arddwyd yn gwysau,
A'r pen tyner santaidd
Goronwyd â phigau.

Dewch, gwelwch y dwylaw
A'r traed fu dan hoelion,
A gwelwch lle gwânodd
Y bicell fy nghalon,
Cyfodwch eich penau
Daeth i chwi bob urddas,
Derbyniwch y goron,
Meddiennwch y deyrnas,
Dewch adref i'r gwynfyd
Dan ysgwyd eich palmwydd,
Dechreuwch yr anthem
A bery'n dragywydd.

298. Tad amddifaid.—M. 34.

CYFRANWR, Rhoddwr hael,
Wrth raid i'r gweiniaid gwael,
Yw'r Arglwydd Ior,
O'i drysor mawr didraul;
Tad addfwyn i'r amddifaid ryw,
A Barnwr gweddwon union yw,
Cynnorthwy hawdd i dlodion,
Yn dirion ydyw Duw.

299. Udgorn Efengyl.—M. 10.

CYMMER aden, fwyn efengyl,
Hed dros wyneb daear lawr,
Swnia'th udgorn clir nes clywo
Pawb o deulu'r golled fawr;
D'wed am rinwedd Balm Gilead,
A'r Meddygwr yno sydd,
Golch yn wyn y rhai aflanaf,
Dwg y caethion oll yn rhydd.

300. Bedydd.—M. 5.

CYMMERWYD gynt gan Fab y dyn,
Blant bychain yn ei freichiau'i hun;
"Ac na waharddwch hwynt, (medd ef,)
Can's eiddynt hwy yw teyrnas nef."

O'n bodd dilynwn ninnau'n awr
Esiampl gu yr Iesu mawr;
Pwy gauai ddrws ei eglwys ef,
Ac yntau'n agor drws y nef?

301. Tymhor ffrwythlawn.—M. 4.

CYMYLAU fel afonydd mawr
Ddiferant 'lawr fendithion,
Wrth arch ein Duw i ddwfrhau
A lloni'r manau sychion.

Dros iraidd wyrddion gefnau'r maes
Yr egin llaes a darddant,
A'r ddaear rydd ei chnwd yn llon,
A'r gweithwyr gweinion ganant.

Mae'r bryniau'n llawn o ddefaid mân,
A'r bugail da 'n dy foli;
Coroni'n hael yr wyt fel hyn
Y flwyddyn â'th ddaioni.

302. Defnyddio'r adeg.—M. 10.

CYN bo'r traed yn dechreu oeri,
Cyn bo angeu llym yn d'od,
Cyn bo'r tafod wedi methu
Canu dim o'th deilwng glod;

Cyn bo'r llygaid wedi t'w'llu
Fel nad allant chwilio'r gair,
Arglwydd dangos werth y Ceidwad
Welwyd gynt ar liniau Mair.

303. Mawl Plentyn.—M. 4.

Cynnygaf ganu clod yn awr
I enw mawr Jehofa;
Er mor anmherffaith yw fy nghais,
Un isel lais ni lysa.

Moliannaf fi tra byddwyf byw,
Ddaioni Duw'r dyddanwch;
Ei roddion im' bob dydd a nos
Sy'n dangos pob hawddgarwch.

Dan ofal doeth fy nefol Dad
O'i ryfedd rad, yr ydwyf;
Ac aros yn ei dawel hedd
Hyd borth y bedd y byddwyf.

304. Hûn y bedd.—M. 19.

Cyn im' i'r bedd
Yn rhyfedd gael fy rhoi,
Tra byddwyf byw,
Gwnaed Duw fy mharotoi;
Nid yw ond hûn,
I bob credadyn gwan;
O'i oeraidd gôl,
Daw'n nerthol iach i'r lan.

Adgodiad gwych,
Llon harddwych, mewn llawn hedd,
Gaiff plant Duw Ion,
Er bod yn eigion bedd:
Ar wedd dra llon,
Eu tirion Briod—mwy
Nid ofnant fedd,
Na chledd, na haint, na chlwy'.

305. Crist mewn gwisg o gnawd.—M. 5.

Cyn syrthio Satan 'roedd fy Ner
Yn arwain llu'r boreuol ser;
Pwy draetha ei genedlaeth faith,
Na nifer ei flynyddoedd 'chwaith?

Ond wele gado'r nef a wnaeth,
I fyw mewn clai, i'r ddaear daeth;
I gyfeillachu â phryfaid tlawd,
Mewn gwisg fel hwy o egwan gnawd.

A gwel'd ei bryd wnaeth dynol-ryw,
Mab unig y tragwyddol Dduw:
Llawn o wirionedd, gras, a hedd,
Llewyrchai'r Duwdod yn ei wedd.

306. Myfyrdod a gweddi.—M. 4.

Cyn tori'r wawr, Duw, arnat ti
Gweddïaf fi mewn hiraeth;
Myfyrio'n ddwys y nos a wnaf,
A'r dydd caf chwilio'th gyfraith.

Saith waith y coda'i nwylaw'r dydd,
Rho'f ddiolch prudd i'th enw;
Mawl mynych mae'th ddaioni di
Oddiwrthyf fi yn alw.

307. Adgyfodiad y Saint.—M. 4.

Cyssegra ni â'th Ysbryd Glân,
Dod dduwiol anian ynom,
Ac yn dy wyddfod, ar dy wedd,
Tu draw i'r bedd y byddom.

Pan bydro'r corff yn lludw mân
Tan oerllyd geulan angau,
Ei ranau oll a wel yr Ion,
Ni chyll 'run o'i ronynau.

O pa mor wynfydedig fydd
Y rhai mewn ffydd a hunant;
A nerth addurnir hwynt yn ddwys
I gynnal pwys gogoniant.

308. YR AIL RAN.

Er myn'd i lawr yn wael eu gwedd,
I grŷd y bedd llygredig,
Mewn undeb pur â Christ eu Pen
Cânt godi'n fendigedig.

Y corff a'r enaid, un a fydd
Y ddau dragywydd gydmar;
Mewn undeb tawel byddant hwy,
Nid angau mwy a'u hysgar.

Mor ogoneddus fydd y saint
Yn meddu'r fraint o newydd,
A gollwyd gynt yn Eden ardd,
Sef delw hardd eu Harglwydd.

309. Dadleuwr llwyddiannus.—M. 10.

Cysur cryf i'm henaid ydyw
Fod Eiriolwr gyda'r Tad;
Dros droseddwyr fry yn dadlu
Annherfynol werth ei waed:
Grym eiriolaeth Iesu drosof,
Ddwg fy enaid eiddil gwan,
Fry uwch cyrhaedd fy ngelynion,
Yn ddiangol yn y man.

Dadleu mae, nid haeddiant dynol,
Ond ei haeddiant llawn ei hun,
Dros bechadur euog aflan,
Dros y gwaelaf, wanaf un:
Arglwydd, dangos fod i'm henaid
Ran yn dy eiriolaeth gref;
Ac, er amled fy ngelynion,
Minnau ddof i deyrnas nef.

310. Derbyniad Crist i'r nef.—M. 11.

Chwi ddrysau tragwyddol, dyrchefwch,
A'r pyrth ymagorwch i gyd;
I dderbyn hardd Frenin gogoniant,
Gorphenodd ei waith yn y byd:
Pwy, pwy ydyw Brenin gogoniant,
Sydd heddyw yn dyfod i mewn?
Yr Arglwydd sydd gadarn mewn rhyfel,
Ennillodd y goncwest yn llawn.

Mae'n ymdaith o Edom a Bosra,
Mil harddach nâ thòriad y wawr,
Ein Iesu bendigaid ni ydyw,
Ei gariad a'i allu sydd fawr:
Ar unwaith tynhawyd y tânau,
Ac unol godasant eu llef—
O byrth oll dyrchefwch eich penau,
D'od adre' mae Brenin y nef.

311. Mawl yn Sïon.—M. 6.

Chwi feibion cedyrn dowch,
Mawl rho'wch i Dduw yn rhwydd,
Mewn gogoneddus nerth
Yn brydferth yn ei wydd,
O fewn ei dŷ, yn gu ar gân,
Rho'wch union glod i'w enw glân.

Mae yno'n Frenin hedd,
Yn eistedd yn ei barch,
Cyfranu bendith wna
Ar drugareddfa'r Arch;
Maddeu yw iaith ei gyfraith gu
Er mwyn ei Fab, tan hoelion fu.

312. Esgyniad Crist.—M. 5.

Chwi fydoedd dysglaer llawenhewch,
Gwel'd Brenin y gogoniant cewch;
Brenin gogoniant! pwy yw ef?
Ior cadarn yw, Mab Duw o'r nef.

O nefol byrth! yn glau datglowch,
Ffordd ëangrydd i'nHarglwydd rho'wch:
Gorchfygu wnaeth, a llwythog yw
O yspail fawr ei goncwest wiw.

Cododd o'r bedd, myn'd mae'n mlaen
I agor pyrth y nefoedd draw; [llaw,
Er cael i'w saint drigfanau gwiw,
Yn agos ato Ef a'u Duw.

313. Gwobr gweision Crist.—M. 4.

Chwi ffyddlon weithwyr cywir cu,
Ar faes yr Iesu grasol;
Yn wrol dygwch wres y dydd,
O blaid y ffydd iachusol.

Ymdrechwch bawb, tra fyddoch byw,
Yn achos Duw'n wastadol;
Cewch wobrwy deg pan ddarffo'r dydd,
A mawr lawenydd nefol.

Yn lle gorthrymder, gwarth, a chur,
Cewch berffaith bur hapusrwydd,
A gorphwys fry, dros fyth ar frys
Yn nghlodfawr lys eich Harglwydd.

314. Pererin trallodus.—M. 10.

Chwilio bûm y greadigaeth
Eang trwyddi yn mhob man,
Ceisio gwrthddrych i roi gobaith
Ac ymddiried f'enaid gwan,
Wedi troi dalenau Anian
Ol a gwrthol oll i gyd,
Ni chanfyddais, naddo'n unman,
Wrthddrych teilwng o fy mryd.

Chwilio 'mhlith y dorf angylaidd,
Gofyn, A oedd yno un,
Gydymdeimlai yn garuaidd
A phechadur gwael ei lun?
Nac oes yma, ebai Gabriel,
Nac oes un o honom ni,
Gydymdeimla ag adyn isel,
Brwnt, annheilwng, fel tydi.

Hawdd yw meddwl erbyn hyny,
I'm teimladau doddi 'nghyd,
Ac i'm calon wirion oeri,
Glynai'm tafod, aeth yn fud;
Collwn ddagrau nes dadwino'm
Llygaid, gan ofidiau'r fron;
Tra b'wy'n berchen enaid, cofio
Byddaf am yr ennyd hon.

315. Yr Ail Ran.

Dyfrllyd olwg dan fy ngwasgfa,
Dröais ar yr orsedd wen,
Gwelwn mewn cyfryngol wisgoedd
Y Gwr ogwyddodd droswy'i ben;
Dacw fe, eb f'enaid gwirion,
Medraf ddarllen ar ei wedd,
Fod maddeuant yn ei galon
I bechadur brwnt—a hedd.

Yna nesais at ei orsedd,
Ac ymdreiglais at ei draed,
A dadleuais am drugaredd,
Haeddiant ei rinweddol waed:
Meddwn, Mi dywallta'm calon,
Mi agora'm hysbryd briw,
A datguddiaf fy archollion,
Pa'm yr ofnaf,—Iesu yw.

316. Y Drydedd Ran.

Ac wrth i mi agor iddo
Fynwes aflan ffiaidd iawn,
Yntau'n agor i'm cofleidio,
Fynwes oedd o ras yn llawn;
Rhoi y dwylaw fu dan hoelion,
Wnai i gynnal pwys fy mhen,
Profai'm henaid o gysuron
Fwy na llon'd y nefoedd wen!

Bellach caiff yr oll a feddwyf,
Gorff ac ysbryd, teilwng yw,
Ar y ddaear tra'r anadlwyf,
Er ei glod y byddwyf byw:
'Nol myn'd adref canaf iddo
Byth o flaen yr orseddfainc,
Nes bo engyl yn rhoi heibio
Ganu, i wrando'm melus gainc.

317. Urddiad gweinidog.—M. 5.

Chwi wylwyr Sïon oll deffrowch,
A chlust yn ostyngedig rhowch;
Derbyniwch 'nawr, o enau Duw,
Eich siars cyhoeddus—pwysfawr yw.

Nid achos yw o fychan bwys,
Gwaith Bugail ofyn ofal dwys;

Gwaith lanwai galon angel cry',
Llawn waith i ddwylaw'n Prynwr fu.

Gwylio 'rych dros eneidiau drud,
Er mwyn pa rai daeth Crist i'r byd,
Eneidiau byth a orfydd fyw
Dan wenau neu ddigofaint Duw.

318. YR AIL RAN.

I'R frawdle fawr ar frys mae'n taith,
I roddi cyfrif am ein gwaith;
Os ar ein beiau creffi di,
Pa fodd, O Dduw, y safwn ni?

O caed cenadon Iesu gwiw
Wel'd mai eu Ceidwad hwythau yw,
A gwylia dros eu henaid hwy,
Fel gwyliont dros eu praidd yn fwy.

319. Urddiad gweinidog.—M. 4.

CHWYCHWI sy'n cael fath bwysig swydd
Oddiwrth yr Arglwydd nefol;
Yn ol ei arch, eich urddo wnair
I draethu ei air achubol.

Cyflawnwch gyda sêl yn rhwydd,
Eich santaidd swydd heb ballu;
Mynegwch mewn ffyddlondeb pur,
Holl air eich Meistr Iesu.

Ei gariad f'o i'ch cymhell chwi
I godi ei enw santaidd;
Pregethwch, nid am elw'r byd,
Nac hefyd am anrhydedd.

Mawrhewch bob rhan o'ch uchel swydd,
Fel rhai yn ngwydd ei Fawredd,
Na thraethwch yn ei enw f'o
Ddim ond a fo'n wirionedd.

320. Dyddanwch crefydd.—M. 4.

CHWYCHWI sy'n caru'r Arglwydd dewch,
A llawenhewch yn santaidd:
Cydunwn mewn caniadau pur,
Gan amgylchynu'r orsedd.

Na adewch ddim blinder yma'ch cwrdd,
O'ch meddwl ffwrdd ef gyrwch;
Nid dyben crefydd yw'n tristâu,
Na gwneyd yn llai'n dyddanwch.

Nacäed y rhei'ny ganu clod,
Na adnabu 'rioed mo'r Arglwydd;
Ond caredigion Brenin nef,
Cyd-folwch ef yn hylwydd.

321. Rhinwedd afon gras.—M. 8.

DACW gariad fel yr afon,
Dacw heddwch fel y llif,
Wedi cànu fel yr eira
Frodyr anwyl fwy nâ rhif;
Gyda hwy, caiff fod mwy,
F'enaid gwan, heb friw na chlwy'.

Dacw'r ffynnon wedi'i hagor,
A ddysgwyliodd llawer oes,
Yn llawn lifo fel y grisial,
O'i ddwys glwyfau ar y groes;
Dwfr a gwaed rydd iachad,
I'r pechadur mwyaf gaed.

322. Cariad y nefoedd.—M. 39.

DACW gariad nefoedd wen,
Yn dysgleirio ar y pren;
Dacw daledigaeth lawn,
I ofynion trymion iawn:
Iesu gollodd ddwyfol waed,
Minnau gafodd wir iachâd;
Wele'r llwybr heddyw'n glir
Tua'r Ganaan hyfryd dir.

323. Cenllif o gysuron.—M. 24.

DACW'R ffynnon bur hawddgara',
A gànodd filoedd fel yr eira;
Dacw'r nant, a dacw'r afon
Sydd yn genllif o gysuron;
Dacw'r dwr mi gwympaf iddo,
A doed i mi fel y delo;
Bellach mwy, treiddiaf trwy,
Ni saif yn hwy ofnau,
Mwy yw'r Hwn fu'n dyoddef clwyfau
Nag aneirif faint fy meiau.

324. Golchi'n wyn.—M. 49.

DACW'R ffynnon fawr a gaed,
Dyfroedd gloywon pur a gwaed,
Darddodd allan ar y bryn,
Ylch fy enaid oll yn wyn
Dyma'm nerth i fyn'd yn mlaen,
Dyma sylfaen bur fy nghân.

325. Iau cerydd.—M. 5.

DAD, molaf dy law dirion di,
Mor ysgafn fu dy gerydd gwiw;
Tynerodd fy nghydwybod i,
A'm henaid ddug yn ol at Dduw.

Y ddeddf a ddaeth o'th enau cu,
A lona fy serchiadau'n well,
Na'r holl drysorau maith o aur
Y rhai a gair mewn gwledydd pell.

Da yw i'm ddwyn yr iau, Duw mad,
Heb hon fy malchder codi fỳn;
Da i mi gael ceryddon Tad,
I ddysgu deddfau'n well drwy hyn.

326. Myrdd yn wyn.—M. 26.

DAETH allan ddwr a gwaed;
Yn rhyfedd rad i ni;
Ni chollwyd dim o'r trysor gaed,
Ar Galfari;
Fe olchir myrdd yn wyn,
Oll fel yr eira mân;
Hardd fydd y dorf ddirif pryd hyn
Yn berffaith lân.

Anturiaf bellach mwy
Er cymmaint grym fy mai,

Trwy'r haeddiant dwyfol sy'n ei glwy
Heb lwfrhau:
O flaen yr orsedd wen
Yn ŵylaidd âf yn mlaen;
Gan gredu gall Tywysog nen
Fy ngwneyd yn lân.

327. Adgyfodiad Iesu.—M. 37.

Daeth Crist o'r bedd i fynu'n fyw
Er marwol friw, O canwn!
Yn mysg y meirw mwy nid yw
Ein bywyd ydyw, canwn!
Mae pob awdurdod ganddo ef
Drwy'r ddae'r a'r nef, O canwn!
Ei fraich achubol sydd yn gref
Molianwn ef, a chanwn.

Nid allodd angeu'i ddal yn gaeth
Yn rhydd y daeth, O canwn,
Y bedd ac uffern 'speilio wnaeth,
Ei fuddugoliaeth folwn;
Mae agoriadau rhai'n i gyd
'Nawr ganddo hefyd, canwn;
Ein Priod yw Iachawdwr byd,
Gall gadw'n bywyd, canwn.

328. Blwyddyn y Caethion.—M. 11.

Daeth blwyddyn i'r caethion i ganu,
Doed meibion y gaethglud yn nghyd;
Ni seiniwn drwy'r nefoedd a'r ddaear,
Ogoniant i Brynwr y byd;
Mae Brenin y nef yn y fyddin,
Gwae Satan a'i filwyr yn awr;
Trugaredd a hedd sy'n teyrnasu,
Gogoniant, drwy'r nefoedd a'r llawr.

329. Bore Jubili.—M. 13.

Daeth bore i'r adar mân,
Ar dân i foli Duw,
Yn awr mae'r haul a'r hyfryd hîn,
Ar rai o'r werin wiw:
Fe ddaeth y Jubili
A braf yw'n bri a'n braint,
Cawn fyned adref ar fyr dro,
I seinio gyda'r saint.

Nis gallwn golli'r ffordd,
Mae niwl y dydd o'n blaen;
Trwy'r niwlog nos, er para'n hir,
Cawn golofn glir o dân:
Fe arwain Iesu cu,
Ei deulu yn ei law,
Trwy'r maith sychedig anial dir
I'r Ganaan bur sydd draw.

330. Trysorau pur.—M. 33.

Daeth cyfoeth pur a gwerthfawr iawn,
Uwch holl drysorau'r llawr;
I ran trueiniaid tlodion gwael
Drwy haeddiant Iesu mawr:
Boed tragwyddol barch a moliant,
Byth i Frenin y gogoniant,
Ar efengyl nef boed llwyddiant,
I ddwyn heddwch, i ddwyn heddwch,
I derfynau eitha'r byd.

Ei gariad lifodd ar y pren,
Fel moroedd mawr didrai,
Ac fe bwrcasodd yno hedd
Tragwyddol i barhau;
Boed tragwyddol, &c. &c.

331. Ffrwyth yr Arfaeth.—M. 28.

Daeth ffrydiau melus iawn,
Yn llawn fel lli';
O ffrwyth yr arfaeth fawr,
Yn awr i ni:
Hen iechydwriaeth glir,
Aeth dros y crindir cras,
Bendithion ammod hedd,
O ryfedd ras!

Fe gymmerth Iesu pur
Ein natur ni;
Pwrcasodd ef i'w saint,
Bob braint a bri;
Gadawai'r nef o'i fodd,
Cymmerodd agwedd gwas,
Ffrwyth y cyfammod hedd,
O ryfedd ras!

332. Ffynnon o hedd.—M. 6.

Daeth ffynnon fawr ei rhin,
O ddwyfol win a llaeth,
O'i ryfedd haeddiant ef,
Nid oes drwy'r nef ei bath:
Dewch bawb yn nghyd i wel'd y fraint,
A ga'dd y lleiaf o'r holl saint.

O ffynnon fawr o hedd!
O anchwiliadwy fôr!
Mae'n cynnwys ynddo'i hun,
Ryw annherfynol stôr:
Bydd miloedd maith yn canu'n llon,
Dragwyddol anthem ger ei fron.

333. Ffynnon Calfaria.—M. 3.

Daeth ffynnon goch o ddwyfol waed
O glwyfau calon friw;
All gànn'n wyn o'r pen i'r traed
Yr adyn dua'i liw.

Gwnaeth hon i'r lleidr seinio cân,
Pan gynt dan farwol glwyf:
A gall fy ngolchi innau'n lân,
Er mai'r aflanaf wyf.

Er pan y teimlais nefol rin
Y ffrwd risialaidd hon,
Dylifo mae, fel balm neu win,
I wella'm clwyfus fron.

334. Goludoedd gras.—M. 34.

Daeth Iesu'r Sylwedd mawr,
O'i uchel lys i lawr;
Anfeidrol stôr
Sy'n agor ganddo'n awr:
O deuwch blant y newyn dû,

I chwi mae rhad wahoddiad hy',
Gadewch y cibau gweigion,
Mae digon yn ei dŷ.

Er pechu yn erbyn Duw,
Llawn o drugaredd yw,
Pan godom gri,
Mewn c'ledi fe a'n clyw;
Moliannwn yr anfeidrol Fod,
Am bob daioni sydd yn dod,
Doed dynion i'w ryfeddu,
Mae yn rhyglyddu'r clod.

335. Haeddiant Calfaria.—M. 9.

Daeth imi iechydwriaeth,
Trwy eithaf chwys a gwaed,
Mae'n codi pechaduriaid,
O'r dyfnder ar eu traed;
'Daf byth i 'mofyn haeddiant,
Trwy'r nef na'r ddaear lawr,
Ond haeddiant pen Calfaria,
Rhinweddau'r Aberth mawr.

Pan oedd euogrwydd creulon
Yn llosgi fel y tân,
A Satan yntau'n rhifo
Fy meiau fawr a mân:
Anfeidrol haeddiant Iesu,
A wnaeth i'r glorian droi,
A'i nefol ymddangosiad,
Wnaeth i'm gelynion ffoi.

336. Perl y nef.—M. 1.

Daeth perl o nef y nef
I blith trigolion llawr:
Mor werthfawr yw! ei gael a fydd
I fyrdd yn elw mawr.

Arteithiau Iesu Grist
A'i glwyfau dyfnion sydd,
Trwy rinwedd maith yr Iawn a rodd,
Yn dwyn y caeth yn rhydd.

Drwy boen y goron ddrain
A'r bicell fain, caiff myrdd
Hardd wisgo byth y goron aur,
A chario'r palmydd gwyrdd.

337. Sylwedd y cysgodau.—M. 10.

Daeth y ddysglaer heulwen olau,
Cilio mae'r cysgodau i gyd;
Cawsom wrthddrych ffydd y tadau,
Sylwedd holl aberthau'r byd:
Cawsom Geidwad ein heneidiau,
Testun per ganiadau'r nef:
Cawsom heddyw y Messia;—
Mawl, hosanna iddo ef.

338. Ar farwolaeth plentyn.—M. 4.

Daeth yma i'r byd i wel'd ein gwae,
Lle mae gorthrymder garw;
Ond trodd ei egwein lygaid draw,
Gan godi'i law, a marw.

Ni rydd un gelyn iddo glwy',
Nis gellir mwy ei faglu;
Ni welir ef yn dewis rhan
Gyda'r annuwiol deulu.

Ni chaiff y tad na'r fam byth mwy
Boen, trwy ei wel'd yn pechu;
Nac ofni iddo yn ei oes,
Ddwyn croes ar achos Iesu.

Fe darddodd ffynnon ar y bryn
I'w gànu'n wyn, a chymmwys
I lanw lle yn mhlith y llu,
Sy'n canu yn Mharadwys.

339. Daeth y Messia.—M. 44.

Daeth y Messia,
Yr Iesu, Gwaredwr y byd;
Cafwyd y tragwyddol Air
Yn y preseb gyda Mair,
Ac addolodd angylion i gyd.

Teithiodd y doethion,
I weled eu Ceidwad mewn cnawd;
Pan y gwelsant Frenin nef,
Offrymasant iddo ef,
O'u trysorau—anrhegion a wnawd.

Ein Meichiau ni oedd,
A threngodd i'r euog gael byw;
Do, gogwyddodd ef ei ben,
Pan oedd ar y garw bren,
Ein Cynnaliwr a'n Ceidwad byth yw.

340. Iau ieuenctyd.—M. 4.

Da iawn i wr yw dwyn yr iau,
Ac ufyddhau yn forau,
A chanlyn Crist gan godi'r groes
Yn ngrym ei oes a'i ddyddiau.

Gan fod y nos yn agosâu,
A'r oes mor frau a phrysur,
Paham y safwn yn ddigudd
Ar hyd y dydd yn segur.

Ffyrdd crefydd sydd yn hyfryd iawn,
A'i llwybrau'n llawn o heddwch,
A'n tywys wnant trwy'r anial dir
I wlad y gwir ddedwyddwch.

341. Grym yr addewid.—M. 8.

Da i mi fod yr addewid,
Wedi 'i rhoddi gan fy Nuw:
A bod gair o enau'r Brenin,
Uwch gelynion o bob rhyw:
Y mae llef, bur y nef,
Yn cyhoeddi 'i haeddiant ef.

Minnau'r gwanaf o'r pererinion,
Yn y diwedd r'of fy nhroed,
Ar y Graig sydd uwch nâ'r moroedd
Y gadarnaf fu erioed:
Ceidw hon, ar bob tôn,
Ofnau drwg o tan fy mron.

342. Amser cynhauaf.—M. 18.

DAIONUS waith yr Arglwydd
A welwyd ar y meusydd;
Ac yn yr hyfryd hafaidd hin
A gaed i drin y ffrwythydd;
Mae ei haelioni'n eglur,
Yn holl gysuron natur,
Yn dweyd o hyd mai da yw Duw,
Pa fodd na chlyw pechadur!

O cydnabyddwn ninnau
Fod rhyw neillduol rwymau,
O ddiolchgarwch ar ein gwlad
I Dad y trugareddau:
Mae'r ymweliadau hawddgar
A gaed o'r nef a'r ddaear
Yn dweyd, Mae'n deilwng iawn i Dduw
Gael dynol-ryw'n ddiolchgar.

343. Dagrau'r Cristion.—M. 7.

DAGRAU'r Cristion yw y perlau
Goreu geir gan Dduw ei hun;
Mwy eu gwerth nâ phob trysorau,
Rhed i'w derbyn bob yr un;
Mewn costrelau,
Maent yn nghadw ganddo ef.

Eu cymmysgu wneir â'r dagrau
Gynt a gollai Iesu Grist,
Pan yr wylodd dros dref Salem,
O dosturi calon drist;
Cadw'r dagrau,
Er eu gwel'd o hyd mae'r Ion.

Drwy ei ddagrau gwel y Cristion
Ambell dro ei goron wiw,
Ond fe'i cenfydd yn eglurach,
Pan eu sychir gan ei Dduw;
Dywed wrtho,
Paid ag wylo, wele fi.

344. Dwyn yr iau.—M. 25.

DA i wr yw dwyn yr iau
Yn ei ie'nctyd;
Canlyn Iesu yn ddiau
Sydd yn hyfryd:
Credu ei dystiolaeth Ef,
Ac ymostwng
Dan driniaethau Brenin nef,
Heb ymollwng.

Da i wr yn moreu'i oes,
Yw gwas'naethu
Iesu Grist fu ar y groes
Gynt yn gwaedu;
Rhoi ei ysgwydd dan ei arch
O fryd calon;
Glynu wrtho gyda pharch,
Byth yn ffyddlon.

345. Concwest drwy iawn Crist.—M. 17.

DAL fi,
Er fy ngelynion aml ri',
A'm golwg tua Chalfari,
A gwrando gri fy enaid gwan,
Er gorthrymderau o bob rhyw,
Trwy allu Duw y dof i'r lan.

Dy wedd
A leinw f'enaid llesg â hedd,
Nes llyncu ofnau caeth y bedd;
A dyma wledd i enaid trist,
Cael teimlo rhin ei farwol loes,
Yn ngolwg croes fy Mhrynwr Crist.

346. Llef am gynnaliaeth.—M. 5.

DAL fi, fy Nuw, dal fi i'r lan,
Dal fi'n enwedig pan b'wy'n wan;
Nes myn'd yn lân—dal fi â'th ras—
O'r byd sy'n llawn o bechod cas.

Gwna fi fel halen drwy dy ras,
Yn wyn, yn beraidd iawn ei flas;
Yn foddion yn dy law o hyd,
I dynu'r aflas oddiar y byd.

347. Cysuron y gair.—M. 7.

DAL fy llygaid, dal heb wyro,
Ar dy fwyn addewid wir;
Dal fy nhraed heb gynnyg ysgog
Allan o dy gyfraith bur:
Boed dy ddeddfau, &c.
I mi'n gysur ac yn hedd.

Hyny, Arglwydd, daer erfyniaf,
Treulio'm dyddiau hyd y bedd,
I dy garu, a'th ryfeddu,
Ac ymborthi ar dy hedd:
Boed dy ddeddfau, &c.
I mi'n gysur ac yn hedd.

348. Iawn y Cyfryngwr.—M. 3.

DAN bwys ein bai yn dyoddef poen,
Bu'r Oen ar Galfari;
Gwnaeth i gyfiawnder dan ei gur,
Iawn yn ein natur ni.

A thrwy yr Iawn mae'r Ysbryd Glân
Yn puro'r aflan rai;
Trwy'r Iawn bydd myrdd ar ben eu taith
Yn berffaith heb un bai.

Ar sail yr Iawn mae Crist ei hun
Yn eiriol fry'n y nef;
Wel dyma Iawn na thraetha neb
Ei anfeidroldeb ef.

349. Wrth ymadael.—M. 7.

DAN dy fendith wrth ymadael,
Y dymunem Arglwydd fod,
Llona'n calon â dy gariad,
Llanw'n genau â dy glod,
Dy dangnefedd,
Dyro i ni yn barhaus.

Am efengyl gras a'i breintiau
Rhoddwn ddiolch byth i ti:
Caffer addfed ffrwythau'r Ysbryd
Yn lliosog arnom ni;

I'r gwirionedd,
Gwna ni'n ffyddlawn tra b'om byw.

350. Cario'r groes.—M. 4.

DAN gario'r groes yn mlaen yr awn
I'r wlad sy'n llawn hyfrydwch;
Cawn yno daflu'r groes i ffwrdd,
A siriol gwrdd mewn heddwch.

Cyd-deimlo mae ein Ceidwad cu
A'r rhai sy dani'n griddfan,
Fe gariodd ef ei groes cyn hyn
I ben y bryn ei hunan.

Ac yno'i fywyd pur a roes
Ar bren y groes yn bridwerth:
O'i wirfodd marw wnaeth ei hun
Dros waelaf ddyn yn aberth.

Os croesau fyrdd a rhwystrau sy'
Yn awr i deulu Sïon,
Pan dderfydd dyddiau'r freuol oes,
Fe dry y groes yn goron.

351. Anthem Buddugoliaeth.—M. 21.

DANGOS, Iesu, i mi'n olau,
Fod fy mhechod wedi ei faddau;
A rho nerth i wir goncwero,
Pob rhyw elyn sy'n fy mlino.

Blwyddau hirion o ryfela,
Yn oruchafiaeth a derfyna;
Fe dry'r galar am y beiau,
Yn Hosana, ond eu maddau.

Fe ddaw'r dydd y caf fi ganu,
Concwest bai oedd yn fy maeddu;
Halaluia nefol hyfryd,
Diwedd pechu, dechreu gwynfyd.

352. Deddf ac efengyl.—M. 9.

DAN hen gyfammod Sinai
'Does le i 'difarhâu;
Rhaid marw heb drugaredd,
Neu berffaith ufyddhâu;
Troseddwr mawr wyf finnau,
Ond dan gyfammod gwell;
Ceir taflu'r holl anwiredd,
I fôr o anghof pell.

Efengyl y Tangnefedd—
Fy enaid tlawd ni chais
Byth un hyfrydwch arall,
Ond gwrando'i hyfryd lais;
Caed heddwch i bechadur,
Drwy aberth mawr y groes;
Hyn fydd fy holl orfoledd,
Tra pery dyddiau f'oes.

353. Pwyso ar Iesu.—M. 3.

DARFYDDED dydd, darfydded nos,
I'm bryd fel mynud awr;
Tra b'wyf yn tawel roddi'm mhwys
Ar fynwes f'Arglwydd mawr.

Dymunwn yma dreulio f'oes,
O foreu hyd brydnawn;
I wylo dagrau cariad pur,
Yn ffrydiau melus iawn.

Boed dyoddefiadau chwerw'r groes,
Fel olew i'm iachau:
Griddfanau dyfnion angeu loes
A wnant im' lawenhau.

354. Pleserau'r byd.—M. 3.

DARFYDDED son am bleser mwy,
Yn agos ac yn mhell;
Fel gallwyf yfed dyfroedd pur,
O ffynnon lawer gwell.

O cau fy llygaid rhag im' wel'd
Pleserau gwael y byd,
Ac i mi wyro byth oddiar
Dy lwybrau gwerthfawr drud.

Byth gorfoledda f'enaid mwy,
Dy briod yw dy Dduw;
Mwy ydyw rhinwedd marwol glwy',
Nâ phechod o un rhyw.

355. Iechydwriaeth.—M. 29.

DARLUNIO'r iechydwriaeth lawn,
Nid all yr angel goreu'i ddawn,
Mae oll yn ddoeth, mae oll yn iawn,
O drefniad dwyfol Dri;
Fe gwyd drueiniaid rif y gwlith,
Fe'u gwna'n offeiriaid i Dduw byth,
Cânt ganu'r delyn yn ddilyth,
Mae'n addas iawn i ni.

O hyfryd, hyfryd fydd y gwaith,
Moliannu Duw mewn nefol iaith,
Am oesau tragwyddoldeb maith,
Am iechydwriaeth rad:
Cydganu â'r angylaidd lu,
Yn mhlith yr holl gyfiawnion fry,
A gweled wyneb Iesu cu,
A chanu am ei waed.

356. Gorphwysfa y bedd.—M. 22.

DAW diwedd yn fuan
Ar droion yr yrfa,
'Rwy'n nesu'n feunyddiol
I dŷ fy ngorphwysfa;
I orwedd i'r beddrod
Yn ebrwydd rhaid myned,
Fy nghorff a falurir,
Fe'i hysir gan bryfed;
Brawychu mae 'nghalon
Dan ddwŷsion deimladau,
Wrth gofio mor fuan
Daw diwedd fy nyddiau.

Daw'r seintiau o'r beddrod
Er tyned ei gloiau,
Eu Hiesu galluog
Sy'n cadw'r allweddau;
Nac ofna fy enaid,
Dy gorff ga' orphwyso

Mewn gwely profedig
Sydd wedi'i bereiddio:
Daw boreu hyfrydol,
Cei nefol adgodiad,
Ond gwneuthur dy loches
Yn mynwes dy Geidwad.

357. Rhyddhad carcharorion.—M. 17.

Daw dydd
I'r carcharorion fyn'd yn rhydd
O'r holl gadwynau'n dynion sydd;
Mor felus fydd eu caniad hwy;
Am ddyoddefaint addfwyn Oen,
Bydd hyfryd son heb ddarfod mwy.

Daw, daw,
Yr hyfryd foreu, mae gerllaw,
Bydd pawb â'i delyn yn ei law,
Heb ofn na braw, yn nghwmni'r Oen,
Yn canu i dragwyddoldeb maith,
Ar ben y daith, heb friw na phoen.

358. Gwawr yr adgyfodiad.—M. 9.

Daw dydd o brysur bwyso
Ar grefydd cyn bo hir;
Ceir gwel'd pwy sydd â sylwedd,
A phwy sydd heb y gwir;
O Dduw, rho im' adnabod
Ar fy ysbryd ôl dy law,
Can's dyna'r unig ddelw
Arddelir ddydd a ddaw.

Bydd myrdd o ryfeddodau
Ar doriad boreu wawr,—
Pan ddelo plant y tònau
Yn iach o'r cystudd mawr;
Oll yn eu gynau gwynion,
Ac ar eu newydd wedd,
Yn debyg i eu Harglwydd,
Yn d'od i'r lan o'r bedd.

359. Teyrnas y Gareg.—M. 11.

Daw miloedd ar ddarfod am danynt,
O hen wlad Assyria cyn hir,
Preswylwyr yr Aifft ac Ethiopia,
At Grist y Gwaredwr yn wir:
Cyflawnir y proffwydoliaethau,
Daw'r holl addewidion i ben,
Fe dynir myrddiynau at Iesu,
Ddyrchafwyd rhwng daear a nen.

Yr holl freniniaethau a dreulir,
A'r ddelw falurir i lawr,
Y gareg a leinw'r holl wledydd,
Ei chynnydd fel mynydd fydd mawr;
Ceir gweled cenedloedd y ddaear,
Yn dyfod o bedwar cwr byd,
Ymofyn y ffordd tua Sïon,
Y bydd ei drigolion i gyd.

360. Dychweliad Paganiaid.—M. 9.

Daw miloedd maith o'r Dwyrain,
A nifer fawr o'r De,
Gan waeddu, Arglwydd maddeu,
Er mwyn ei angeu e;
A'r dagrau ar eu gruddiau,
Wrth gofio angeu'r groes;
Yn canu'n beraidd ryfedd
Am rinwedd marwol loes.

361. Plant y gaethglud.—M. 36.

Daw plant y gaethglud adre'
Cyn bo hir, cyn bo hir,
I ganu eu telynau,—Cyn, &c.
Eu rhwymau ânt yn rhyddion,
Ca' pob credadyn goron,
A gwisgo'r gynau gwynion,—Cyn, &c.
Byth fry ar fynydd Sïon,—Cyn, &c.

Yn y Gaersalem newydd,
Uwch y ser, uwch y ser,
Bydd canu yn dragywydd,—Uwch, &c.
Am aberth mawr y Meichiau,
A'i ryfedd rad rinweddau,
Yn clirio yr holl feiau,—Uwch, &c.
Byth nofiant mewn pleserau,—Uwch, &c.

362. Sïon yn llawen fam.—M. 56.

Daw'r hon yn anmhlantadwy sy,
I fagu plant a chadw tŷ,
Yr unig wael ar fyr ddaw'n fil,
Mewn gwewyr mae yn awr am hil;
Ei Phriod yw y gwr,
A greodd dir a dw'r;
Daw, daw ar fyr y dydd,
Babanod fyrdd yn Sïon fydd.

Y ddiepilaidd waelaidd wan,
A liosogir yn y man;
A'r hon adawyd etto ddaw
Yn llon ei grudd, mae'r dydd gerllaw:
Ei Phriod yw y gwr, &c.

363. Goleu o dywyllwch.—M. 4.

Dyfnderoedd anchwiliadwy yw
Arfaethau'r Duw anfeidrol;
Ei ddoeth ragluniaeth eglurha
Ei gynghor da'n wastadol.

Nac ofna'r cwmwl, Gristion gwan,
Sy'n duo rhan o'r awyr;
Dwg iti les, a daw i lawr,
Yn gafod fawr o gysur.

Ymddiried yn ei ras a'i nerth,
Drwy'th boen a'th drafferth beunydd;
Mae'n cuddio gwên garedig iawn
Tu hwnt i gyfiawn gerydd.

Dwg cyn bo hir ei waith i ben,
Eglura'i ddyben cywir,
Ymddengys ei ddirgelion ef
Yn ngoleu'r nef yn eglur.

364. Cleddyfau yn sychau.—M. 9.

Daw'r dydd i droi'r cleddyfau
Yn sychau cyn b'o hir,

Troi'r hefyd yn bladuriau,
Y gwaywffyn, mae'n wir;
A derfydd y terfysgoedd,
A'r swn rhyfeloedd sydd;
Per seinio Halaluia,
Yn lle rhyfela fydd.

Daw dynol draddodiadau,
Rai gau i lawr i gyd;
Bydd enw'r addfwyn Iesu
I fynu drwy'r holl fyd;
Ei wir lywodraeth hefyd,
Heb syflyd, fyth a sai';
Cyfraned etto ragor
O'i drysor—mae'n ddidrai.

**365.** Cysur milwyr Crist.—M. 22.

Daw'r Ganaan i waelion
Drwy gynnen na wylwch,
Ni welir, un aelod
Yn ol o'r anialwch,
Anwylion y rhyfel
Yn lân o'u hir ofid,
O afon tir heddwch,
A yfant eu rhyddid;
A'r eiddil, un eilwaith
Ar ddelw'i Anwylyd,
A wel yn dra buan
Ei lonaid o'r bywyd.

O hynod yr olwg
I enaid ar waelu,
O'i alar a'i gwynion
A elwir i ganu,
E gynnal â dwylaw
Gan loywed â heulwen,
Y delyn aur ddenol
Hyd làn yr Iorddonen;
Ha, frodyr, hygaraf,
Y fory daw'r goron,
Ac euraidd dda dalaith
I gyrhaedd duwiolion.

**366.** Balm o Gilead.—M. 1.

Daw tyrfa rif y gwlith,
Yn iach trwy rîn y gwaed,
Pwy ŵyr na byddaf yn eu plith,
Yn lân o'm pen i'm traed.

Er lleted yw fy mhlâ,
Er dyfned yw fy mriw,
Y balm o Gilead a'm hiacha,
Mae Crist yn Feddyg gwiw.

**367.** Dydd y farn.—M. 7.

Daw y Barnwr yn ei gerbyd
Udgyrn fyrdd a gân o'i flaen;
Cyd-ymgasgla'r meirw cysglyd,
Oll gerbron ei orsedd lân.
Halaluia,
Groesaw anwyl Grist o'r nef.

Gorfoledda y ffyddloniaid
A'u llawenydd fydd yn llawn,
Daw eu Prynwr mawr bendigaid,
A'u Gwaredwr anwyl iawn;
Halaluia,
Gwisgant eu coronau hardd.

**368.** Cân y nefoedd.—M. 7.

Dechreu canu, dechreu canmol,
Yn mhen myrdd o oesoedd maith,
Iesu—bydd y pererinion,
Oll yn llon ar ben eu taith;
Ni bydd diwedd, &c.,
Byth ar ganu iddo ef.

Yno caf fi ddweyd yr hanes,
P'odd y dringodd eiddil gwan,
Trwy afonydd, a thros greigiau,
Dyrus anial serth i'r lan;
Iesu ei hunan, &c.,
Gaiff y clod drwy eitha'r nef.

**369.** Nos angeu.—M. 4.

Dechreuad oes mor debyg sydd
I fore ddydd yn gwawrio,
A henaint anniddanus iawn
Fydd megys nawn nos wylio.

Nid y'm i fyw ond am un dydd
A hwnw sydd i ddarfod,
Os gweithio wnawn, awn at ein gwaith,
Mae'r ddufaith nos ar ddyfod.

I'r cyfiawn wedi gweithio'i ddydd,
Bryd hyn y bydd tangnefedd;
Caiff dawel nos, o'i lafur dwys,
I orphwys yn y diwedd.

**370.** Atebiad gweddi.—M. 5.

Dechreuaist, Arglwydd, ein rhyddhâu
A'th lid sy'n llai tuag atom 'nawr;
Tro'n calon atat yr un pryd,
Cyflawna'th iechydwriaeth fawr.

Bywha ein grasau sy'n ddifraw,
Ac ynot llawenhaed dy blant;
Hysbysa'th wir a'th gariad llawn,
A'th foli wnawn, mae arnom chwant.

Dysgwyliwn beth a ddywed Duw,
Fe draetha hedd i'w saint o'r nef;
Ond peidiwn mwy o'i ffyrdd ef droi
Rhag ail-gyffro'i ddigofaint ef.

**371.** Edifeirwch a maddeuant.—M. 5.

Dedwydd yw'r dyn, byth dedwydd yw,
Bai'r hwn faddeuwyd gan ei Dduw;
Ymostwng wnaeth i'w adde'n drist,
A'i guddio â gwaed ei Brynwr Crist.

Gwyn fyd y dyn nad yw Duw'r nef
Yn cyfrif ei anwiredd ef;
Gorfoledd gyda galar prudd
A brofant ei ddiffuant ffydd.

**372.** Gwobr yr hael.—M. 4.

Dedwydd yw'r dyn sy'n ofni'r Ion
Gan wneyd ei eirchion odiaeth;

I'r tlawd a'r gwan fe rydd yn hael,
Heb ddisgwyl taledigaeth.

Mae dwys dosturi yn ei fron
At bawb o feibion eisiau:
A'i hâd ef a fendithia Duw,
Mewn ateb i'w weddiau.

Rhag chwedl ddrwg nid ofna'n sŷn,
Mae'i galon yn sefydlog;
At Dduw y ffŷ am nawdd o'r nef,
Am hyn bydd ef diysgog.

Yn amser trallod gwyn ei fyd,
Fe gyfyd iddo oleuni;
Rhydd brawf i'r byd mai cyfiawn yw,
A heddwch Duw gaiff brofi.

373. Dafnau trugaredd.—M. 5.

Defnynodd Duw ar Sïon sych,
Rai dafnau o'i drugaredd wych,
Ac addo wnaeth, trwy lwon mawr,
I wlawio iechydwriaeth lawr.

Am hyny p'am mae yn ein plith
Amheuon ac achwynion chwith?
Boed cariad Duw o'n mewn fel tân,
Ac yn ein genau hyfryd gân.

374. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 4.

Deffroed pob enaid drwy ein gwlad
O fwriad i glodfori
Y Duw sy'n dal o'i rad yn rhwydd
O flwydd i flwydd i'n porthi.

Llaw dyn sy'n hau y grawn difreg
Hyd feusydd teg daearen;
Ond llawn ac addfed mewn da bryd,
Duw esyd y dywysen.

Derchafwn oll ein mawl yn rhwydd
I Arglwydd y cynhauaf;
A boed i'n henaid brofi blas
Ei nefol ras hawddgaraf.

375. Deffro'r bore.—M. 42.

Deffro f'enaid, deffro'n ufydd,
C'od yn awr gyda'r wawr,
Seinia ganiad newydd.

Dercha foliant hyd yr wybren;
Cysgod da, rhag pob plâ,
Gefaist dan ei aden.

Pwysa arno dros dy ddyddiau
Nes daw dydd myn'd yn rhydd
I dy fythol gartre'.

376. Gyrfa y nef.—M. 5.

Deffrowch eneidiau llesg, deffrowch,
Pob meddwl ofnus ymaith rho'wch;
Rhedwch yr yrfa tua'r nef,
Trwy gym'ryd ffydd a chalon gref.

Ffordd gul a draeniog yw'n ddiau.
Ac ysbryd dynion sy'n llesgâu;
Wrth ofni'n wan anghofio maent,
Fod Duw'n chwanegu nerth y saint.

Nerth gras ein Duw o hyd barhâ,
Lleihau na darfod byth ni wna;
Am hyn, drwy ffydd, ar aden gref,
Ehedwn yn y ffordd tua'r nef.

377. Rhyfeddu a charu.—M. 9.

Deffrowch fy holl serchiadau,
A sefwch yn eich lle,
I garu a rhyfeddu
Tywysog mawr y ne';
Fe drefnodd iechydwriaeth,
Pwrcasodd nefol hedd,
Ac er fy mwyn bu'n gorwedd
Yn dawel yn y bedd.

Myrddiynau wnant ryfeddu
Dyfnderoedd mawr ei ddawn,
Anfeidrol faith rinweddau
Yr iechydwriaeth lawn;
Yn lân rho'nt yr anrhydedd,
Goruchel pur dilyth,
I'r hwn sydd ar yr orsedd,
A'r Oen, heb flino byth.

378. Coroni Crist.—M. 3.

Derchafer enw Iesu cu
Gan seintiau îs y nen,
A holl aneirif luoedd nef
Coronwch ef yn ben.

Pob perchen anadl yn mhob man,
Dan gwmpas haul y nen,
Ar fôr a thir, mewn gwlad a thref,
Coronwch ef yn ben.

Na enwer enw neb ond Hwn
Fu farw ar y pren;
Drwy'r ddaear faith, nac yn y nef,
Coroner ef yn ben.

379. Arddel crefydd.—M. 20.

Derchafwn ein gweddi
I'r nef at ein Duw,
Fe wrendy ein cwynion,
Un addfwyn iawn yw;
Mae ef yn drugarog
Wrth euog wâr rai,
A lefo'n wylofus
Wybyddus o'u bai.

Arddelwn ei achos,
Drwy'n bèroes wrth fyw,
Pa ddoniau, pa fawrglod,
Sydd ormod i Dduw?
Nis gall yr angylion,
Sy'n nwyfron y nef,
Fyth gloddio'i ryglyddol
Felusol fawl ef.

380. Crist yn gadael y nef.—M. 5.

Derchafwn uchel glod yn awr,
I ogwch Fab Jehofa mawr;
Fy nhafod deffro i seinio maes
Ei ryfeddodau ef a'i ras.

Cân fel y daeth yn wael ei ddrych
I lawr o lŷs ei fawredd gwych;
Mor glau a siriol hedeg wnaeth,
Ar edyn serch tragywyddol daeth.

I fyd camweddus disgyn wnae
I'n codi ni o ddyfnder gwae;
Goddefodd gyfiawn lid deddf Duw,
A marw wnaeth i ni gael byw.

381. Haeddiant croes Iesu.—M. 10.

Deued nef a deued daear
I ryfeddu angeu loes,
Hyd ac uchder, lled a dyfnder
Haeddiant Crist ar ben y groes;
Nid all cerub, nid all seraph,
Na holl ddoniau nef a llawr,
Draethu'r filfed ran o'i rinwedd
Byth yn nhragwyddoldeb mawr.

Dyma'm tawel amddiffynfa,
Dyma fy ngorphwysfa glyd,
Ni chwennychaf noddfa arall,
Pan bo'r tân yn llosgi'r byd:
Ar ardaloedd anfarwoldeb
Hyn a fydd fy nifyr waith,
Hoff dderchafu haeddiant Iesu
Yn y tragwyddolfyd maith.

382. Awelon Gras.—M. 8.

Deued yr awelon hyfryd
Effaith ysbryd gras i lawr,
Llifed atom afon bywyd,
Dardd o dan yr orsedd fawr;
Dyro'n rhad, wir fywhâd,
I rai meirw yn eu gwaed.

383. Croesaw at Grist.—M. 7.

Deuwch bechaduriaid tlodion,
Clwyfus, cleifion o bob rhyw,
Iesu parod i'ch gwaredu—
Llawn tosturi yw Mab Duw;
Nac amheuwch,
Abl ac ewyllysgar yw.

Am gymhwysder na freuddwydiwch
Rhag i'ch oedi yn rhy hir,
Y cymhwysder oll mae'n geisio
Yw gwel'd eich eisieu o hono'n wir;
Dewch heb arian,
Prynwch gan yr Iesu'n rhâd.

Dewch eneidiau llesg trwm lwythog
Ga'dd drwy bechod farwol friw,
Os aroswch nes eich gwella.
Byth ni ddeuwch yn eich byw;
Cewch bob groeso,
Dewch yn awr at Iesu Grist.

384. Pasg—Emyn.—M. 10.

Deuwch saint gollyngwch ddagrau
Uwch trychineb Calfari,
Dros yr hwn a ro'es och'neidiau
Dan y baich haeddasoch chwi;
Hidlodd drosoch ddafnau heilltion,
Dan arteithiau gwg y nen,
Nid o ddwr ond gwaed ei galon,
Yna trengodd ar y pren.

Ond caed achos llawenychu,
Testun cân dragwyddol fydd,
Dacw Iesu yn dadebru,
Gyda gwawr y trydydd dydd:
Gwelwch fel mae'n concro angau,
Syllwch ar ei ddwyfol wedd,
Grym ei fraich, a gair ei enau
Sydd yn dryllio bolltau'r bedd.

385. YR AIL RAN.

Bellach saint eich dagrau sychwch,
T'rewch y gû anfarwol gân,
Cyweiriwch eich telynau, cenwch
Wyrthiau eich Gwaredwr glân;
Bloeddiwch iddo fathru'r gelyn,
Ac yspeilio uffern ddu,
A chloi angeu yn y gadwyn,
A chyssegru'r bedd i chwi.

386. Addoli'r Oen.—M. 5.

Dewch a chydseiniwch hyfryd gainc
A'r dorf sydd fry o gylch y fainc;
Deng mil o filoedd sydd o'r rhai'n,
Ond un yw'r gân o gysson sain.

Teilwng yw'r Oen, gas farwol glwy',
O bob derchafiad, meddant hwy;
Teilwng, atebwn ninnau, yw
Yr Oen fu farw i ni gael byw.

Bendithion mwy nag allom ni,
Byth, Arglwydd, roi, a fo i ti,
A lluoedd maith y ddae'r a'r nef,
Fendithio'th ras ag unawl lef.

387. Esmwythder i'r blinderog.—M. 5.

Dewch ataf bawb, medd Iesu Grist,
Sy'n llwythog a blinderog drist,
Oddiwrth eich poen y'ch esmwythâf,
A'ch dwyn i'm nefol gartref wnaf.

Gwyn fyd y dyn a gym'ro'n fwyn
Fy iau i arno, a hoffi ei dwyn,
Fy iau sydd esmwyth iawn i hwn,
A'm gras a ysgafnhâ ei bwn.

Dymunem Iesu dd'od wrth d'arch,
Mewn ffydd, a gobaith, sel a pharch;
I roi i'th law'n hysbrydoedd byw,
I'w pur hyfforddi wrth air Duw.

388. Gwahoddiad Crist.—M. 4.

Dewch ataf bawb, medd Iesu gwiw,
Mae'n cynnyg heddyw'n derbyn;
Achubydd yw, ei freichiau sydd
Trwy'r dydd yn cael eu hestyn.

Teyrnwialen hedd sydd yn ei law,
  Pwy bynag ddaw mae'n dderbyn;
Sirioldeb nefol sy'n ei wedd,
  Heb arf na chledd er dychryn.

Rhown glust yn awr i'w beraidd lais,
  Gan fod i'w gais yn ufydd;
A chawn ddigrifwch ger ei fron,
  Yn ngwlad y llon lawenydd.

389. Dysgu ofn Duw.—M. 4.

Dewch blant, os dysgwch ofni'r Ion,
  Cewch hirion ddyddiau o heddwch;
Eich ffyrdd fydd hoff gan Dduw o hyd,
  I'ch enaid dyd ddyddanwch.

Ei lygad wylia'r cyfiawn cu,
  A'i glust a wrendy arno;
Yr ysbryd drylliog sy'n y llwch,
  Mae'n agos, credwch, ato.

Er iddo brofi ar ei daith,
  Ofidiau maith a thrymion,
Am noddfa gref at Dduw gall droi,
  Nes dianc o'i drallodion.

390. Messia a gaed.—M. 47.

Dewch, canwn yn awr,
  Yn fach ac yn fawr,
Mae achos i foli, gwir yw,
  Messia a gaed,
  Rhodd drosom ei waed,
Bendithiwn dosturi ein Duw.

391. Hedd o eisteddfa llid.—M. 4.

Dewch, codwn fynu i'r nef uwch ben
  Yn llawen ein hedrychiad;
Gan wenu gwel'd ein Tad mewn hedd,
  Yn eiste' ar orsedd cariad.

Hon unwaith fu'n eisteddfa llid,
  A fflamiau aethlyd dyfal;
Ein Duw bryd hyn Tân ysol oedd,
  A'i enw ydoedd—Dial.

Ond gwaed yr Iesu, gwerthfawr yw,
  Dros orsedd Duw daenellwyd;
Tawelodd hyn ei ddigllawn wedd,
  A'r llid yn hedd ddychwelwyd.

392. YR AIL RAN.

'Nawr gallwn blygu wrth draed yr Ion,
  Anturio'n ëon ato;
Nid oes un cerub yn y lle
  A thanllyd gleddau'n rhwystro.

Heddychol byrth dedwyddwch nef
  Gan ei Fab ef agorwyd;
Dyrchafwn fawl â llafar dôn,
  Hyd orsedd Ion heb arswyd.

393. Credu a moli.—M. 5.

Dewch, cyd-ddyrchafwn bawb ein cân
O santaidd glod i'n Harglwydd glân;
Mae'n Frenin cadarn uchel iawn,
Ei urddas yn ein cerdd goffâwn.

Dewch ac addolwn Dduw'n gytun,
Efe a'n gwnaeth â'i air ei hun;
Ei ddefaid y'm, a'n Bugail yw,
Ac ar ei borfa 'ry'm yn byw.

Na foed i'n calon galed gau,
Fel Israel, nes dwyn arnom wae;
Ond heddyw ar ei lais gwrandawn,
Ac i'w gynghorion ufyddhawn.

Dos tua Sïon f'enaid byw,
Dal afael ar addewid Duw;
Cred, cymmer yr orphwysfa ddrud,
Llon ufyddha, a gwyn dy fyd.

394. Dyweddiad yr eglwys.—M. 5.

Dewch ferched Sïon, gwelwch chwi
Y goron aur o barch a bri,
Mae'r eglwys lon yn awr yn ddwyn
I'w rhoi ar ben ei Brenin mwyn.

Na foed i'n ffydd byth mwy wanhau,
Na'n cysur chwaith, na'n serch leihau;
Aed heibio'r misoedd trymion trist,
A deued dydd coroniad Crist.

Chwanega'n cysur ni a'n gras,
I'th foli'n fwy o hyn i maes,
Nes ein dyrchafu mewn gwell hoen,
I'th foli'n swper mawr yr Oen.

395. Hardd Flaguryn.—M. 33.

Dewch genedloedd, dewch yn un,
  Drwy rwystrau maith eu rhi',
A gwir ryfeddwch tra b'och byw,
  Yr Oen ar Galfari.
Clod i'r Brenin fo'n ddiderfyn,
Ddaeth o Jesse—Hardd Flaguryn,
Alpha, Omega, Dwyfol wreiddyn,
Ffynnon bywyd, Ffynnon bywyd,
I rai'n teithio yn ngwres y dydd.

396. Aros yn y ty.—M. 3.

Dewch weision Duw i'w santaidd dŷ,
  Bendithiwch ef yn awr;
Mynegwch am ei gariad cu,
  Yn ngwydd trigolion llawr.

Mae aros yno'r nos yn wir,
  Yn fraint a chysur mawr;
Ni phery'r t'w'llwch ddim yn hir,
  Fe dyr yr eglur wawr.

Y Duw a wnaeth y nef a'r llawr,
  Dywyno wawr ei wedd;
Gan roi i'n plith ei fendith fawr,
  Yn Sïon, dinas hedd.

397. Cân am farwol glwyf.—M. 5.

Dewisaf Grist a'i farwol glwy',
Yn Frawd a Phriod i mi mwy;
Ef yn arweinydd, ef yn ben,
I'm dwyn o'r byd i'r nefoedd wen.

Fe gaiff ei enw anwyl glod,
Pan ddarfo i'r nef a'r ddaear fod;

Am achub un mor wael ei lun,
Heb sail un gobaith ynddo'i hun.

Ei ganmol bellach wnaf o hyd,
Er maint y boen sydd yn y byd;
Dechreuaf gân am farwol glwy',
Na chlywir diwedd arni mwy.

398. Ffordd y Gair.—M. 4.

Dewisais ffordd gwirionedd Ior,
Ar hon 'rwy'n gorfoleddu;
Nid holl drysorau'r ddaear gron
A'm gwnant mor llon o'u meddu.

Dy rasol dystiolaethau glân
A ro'f o flaen fy llygaid;
Oddiyno nerth beunyddiol gaf,
A chysur da i'm henaid.

399. Gweddio beunydd.—M. 2.

Dewised dynion drwg
Y ffordd a'u dwg i angau;
Ond, Arglwydd, yn dy lwybrau di,
Difyraf fi fy nyddiau.

Fy llef at orsedd gras
Y boreu glas gyfeiriaf;
Ceisiaf dy fendith ganol dydd,
A'r nos yn brudd addolaf.

Mi ro'f fy ngofal dwys
A'm holl bwys ar yr Arglwydd;
Trwy ffydd y bwriaf arno'm maich;
Fe'm deil â'i fraich rhag tramgwydd.

Fe ddeil ei anwyl blant
Na syrthiant byth yn hollol;
Y sail lle mae eu gobaith cry',
Nid ysgog gallu bydol.

400. Bwyd angylion.—M. 5.

Difyru'n hoes mewn ofer hynt,
Yr y'm wrth gasglu gwegi a gwynt;
Y byd a'r oll o'i bethau da,
Newynu enaid dyn a wna.

Awn i gael bwyd i'n henaid byw,
Sydd fwy sylweddol, gan ein Duw;
O'r fath sydd gan angylion fry,
A'r seintiau mewn gogoniant sy.

Duw a'n diwalla ni'r un wedd,
Gan lenwi'n calon wan â'i hedd;
I bechaduriaid tlodion iawn,
Mae'n rhoi o'i ras helaethrwydd llawn.

401. Llin yn mygu.—M. 4.

Dihalog a difai o hyd,
Ein Prynwr hyfryd safodd;
Wrth oddef tanllyd saethau'r fall,
Hyd waed heb ball gwrth'nebodd.

Am hyny, yn ei nerth a'i nawdd
Rhown ninnau'n hawdd ein hyder;
Cawn waredigaeth ganddo fo
Mewn amser o gyfyngder.

Ni ddiffydd lin fo'n mygu byth,
Yn fflam fe'i chwyth yn hytrach;
Y gorsen ysig byth nis tŷr,
Y gwan a ŷr yn gryfach.

402. Mewn angladd Plentyn.—M. 4.

Diangodd draw i wlad yr hedd,
O gyrhaedd pob rhyw ddrygfyd:
Ac uno wnaeth â'r nefol lu,
I gânu fry mewn gwynfyd.

Ni welir deigryn ar ei rudd,
Na'i wedd yn brudd wylofus;
Ni chlywir mwy o'i enau ef
Un egwan lef gwynfanus.

Heb unrhyw boen o dan y fron,
Mae 'nawr yn llon a dedwydd,
A'r pur orfoledd yno sy
A bery yn dragywydd.

403. Ffrwyth maddeuant.—M. 5.

Dilea, Arglwydd, o dy ras,
Aneirif lu fy meiau cas,
Yn nyfnder môr gwaed angeu'r groes
Tragwyddol gladd bechodau f'oes.

A bydded ffyrdd duwioldeb im'
Yn wir hyfrydwch uwch pob dim;
Ac ar y llwybrau llawn o hedd,
Y bo'm difyrwch hyd y bedd.

404. Trysor yr Iawn.—M. 47.

Dim trysor nis cair
Mewn perlau nac aur,
Er chwilio hyd derfyn ein dydd,
A bwysa dy hedd,
Tu yma i'r bedd,—
Heb goffa'r llawenydd a fydd.

Trysorau mor glir
Nis gwelwn yn wir,
I randir yr India pe'r awn;
Pur aur o Peru,
Cyffelyb nid yw,
I heddwch fy Nuw yn yr Iawn.

405. Dirwest.—M. 35.

Diolch i ti, O Dad,
Am ffordd i sobri'n gwlad,
Gwell gwedd cyn hir fydd ar ein tir,
Caiff lluoedd wir wellhad;
Can's meddwdod sydd yn colli'r dydd,
A'i ddeiliaid prudd bob rhai;
Fe dorodd gwawr diwygiad mawr,
Fe gwymp y cawr a'n blinai lawr,
Mewn llwydd yn awr mae'n llai.

406. Halaluia drwy'r byd.—M. 33.

Dysgwyliaf am yr hyfryd awr,
Boreuddydd Jubili,
Pan ddelo holl dylwythau'r llawr
I garu'r Iesu cu:

Aed ei air i blith y werin
Sy'n y dwyrain a'r gorllewin,
Fel bo i'w enw glod yn ddibrin,
Canu iddo, canu iddo,
Halaluia gylch y byd.

407. Hyfryd Jubili.—M. 7.

DYSGWYL wyf ar hyd yr hirnos,
Gan hiraethu am y dydd,
Clywai'r cedyrn byrth yn agor,
A'r cadwynau'n myn'd yn rhydd:
O na wawriai, &c.
Boreu hyfryd Jubili.

Dysgwyl wnaf, er hyn, yn dawel,
Ac mi greda'n gryf y daw
Eiddil gwan o'i holl garcharau,
Yn ddiangol yn dy law:
Mi ddysgwyliaf, &c.
Am yr hyfryd Jubili.

408. Dechreu oedfa.—M. 10.

DISGYN, Ior, a rhwyga'r nefoedd,
Tywallt ysbryd gras i lawr;
Disgyn fel y toddo'r bryniau,
Diosg fraich dy allu mawr;
Difa'r llèni, ymddysgleiria
Ar dy drugareddfa lân:
Rho dy lais a'th wenau tirion,
Achub bentewynion tân.

409. Diogelwch y Saint.—M. 4.

DIYSGOG megys Sïon fryn,
A chadarn yn dragywydd,
Fel craig y trig yr enaid gwâr,
A bwyso ar yr Arglwydd.

Nid mur na bryniau gadwai'n wir
Hen Salem dir rhag drygau,
Fel y Tragwyddol freichiau cu
Sy'n amgylchynu'r seintiau.

410. Llestr llawn.—M. 8.

DOD gyfiawnder y Messia
I ddo'd am danaf i'th wydd di;
A chyfiawnder egwyddorol,
Anian fywiol ynof fi:
O na bawn yn llestr llawn
O bob rhyw nefol ddwyfol ddawn.

Yma gallaf orfoleddu,
Mae fy mywyd gwerthfawr iawn,
Wedi ei ffyddiog guddio'n ddiogel
Mewn Cyfryngwr mawr ei ddawn;
Digon yw, Crist fy Nuw,
I gadw'm henaid gwan yn fyw.

411. Ymddiried yn Nuw.—M. 21.

DOED a ddelo tra b'wyf yma,
Rho'f fy hun yn llaw Jehofa:
Efe yw Ffynnon iechydwriaeth,
Sy'n golchi'n lân bob llygredigaeth.

O na bai y dydd yn dyfod
I'm henaid eiddil gael gollyngdod,
O swn y rhyfel a'r cystuddiau,
A myn'd i mewn i'r pur drigfanau.

Gwlad tuhwnt i gyrhaeddiadau
Pob rhyw chwerwon demtasiynau;
Gwlad a roddwyd yn yr arfaeth
I'm henaid gwan yn etifeddiaeth.

412. Galwad efengyl.—M. 6.

DOED cleifion o bob gwlad
Yw'r alwad rydd erioed;
Anfeidrol ydyw gwerth
Y pridwerth mawr a ro'ed;
Aneirif lu a wneir yn wyn
Yn ffynnon fawr Calfaria fryn.

413. Taeniad swn efengyl.—M. 5.

DOED gogledd, de, a'r dwyrain bell,
I glywed y newyddion gwell;
A thaened swn efengyl gras
Yn gylch oddeutu'r ddaear las.

O deued dydd yr India i ben,
I wel'd yr hwn fu ar y pren;
A ninnau oll yn un â hwy
Fo'n canu am ei farwol glwy'.

Amen, Amen, boed môr a thir,
Mewn perffaith hedd, mewn cariad gwir,
Heb ganddynt bleser o un rhyw,
Ond caru Crist a moli Duw.

414. Corlan glyd.—M. 6.

DOED holl genedloedd byd
I'th gorlan glyd yn glau;
Ac Israel etto'n ol,
Yn siriol fo'n nesâu
I blith dy saint, o fewn dy lys,
A hyn ar frys—i'w hynaf fraint.

Cylchynu rhai'n bob dydd
Y bydd daioni Duw;
Cânt drugareddau llawn,
Tra bo'nt yn cyfiawn fyw,
O fewn ei dŷ, â pheraidd dôn,
Yn moli'r Ion, yn hyfryd lu.

415. Iuddewon a Chenedloedd.—M. 21.

DOED myrddiynau maith o'r Indiaid,
Doed Iuddewon a Phaganiaid;
A'r ynysoedd oll fo'n nesu,
Trwy ras Ior dan faner Iesu.

Llwyddiant i'r cenadau ffyddlon,
Sy'n cyhoeddi'r efengyl dirion;
I gael torf ddirif, trwy gredu,
Yn berlau hardd yn nghoron Iesu.

Croeso hyfryd foreu hawddgar,
Pan ddel lluoedd nef a daear,
I gydganu am Galfaria,
Gyda'u Priod, Halaluia.

416. Canmol gras Crist.—M. 3.

'Does genyf mwy ond Duw yn Dad,
Yn erbyn pob rhyw wae;
Na dim ond grym ei gariad rhad
Yn sylfaen i barhau.

O na allwn rodio er ei glod,
Ac iddo bellach fyw;
A threulio'm mywyd gyda blas
I ganmol gras fy Nuw.

Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
Os edrych wnaf i'r de;
Yn mhlith a fu, neu ynte ddaw,
'Does debyg iddo Fe.

417. Tri yn Un.—M. 12.

'Does mesur amseroedd byth fry,
Dim oriau cyffelyb i'r byd;
Myn'd heibio ryw oesoedd y sy,
Wrth gânu i'r Drindod ynghyd:
Y nerth, yr anrhydedd, a'r clod,
Y parch, a'r gogoniant, a'r bri,
Yr awrhon, ac felly bu erioed,
I'n Harglwydd yn Un ac yn Dri.

Mae yno Dri Pherson yn bod,
Ac etto mewn sylwedd ond Un,
Gogyfuwch mewn gallu a chlod,
Wrth wared plant Adda'n gytun:—
Yn hyn rhyw ddyfnderoedd y sydd,
Diwaelod, anfeidrol eu mhaint,
Er hyny eu credu drwy ffydd,
Yw sylfaen holl gysur y saint.

418. Tristwch yn y byd.—M. 17.

'Does mwy
Ar ol pob gwledd, ond aml glwyf,
A thristwch yn y byd lle'rwyf;
Mae hiraeth trwy fy enaid cu
Am fyn'd yn rhydd o feichiau'r cnawd,
At Grist fy Mrawd a'm Priod fry.

Dim son
Ni chlywir byth am wae na phoen
Yn nghwmni'r saint a'r addfwyn Oen,
O fewn y Sïon santaidd fry;
Ond yfed dyfroedd dwyfol pur
A ddaeth yn glir o Galfari.

419. Arlwyadau doethineb.—M. 4.

Doethineb Duw, darparodd hi
Wledd i gael llôni eneidiau,
A geilw bawb sy'n blysio'r ffar
I brofi ei harlwyadau.

De'wch chwi sy'n blysio'r ffrydiau byw,
A'ch enaid gwiw ar drengu;
Cewch dòri'ch syched yma'n siwr
A'r bywiol ddwr a bery.

Afonydd gras a chariad sydd
Fel môr diddyspydd yma;
Llawn iechydwriaeth i'r rhai blin,
Fel llaeth a gwin ddylifa.

420. Aberth Crist.—M. 6.

'Does hyd na lled yn bod
Ar aberth mawr y groes,
Na phwys ychwaith na rhi'
Ni ddaw, ni fu, nid oes,
Anfeidrol yw, uwch deall dyn,
'Does ŵyr ei faint ond Duw ei hun.

Er cànu myrdd yn wyn
O'r euog aflan rai,
Trwy haeddiant pen y bryn,
Ni fedd E ddim yn llai;
Diderfyn yw, i Dduw bo'r clod,
'Does trai na llanw iddo'n bod.

421. Agor y seliau.—M. 4.

Dragwyddol Dad! pwy gaiff heb gel,
Edrych i'th ddirgel 'wyllys?
Y Mab a gaiff y llyfr cau,
I ddatgloi'r seliau dyrus.

Dy arfaeth ddoeth, fe'i cwblha;
Yr enw'n dda a haeddai;
Mae yn ei law allweddau'r nef,
Ac uffern gref ac angau.

I'r Oen a laddwyd gynt y bo
Byth deyrnged o fendithion;
Y parch a'r mawl trwy'r ddae'r a'r nen
Fo ar ei ben fel coron.

422. Mynudau cyflym.—M. 4.

Dros enyd fach 'rym yma i fyw,
A gwerthfawr yw'n heneidiau;
Ac etto'n ffol, llaweroedd sy'n
Ymroi'i wastraffu 'u dyddiau.

Ein dyddiau'n gyflym 'hedeg wnant,
Ac nid arosant fynud;
Fel chwedl wag, neu ganiad—clau
Fyn'd heibio mae ein bywyd.

Tŷn ni â'th ras, Duw, er dy glod,
A'n henaid c'od i fynu;
Fel gallom, wrth orphenu'n taith,
Am iechydwriaeth ganu.

423. Amser ymostyngiad.—M. 4.

Dros Frydain, och! a'i meibion hi,
Mae achos ofni'r awrhon;
Y beiau rwygodd Salem gynt,
'Nawr yma ynt yn gryfion.

Pwy sydd â llygaid ag a wel?
A chlust a ddirgel wrendy?
A chalon grŷn dros arch ei Dduw
A'r wlad mae'n byw—fel Eli?

Crist'nogol gariad oer iawn yw
Trwy'n gwlad, os ydyw'n aros,
A marwaidd iawn a diffrwyth yw
Ein sel dros Dduw a'i achos.

Ior grasol, dal dy law mewn pryd,
A thywallt d'Ysbryd arnom;
Gall ef wahardd pechodau'n gwlad,
Ac ennyn cariad ynom.

424. Eiriolaeth Iesu.—M. 44.

Drosom yn eiriol
Mae Iesu, drwy rinwedd ei waed,
"Dros bechodau bawb o'r byd
Aethum dan y dwyfol lid,
Os dychwelant—O maddeu, fy Nhad."
"Er mwyn yr Aberth
Roddaist dros holl ddynol-ryw,
Mi wrandawaf ar eu cŵyn,
Mi faddeuaf er dy fwyn, [fyw.
Mewn tragwyddol ddedwyddwch cânt
Yna cawn wledda,
Gwledda dros byth uwch y nen,
Cawn ddywedyd, "Iddo fe,
'Rhwn fu farw yn ein lle,
Bo'r gogoniant a'r gallu, Amen."

425. Crist ein Pasg ni.—M. 5.

Dros wlad yr Aifft mewn dig ar led
Yr angel cryf dinystriol hed,
A'i blodau balchaf, mewn un awr,
O'i flaen yn feirwon syrthiant lawr.

Ond heibio i bebyll Iago'r aeth,
A siriol wenu arnynt wnaeth;
Fe ganfu'r gwaed—fel arwydd tlws
O heddwch Duw—uwchben pob drws.

Cyn dryllio gynt yr Aifftaidd iau,
Yr Oen pwyntiedig marw wnai;
A lladd Oen Duw, ein Pasg, a wnaed
Er cael i ninnau lawn ryddhad.

O Iesu, pe taenellid fi
A'r gwaed a ddaeth o'th ystlys di;
Dialedd ni ddilynai'n hwy
Fy enaid euog innau mwy.

426. Effaith angeu Crist.—M. 9.

Drwy angeu Awdwr bywyd
A'i ddyfnion glwyfau drud,
Caed bywyd i farwolion,
A noddfa rhag y llid;
Efe yw'r unig Aberth
Dros feiau dynol-ryw,
A'r ffordd i wneyd yr euog
Yn gyfiawn gerbron Duw.

427. Hyder mewn gweddi.—M. 1.

Drwy guro'r nefol gaer
A gweddi daer bob dydd;
At Dduw cawn edifeiriol droi,
Gan ffoi ar aden ffydd.

Pe doi i'n bywyd ni
Ing mwy, os ti a'i myn,
Dad tirion doeth, addolwn di
Am dy ddaioni i ddyn.

Daioni fu drwy'n hoes,
Ein heinioes gedwi'n fyw,
I'th enw di, yr uchel Sant,
Boed byth ogoniant gwiw.

428. Drygau'r byd.—M. 10.

Dull y byd a'i lygredigaeth
Sydd fel caeth hudoliaeth ddwys;
Mae fel tònau môr chwyddedig,
Llawn peryglon mawr eu pwys;
Ceisio tynu'n groes i'r tònau
Mawr eu nerth, a minnau'n wan;
Molaf Iesu byth os gwelir
Un mor eiddil ar y lan.

429. Duw Abram.—M. 26.

Duw Abram, molwch Ef;—
Ei holl ddigonol ras
A gaiff fy arwain bellach byth
I'w borfa fras:
Yn frawd fe eilw'r pryf,
A geilw'i hun fy Nuw;
Ac hyd y diwedd ceidw fi,
Trwy Iesu gwiw.

Gwrthodaf bethau'r byd,
Ei olud, parch, a bri,
Fy Nuw fydd mwy y ran o hyd
A geisiaf fi:
Caf wel'd ei wyneb glân,
A'i foli yn ddilyth,
A gwyrthiau'i ras a fydd fy nghân
Heb ddarfod byth.

430. Rhan y duwiol.—M. 4.

Duw a neillduodd iddo 'i hun
Bob duwiol ddyn, gwybyddwch,
Er mwyn ei Fab fe glyw ei lef,
Caiff ganddo ef ddyddanwch.

Yn nerth ein Duw hyderu wnawn,
Ac yn ei ddawn ymffrostiwn;
Cael aros beunydd yn ei hedd,
Yw'r hoffus wledd a geisiwn.

Pâr hyn i'n calon lawenhau
Mwy, wrth fwynhau'r fath fendith,
Nag all y byd, pan f'ont yn trin
Eu haur, a'u gwin, a'u gwenith.

431. Holltau'r graig.—M. 19.

Duw, attal di
Rwysg fy meddyliau ffol;
A dena'm serch
A'm calon ar dy ol:
Yn holltau'r graig
Dod im' ymgeleddfa glyd,
Mewn tawel hedd,
Nes myn'd drwy'r anial fyd.

Fy enaid c'od,
A dos yn mlaen yn hŷ,
Ymestyn mwy,
Tua phorth y ddinas fry;

Lle mae gwir hedd
Nefolaidd yn parhau,
A chael o hyd
Ei hyfryd lawn fwynhau.

432. Gwrandawr gweddi.—M. 4.

Duw, atat de'wn, gwrandewi'n llais,
Pob cnawd a gais dy nodded;
Yn Sion mawl a'th erys di,
Lle talwn ni'n hadduned.

Gwyn fyd y rhai a ddygech di
Yn agos i'th wynebpryd;
Cânt yn dy dŷ gydwledda'n fras,
Ar beraidd ras y bywyd.

433. Drygau'r byd.—M. 4.

Duw, cadw f'enaid gwan o hyd,
Uwchlaw y byd a'i ddrygau;
Gan lwyr ddibrisio'i boen a'i wae,
A'i drallod a'i gystuddiau.

Na âd im' wrando byth ar dwrf,
Ei gynnwrf a'i ruadau;
Ond teithio'r llwybr cul bob cam,
A meddwl am fy nghartre'.

Heb gyfeiliorni ar un llaw,
Nes myn'd tu draw'r Iorddonen;
At seintiau flinodd ar y byd,
Sy'n awr i gyd yn llawen.

434. Hollbresennoldeb Duw.—M. 5.

Duw chwiliaist fi, fe'm treiddiaist trwy,
Dy lygad craff a wel beth wy';
Fy nghodiad a'm gorweddiad i,
A'm calon oll adwaenost di.

Dy nerth o hyd o'm hamgylch sy,
A'th law 'rwy'n weled ar bob tu,
Yn nghwsg ac effro, draw a thre',
'Rwyt i'm hamgylchu yn mhob lle.

Gwybodaeth fawr yw hon, O Dduw,
Rhy ryfedd im'—mor uchel yw!
Fy enaid, a'i alluoedd oll,
Ant yn yr olwg faith ar goll.

435. Edau frau bywyd.—M. 4.

Duw da, ar ba fath edau frau,
Mae bythol bethau'n hongian!
Tragwyddol stad pob marwol ddyn,
Ar linyn bywyd egwan.

Gwynfyd neu fythol wae yw rhan
Pob enaid pan êl ymaith;
Ac etto, O mor ddiofal 'rym,
Er bod ar fin marwolaeth!

Ein tymmer gysglyd 'nawr deffro,
I rodio'r ffordd beryglus;
A phan ymedy'n henaid byw,
Caed gyda Duw byth orphwys.

436. Gwaelder oes dyn.—M. 4.

Duw, dysg im' fesur dyddiau f'oes,
Pa einioes a gyrhaedda';
Am ddysgu 'rwyf a gwel'd o hyd
Mor frau yw'm bywyd yma.

Plant dynion, fel cysgodau i gyd,
Dros faes y byd, sy'n cilio;
Trafferthu beunydd maent wrth fyw,
Ond ofer yw eu cyffro.

Rhai am anrhydedd yma gair,
A rhai am aur yn cloddio;
Pentyru da na wys i bwy
Y byddant hwy'n eu gado.

Nid y'nt ond llwch a gwagedd llawn
Pan yn eu cyflawn wychder:
Am hyn fy Nuw rho im' dy hedd
Cyn delo diwedd f'amser.

437. Blinder meddwl.—M. 5.

Duw, edrych lawr, a gwel yn fwyn
Y mawr ofidiau wyf yn ddwyn;
Fy oes a ddaeth i'r llwch un wedd
Ag un ystalm a roed mewn bedd.

Ond chwilio 'rwyf er cael i maes
Hen dirion ryfedd wyrth dy ras;
Oddiyno caf ryw obaith gwan,
A ddeil fy ysbryd llesg i'r lan.

Dysg im' dy feddwl glân fel hyn,
Ac arwain fi i'th nefol fryn;
Rho ysbryd hael dy gariad cû,
I'm tywys i'th gynteddau frŷ.

438. Duw ein rhan.—M. 5.

Duw, f'einioes a'm Cynnaliwr drud
Fy mhlaid a'm gobaith wyt o hyd;
Pan anobeithiodd f'enaid gwan,
Dy fraich a'm daliodd i i'r lan.

A'th gynghor y'm harweini o hyd
Trwy anial dyrus maith y byd;
A'th law a'm dwg i'r nefoedd fry,
I fyw gerbron dy wyneb cu.

Pe cawn y nefoedd hebot ti,
Ni roddai hyny hedd i mi;
Ac ar y ddaear tra b'wyf byw,
Ni cheisiaf neb ond ti fy Nuw.

Pe tòrai edau f'einioes frau
A'm cnawd a'm calon lwyr-wanhâu,
Duw ydyw Craig fy enaid gwan
A nerth pob sant a'i fythol ran.

439. Diolch am gysuron.—M. 21.

Duw, fel afon y dylifa
Dy fendithion, rhoddion rhwydda;
Ac mae'n perthyn am ein porthiant,
Iti felus gerdd o foliant.

Wiwgu Ior, am oll o'th gariad,
Ar ein dwylaw nid oes daliad,
Boed yn lân y gân o'n genau,
Yn dy byrth yn iawn aberthau.

Ac o'n dyddiau, pan ddiweddant
Fry i gaerau manau'r mwyniant,
Cymmer ni yn iach a llawen,
Duw'n da awdwr, dan dy aden.

440. Caniad hwyrol.—M. 4.

Duw, gad im' hwyrol gân, heb warth,
Fel arogl-darth ddyrchafu;
A boed i'm hoffrwm gwan o glod,
Hyd nefoedd ddod i fynu.

Parhaus fendithion oddifry,
Sydd yn f'amgylchu'n wastad;
Ond O, cyn lleied tâl (mae'n gam)
Mae Duw'n gael am ei gariad.

Dy anwyl groes, fy Nuw, at hon,
A'm calon euog rhedaf;
Ac i'w fywhau â'th ras, wrth raid
I ti fy enaid rhoddaf.

441. Lles cystudd.—M. 4.

Duw, gwel fy holl ofidiau maith,
A gwaredigaeth dyro;
Am brawf o'th iechydwriaeth di,
Mae f'enaid i'n diffygio.

Er hyn, 'rwy'n gwel'd mai da i mi
Yw'th gerydd di, Dad nefol;
Gwna hyn im' ddysgu'th gyfraith wiw,
A byw ar Dduw yn hollol.

Da gwn mai iawn yw'th farnau 'rioed,
Er tybio'u bod yn greulawn;
Dy gerydd llymaf, anwyl Dad,
A dardd o'th gariad ffyddlawn.

442. Ceryddu a maddeu.—M. 5.

Duw mawr, ca'dd Israel brofiad maith
O'th lid a'th gariad lawer gwaith;
Drych o'n calonau oedd eu hynt,
I ddangos mor anwadal ynt.

Heb ofni'i rym na choelio'i ras,
Digiasant ef â'u pechod cas;
Er hyn yn rhad maddeuodd Duw
I rai nad oedd yn haeddu byw.

Pan welent ladd yr euog lu,
Tristaent a cheisient Dduw o'u tu;
A galwent ef eu Craig, a'u Llyw,
A'u cadarn Ior, a'u Tad, a'u Duw.

Gwelodd eu cnawd yn wan a brau,
Gwelodd eu rhwystrau yn amlhau;
Duw Abram hoffodd hwy er hyn,
A dug hwy'n deg i'w santaidd fryn.

443. Angylion yn gweini.—M. 20.

Duw mawr, i ba uwchder
Gogoniant a stad,
Y llawen ddyrchafwyd
Dy unig Fab rhad;
Angylion yn ngwisgoedd
Tanbeidiol y nef,
A wnaethpwyd yn weision
I'w orsedd hardd Ef.

Angylion anfonir
I dywys ein traed,
Ar hyd y ffordd union
Yn mlaen i dŷ'n Tad;
Trwy'r amryw beryglon
Sy'n llawn yn mhob lle,
O hyd i'n cyfarfod
Wrth deithio i'r ne'.

444. YR AIL RAN.

Pan byddwyf yn gadael
Y babell bridd hon,
Pan ddaw y gorchymyn
Im' ddyfod ger bron;
O Dduw, anfon angel
Caredig o'r nef,
I dywys fy enaid
Yn ddiogel i dref.

445. Teyrnas Crist.—M. 5.

Duw mawr! i'th ben-llywodraeth mae
Y bydoedd oll yn ufyddhau;
Y deyrnas dod i'th Fab yn awr,
Mewn nerth sefydla'i orsedd fawr.

Ei ras ar lesg eneidiau ddaw,
Fel gwlith ar fryniau sychion draw;
A phery ei addoliad ef
Tra phery dyddiau dan y nef.

Y gwledydd digred oll y sydd
Dan dywyll gysgod angeu prudd;
Pan wawrio arnynt, adfywhant;
A'r lleoedd anial lawenhant.

Hedd o'i orseddfainc red fel lli'
I bobloedd nad adwaenom ni;
A'r saint flodeuant yn ei ddydd,
Mawl a llawenydd eiddynt fydd.

446. Mwyngloddiau gras.—M. 4.

Duw mawr! trysorau'th ras a gair
Fel bythol aur fwyngloddiau;
Fel ein trueni dyfnion yn',
Diderfyn, fel ein beiau.

Eneidiau yn newynog sydd,
Ar wynt a fu'n ymborthi;
Ni ddichon holl deganau'r byd,
Mo'ch enaid drud ddigoni.

Pyrth hyfryd yr efengyl sydd
Y nos a'r dydd yn agor;
I lenwi'n heisieu, Arglwydd hael,
Ni dde'wn i gael o'th drysor.

447. Pa Dduw fel tydi?—M. 52.

Duw mawr y rhyfeddodau maith,
Rhyfeddol yw pob rhan o'th waith,
Ond maddeu bai mwy rhyfedd yw
Nâ'th holl weithredoedd o bob rhyw;
Pa Dduw sy'n maddeu fel tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni?

Trwy waed yr Iesu cywir cu,
Maddeuant gawn o'n beiau du,

Clodforwn byth dy gariad llawn,
Ei brofi a'i ryfeddu wnawn;
Pa Dduw sy'n maddeu fel tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni?

448. Gwledd efengyl.—M. 5.

Duw, mor gyfoethog yw dy fwrdd,
O arlwyadau'r nefoedd fry!
Ceir Bara'r bywyd yma i'n cwrdd,
A chwpan llawn o'th gariad cu.

Yr hen Iuddewon gyntaf ga'dd
I'r wledd eu gwa'dd—pa fraint oedd [fwy?
A ni'r Cenedloedd 'nawr sy'n cael
Y cynnyg hael wrthodent hwy.

Y tlawd, a'r dall, a'r cloff y'm ni,
Oedd bell o help, yn myn'd ar goll;
Ond arlwy dy efengyl di,
Ein heisieu a ddiwalla oll.

O brif ffordd enbyd uffern gaeth,
Anobaith a thywyllwch du,
Dychwelyd 'ry'm dan lawenhau,
I gael mwynhau dy lewyrch cu.

449. Cwyn mewn clefyd.—M. 4.

Duw, na cherydda fi'n dy lid,
O attal d'ergyd weithian;
Nac ennyn dy ddigofaint cryf
Yn erbyn pryf mor egwan.

Mewn dolur tost 'rwy'n treulio'r dydd,
A'r nos mewn prudd riddfanau;
Gan gyfri'r amser ar bob cam,
A dysgwyl am y borau.

Pan lefo egwan lwch ar Dduw,
Efe a glyw ein griddfan;
A'n hesgyrn drylliog mae'n iachau,
O'i drugareddau'i hunan.

450. Addfedrwydd i'r nef.—M. 23.

Duw'n addas gwna ni
I fyw gyda thi,
Drwy'r gwaed a ollyngwyd
Ar ael Calfari.

Ac yna mewn hoen,
Cawn ganmol yr Oen,
Uwch cyrhaedd pob trallod,
A phechod a phoen.

Mewn nefol hoff wlad
O hedd hir barhad,
Yn mhlith dewisolion
Gantorion ein Tad.

451. Rhagluniaeth Duw.—M. 5.

Duw o'i 'stafelloedd a ddwfrha
Y sychdir â chawodydd da:
A'r ardd, a'r maes, a'r goedwig wyrdd,
A ro'nt yn llon fendithion fyrdd.

Pâr i'r gwellt dyfu, ac fe gwyd
I roi i'r anifeiliaid fwyd;
A llysiau i ddyn, amrywiol rai,
I faethu natur, neu iachau.

Ei ffrwyth y bêr winwydden rydd,
A'r olewydden siriol sudd;
Y galon lesg a lawenheir,
A'r bruddaidd wedd ei lloni wneir.

Frutaniaid! molwch Dduw'n gytun,
Am fodd fel hyn i gynnal dyn;
Tra pery'ch nerth, tra byddoch byw,
A chalon rwydd gwas'naethwch Duw.

452. Pererindod y saint.—M. 5.

Duw, pa druenus wlad yw hon
I bererinion ar eu taith;
Dim iachus goed, na ffrwythydd llon,
Na ffrydiau byw o gysur chwaith.

Ond etto trwy'r fath erchyll le
Mae'r llwybr cul tua thŷ ein Tad;
Dymunem gadw'r ffordd i'r ne';
O Dduw, cyfeiria di ein traed.

Er bod bwystfilod rheibus, dorf,
Oddeutu'r goedwig yn mhob lle;
Y Llew o Juda geidw'r ffordd,
A'r gweiniaid ddwg yn iach i dre'.

Nosweithiau hirion, tywyll, prudd,
Ac ambell lewyrch yma gawn,
Ond un tragwyddol hyfryd ddydd
Fydd yn y dysglaer fyd lle'r awn.

453. Gwinllan Duw.—M. 5.

Duw, plenaist hoff winwydden îr
A'th law mewn gwyllt genedlig dir;
O'i hamgylch darfu i ti gau,
Ac â gwlith nefol ei dyfrhau.

Ei changau saethent gynt i maes
Fendithion fyrdd o ffrwythau gras;
Ond 'nawr, Duw cu, gwel lawr o'r nen,
Gwywedig yw dy hawddgar bren.

Pa'm cuddiaist draw dy wyneb pryd,
Pa'm rhwygaist gaeau hon i gyd?
O dychwel ni—moes heddwch mwy,
A'n hachub gawn, heb gwyno'n hŵy.

454. Nodau y Cristion.—M. 5.

Duw, pwy a ddring i'th nefoedd fry,
I fyw gerbron dy wyneb cu?
Y dyn sy'n awr yn Nghrist yn byw,
Gan rodio'n isel gyda Duw.

Un glân ei law, a chalon bur,
Heb ar ei wefus ond y gwir;
Ac wnel yn wastad i bob un,
Yr hyn ddymunai iddo'i hun.

Ar ras yn unig pwyso wna,
Wrth wneyd ei holl weithredoedd da;
Hwn yw y dyn gaiff weled Duw,
A chydag ef dragwyddol fyw.

455. Duw'r bendithion.—M. 7.

Duw'r bendithion yw dy enw,
Rhanu'r wyt yn helaeth iawn,

'Nol cyfranu yn y boreu,
Rhanu eilwaith y prydnawn;
Dyro fendith
Etto'n rhagor yma'i lawr.

Mil o filoedd, myrdd myrddiynau,
A fu'n dysgwyl wrth dy ddôr,
Ac er rhoddi'n helaeth iddynt,
Para'n gyflawn mae dy stor;
Rho i minnau
Fendith newydd, anwyl Dad.

Ar d'addewid mi anturiaf,
Ac ymbiliaf ger dy fron,
Am gael bendith, Dad anwylaf,
'Rwy'n hiraethu'r fynud hon:
Wrth dy orsedd
'Rwyf am fod tra byddwyf byw.

456. Emyn foreuol.—M. 5.

Duw'r boreu, wrth dy lais a'th wŷs,
Y siriol haul a gwyd ar frys,
A llawenhau fel cawr mae ef,
I redeg ar ei daith drwy'r nef,

O, fel yr haul boed im' gwblhau
Holl ddyledswyddau'r dydd yn glau;
A bywiog fyn'd trwy gymmorth gref,
Yn mlaen ar hyd y ffordd tua'r nef.

I'm tywys, Ior, rho'th gyngor cu,
A derbyn fi i'r gwynfyd fry;
Fy ngobaith a'm dymuniad yw,
Yn fwy nâ dim fod gyda'm Duw.

457. Cynnaliaeth oddiwrth Dduw.—M. 4.

Duw, rhag pob gelyn gwared fi,
Rho'is ynot ti fy hyder;
Er nad yw'm da yn haeddu dim
O'th nodded im' un amser.

Dy law sy'n darpar im' fwrdd llawn,
A chwpan cyflawn beunydd;
'Rwy'n foddlon i'r presennol dda,
Ond gwell obeithiaf ryw-ddydd.

Fy rhan a'm cysur i yw Duw,
Ei gyfraith yw'm goleuni;
Rhydd gynghor melus im' y dydd,
A'r nos y bydd i'm dysgu.

Fy meddwl hoffwn ddweyd yn rhwydd,
Byth yn ei wydd, heb ddichell;
Nid angeu du a'm dyd mewn braw,
Tra bydd gerllaw'r fath gyfaill.

458. Edrychiad i Galfaria.—M. 9.

Duw rho im' ffydd i edrych.
Yn mhob caethiwed du,
Drwy'r niwl a'r tew gymylau,
I fynydd Calfari:
Gwna i fy enaid brofi,
Fod dy anfeidrol loes,
Yn gynnes loches dawel,
Yn wastad dan bob croes.

Ni syllaf ar ddim arall
Yn unig ond tydi
Fu'n griddfan dan yr hoelion,
Ar fynydd Calfari;
Fy lloches rhag euogrwydd,
Fy nghymhorth dan bob tòn.
A fydd y gwaed a lifodd
O'r archoll dan dy fron.

459. Ymostyngiad Duw.—M. 5.

Duw, rhyfedd yw'th dosturi hael;
A drig yr Arglwydd gyda ni!
Pa beth ar wyneb daear wael,
All ddenu lawr dy gerbyd di!

Gallasit lenwi'th orsedd fawr,
A gwrando cerddi Gabriel lân;
Ond disgyn mae'th fawrhydi i lawr
I wrando'n gwael grynedig gân.

Ac, O! mor dlawd yw'r tâl a gai,
Am dy anfeidrol gariad gwiw;
Bloesg iawn yw llais tafodau clai
Ond dy drugaredd Dwyfol yw.

460. Ysgrythyrau santaidd.—M. 19.

Duw'r nef a roes
Mewn amryw ffyrdd a modd
I'r tadau gynt
Ei feddwl pur ar g'oedd;
Ac anfon wnaeth,
O'i ras ei Fab i lawr,
I'n dysgu ni,
Y dyddiau sydd yn awr.

Ar Brydain oll
Y gwawriodd golau'r nef,
A darllen maent
Am rym ei gariad ef;
Ei werthfawr air,
Nid aeth fel hyn, gwir yw,
I bob rhyw wlad,—
O molwn ni ein Duw.

461. Noddfa Seion.—M. 5.

Duw ydyw noddfa'r saint a'u grym,
Pan ddel tymhestloedd adfyd llym;
Cyn gallont draethu wrtho'u cwyn,
Bydd ef gerllaw â'i gymhorth mwyn.

Pe treiglai bryniau'r byd o'r bron
I lawr i'r dyfnder dan y don,
Pe siglai seiliau dyfna'r byd,—
Yn Nuw hyderwn yn ddi-gryd.

Mae afon bur a'i ffrydiau byw
Ddiwalla ddeiliaid dinas Duw;
Llawenydd, cariad, bywyd llon,
A lifant drwy anneddau hon.

462. Mawl y Cyssegr.—M. 4.

Duw yn ei dŷ, amlyga'i ras,
Rho'wn yno maes ei foliant;
A chodwn ein serch oll i'r ne',
Anneddle ei ogoniant.

Cyffroed ein holl deimladau'n lân
Wrth ddatgan ei weithredoedd;
Ond gwaith ei ras sy goruwch clod,
Rhy fawr i dafod adrodd.

Pob perchen bôd ac anadl byw,
Rho'wch fawl i'r Duw a'ch lluniai;
Ond gwell y mawl fy enaid ef,
Pan ddarffo'm llef yn angau.

463. Gras a gwirionedd.—M. 5.

Duw, ynot mae ffynnonau llawn
O gariad a diderfyn ddawn;
O cudd fi dan d'adenydd cu,
Nes chwyther heibio'r cwmwl du.

Uwch daear dy drugaredd sy
Yn cyrhaedd i'r eithafoedd fry;
Saif dy wirionedd byth heb goll,
Pan ddarffo'r byd a'i olud oll.

Dyrchafer di uwch nef, O Dduw
Lle mae'r angylion heirdd yn byw;
Traether dy nerth trwy'r byd ar led,
A gwlad wrth wlad dy wyrth a dd'wed.

464. Boreuol ganiad.—M. 4.

Duw yw yr haul sy'n dwyn ein dydd,
Llawenydd rydd a heddwch;
A than ei aden ef bob nos,
Cawn aros mewn diogelwch.

Y nos diflino'n cyrff mae hon,
Angylion wnant ein gwarchod;
A seiniwn glod i Dduw na bu
Ein gwely i ni'n feddrod.

Nis gall y bore ddim sicrhau,
Y cawn fwynhau diwrnod;
I gipio ffwrdd ein bywyd brau,
Bob awr mae angau'n barod.

465. Nebo.—M. 12.

Dwy aden colomen pe cawn,
Mi hedwn a chrwydrwn yn mhell,
I gopa bryn Nebo mi awn,
I olwg ardaloedd sydd well,
A'm golwg tu arall i'r dw'r,
Mi dreuliwn fy hoedl i ben.
Mewn hiraeth am weled y Gwr,
Fu farw dan hoelion ar bren.

Nis gallaf tra yma'n y cnawd
Ddim dyodde'r caniadau sydd fry;
Mae llewyrch wynebpryd fy Mrawd
Yn llawer rhy ddysglaer i mi;
'Nol hedeg a gadael fy nyth,
A chwalu fy mhabell o glai,
Bydd digon o nefoedd dros byth,
Ei weled ef fel ag y mae.

466. Amrywiaeth y gair.—M. 4.

Dy air ddewisais, Arglwydd nef,
Dros byth yn etifeddiaeth;
Yn hwn fy enaid llawenha,
Yn hwn myfyria'n helaeth.

Darllenaf air dy gariad llon,
Rhof ger dy fron dy ddeddfau;
Ac yn dy addewidion di,
Difyraf fi hyd angau.

Tir helaeth, llawn o olud yw,
Ffynnonau byw'n hwn darddant;
Hâd didranc wynfyd yma sydd,
A dirgel gudd ogoniant.

467. Llusern y gair.—M. 8.

Dy air sydd ddigon i fy arwain,
Trwy'r anialwch maith yn mlaen,
Mae e'n golofn olau eglur,
Weithiau o niwl, ac weithiau o dân;
Llusern yw, olau, wiw,
I oleuo'n deg holl deulu Duw.

Dal fi'n gadarn nes y delo'r
Amser hyfryd i'm rhyddhau,
O wasgfeuon trymion groesau,
I'th dragwyddol lawn fwynhau;
Dyna'r pryd, gwyn fy myd,
Y derfydd fy ngofidiau i gyd.

468. "Neb gyda thi."—M. 12.

Dy enw arogla yn well,
Na'r enaint pereiddiaf sy'n bod;
A'th lais sy'n fwy hyfryd yn mhell
Na'r organ hyfrydaf erioed;
Gafaelu am danat yn dyn,
Fy Anwylyd cu hyfryd os câf,
Ni cheisiaf ddim mwy na chael hyn,
A phery drwy'm blwyddyn yn hâf.

Yn ddiddig heb neb ond efe,
Trwy'r ddaear oer ddyrus mi â,
Er newid tymhorau a lle,
Terfysgu fy meddwl ni wna:
Y carchar yn balas a fydd,
Nid ofnaf na gw'radwydd na bri,
Y nos geir mor olau â'r dydd
Os Iesu fydd gyda myfi.

469. Duw digyfnewid.—M. 4.

Dy enw Iôr, sydd werthfawr im'
"Yr Arglwydd ni'm newidir;"
Am hyny ni ddyfethwyd ni,
Am hyny ni'n dyfethir.

O'th dirion drugareddau di
Am danom ni, ni ddarfu;
A'n gobaith na ddarfyddwn mwy,
Yw eu bod hwy heb ballu.

470. Hyder y Pererin.—M. 10.

Dyfais fawr tragwyddol gariad
Ydyw'r iechydwriaeth lawn,
Cynghor hedd yw'r sylfaen gadarn
Ac ni dderfydd byth ei ddawn;
Dyma'r fan y gorphwys f'enaid,
Dyma'r fan y byddaf byw,
Mewn tangnefedd pur heddychol,
Dan bob stormydd, gyda'm Duw.

Syfled iechyd, syfled bywyd,
  Cnawd a chalon yn gytun,
Byth ni syfla ammod heddwch,
  Hen gytundeb Tri yn Un:
Dianwadal yw'r addewid,
  Cadarn byth yw cyngor Duw,
Cysur cryf sy' i'r neb a gredo—
  Caiff yn haeddiant Iesu fyw.

471. YR AIL RAN.

Pan yn ngwyneb y gorchymyn
  Bûm yn ngwyneb angeu glas,
Gwelais Iesu ar Galfaria
  Wedi hollol gario'r maes;
Mewn cystuddiau byddaf dawel
  Y fuddugoliaeth sydd o'm tu;
Nid oes elyn wna i'm niwed,
  Rhydd yw'r ffordd i'r nefoedd fry.

Gwelais gyrau yr ardaloedd
  Sydd yr ochr draw i'r bedd;
Synodd f'enaid yn yr olwg,
  Teimlais annherfynol hedd;
Iesu haeddodd i mi'r cwbl,
  Gwnaeth â'i waed anfeidrol Iawn,
Dyma rym fy enaid euog,
  A fy nghysur dwyfol llawn.

472. Hyder mewn gweddi.—M. 4.

Dyfal ddysgwyliais wrth fy Nuw,
  Fe roddodd glyw i'm gweddi;
Gorphwysais ar ei air drwy'm taith
  Dug iechydwriaeth i mi.

Pa faint yw ei feddyliau hedd,
  A'i drugareddau di-ri',
Ni feddaf oriau digon maith
  Na geiriau chwaith i'w henwi.

Pan fwy'n drallodus yn y llwch,
  Heb heddwch na goleuni;
Fe'm dwg i ar ei galon gu
  A chyfyd i'm gwaredu.

473. Afon iachawdwriaeth.—M. 10.

Dyfroedd bywiol sydd yn llifo
  Dan dy orsedd di, fy Nuw,
Fel y grisial gloyw, dysglaer,
  Afon iachawdwriaeth yw;
Dyma'r ffrydiau byw rhedegog,
  Sydd yn lloni'r ddinas fry;
Ar eu glàn mae pren y bywyd
  I iachâu aneirif lu.

Dyma le i olchi'r aflan,
  Nes ei wneyd yn berffaith lân,
Dyma fan i buro'r euog,
  A'i waredu rhag y tân;
Hon yw'r ffynnon lawn o rinwedd
  Sydd yn disychedu'r llawr,
Canwn iddi, mae ei ffrydiau
  Yma'n ngwlad y cystudd mawr.

474. Dyddanwch yn Nuw.—M. 16.

Dy gariad yw fy nhrysor drud,
Dy wyneb geisiaf fi o hyd,
  Gorphwysfa f'enaid yw;
Pe collwn bob peth ar y llawr,
A chael dy bresennoldeb mawr,
  Yn ddedwydd byddwn byw.

Pa fodd y lledaf glod fy Nuw
Dros weddill f'oes sydd im' i fyw,
  Rhof iddo fawl dilyth:
Offrymu wnaf fy einioes gu,
Yn eiddo ef hyd angeu du,
  Ac eiddo ef dros byth.

475. Bara'r bywyd.—M. 4.

Dy gnawd yw'r bara, hyfryd fwyd,
  Yn unig gwyd ein henaid;
Pan welom ôl y waywffon,
  Diangwn o'n caethiwed.

Dy deml lân fo'n trigfa ni,
  I'th weled di dy hunan;
A gwledda ar dy hedd o hyd,
  Nes gado'r byd yn gyfan.

476. Cyfraith yr Arglwydd.—M. 4.

Dy gyfraith genyf sydd yn gu,
  Myfyriaf ynddi beunydd;
Fel mêl i'm genau melus yw,
  Hi'm lleinw â llawenydd.

Fy nysgu wnaeth i rodio'n glau,
  Yn llwybrau dy orchymyn;
Mae'n llawer gwell i mi ar g'oedd,
  Nâ miloedd o aur melyn.

Ac am dy iechydwriaeth di
  Hiraethais i, O Arglwydd;
Ac yn dy gyfraith anwyl gu,
  'Rwy'n ymhyfrydu beunydd.

477. Bwrdd yr Arglwydd.—M. 4.

Dy law haelionus parchwn hon,
  A'th wledd ein tirion Brynwr;
Mae yma faethlon nefol ffâr
  I bob 'wyllysgar westwr.

Hardd Bren y bywyd yma sydd
  A ffrwyth tragywydd arno;
Heb unrhyw danllyd gledd yn bod
  I'n rhwystro i ddyfod ato.

A chwpan llawn o fywiol sudd
  O'r ffynnon fry ddylifa;
A ffrydiau cariad heibio red,
  I dori'n syched yma.

478. Pabell y cyfarfod.—M. 10.

Dyma babell y cyfarfod,
  Dyma gymmod yn y gwaed,
Dyma noddfa i lofruddion,
  Dyma i gleifion Feddyg rhad;

Dyma fan yn yml Duwdod
I bechadur wneyd ei nyth,
A chyfiawnder pur y nefoedd
Yn siriol wenu arno byth.

Ffordd a drefnwyd cyn bod amser
I gael diangfa o ddrygau'r ddraig;
Mewn addewid gynt yn Eden,
Fe gyhoeddwyd Had y wraig:
Ffordd i gyfiawnhau'r annuwiol,
Ffordd i godi'r marw'n fyw,
Ffordd gyfreithlon i droseddwr
I hedd a ffafr gyda Duw.

479. Diwedd blwyddyn.—M. 10.

Dyma dymmor bron a darfod,
Blwyddyn etto wedi ffoi,
Llawer cyfaill er ei dechreu,
Sy'n y ddaear wedi ei roi;
Fe fydd llymion saethau angeu
Etto'n chwareu yma a thraw;
Lluoedd syrthia'r flwyddyn nesa',
O am noddfa ddalio'r braw.

480. Brawd a Meddyg.—M. 10.

Dyma Frawd a anwyd ini
Erbyn c'ledi a phob clwy',
Ffyddlawn ydyw, llawn tosturi,
Haeddai gael ei foli'n fwy;
Rhyddhawr caethion, Meddyg cleifion,
Ffordd i Sïon union yw;
Fynnon loyw, Bywyd meirw,
Arch i gadw dyn yw Duw.

Efe yw'r Iawn fu rhwng y lladron,
Dyoddefodd yno angeu loes,
Nerthodd freichiau ei ddienyddwyr
I'w hoelio'n greulon ar y groes;
Talodd ddyled pechaduriaid,
Anrhydeddodd ddeddf ei Dad,
Cyfiawnder sydd yn hardd-ddysgleirio,
A ninnau'n rhydd trwy'r cymmod rhad.

481. Cariad Iesu.—M. 10.

Dyma gariad, pwy a'i traetha?
Anchwiliadwy ydyw ef;
Dyma gariad byth nad ellir
Treiddio i'w ddyfnderoedd ef;
Dyma gariad gwyd fy enaid
Uwch holl bethau gwael y llawr;
Dyma gariad wna im' ganu
Yn y bythol wynfyd mawr.

Ymlochesaf yn ei glwyfau,
Ymgysgodaf dan ei groes,
Ymddigrifaf yn ei gariad,
Cariad mwy nâ hwn nid oes;
Cariad lletach yw nâ'r moroedd,
Uwch nâ'r nefoedd hefyd yw,
Ymddiriedaf yn dragwyddol
Ar anfeidrol gariad Duw.

482. Meddyg enaid.—M. 7.

Dyma Geidwad i'r colledig,
Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma un sy'n caru meddeu
I bechaduriaid mawr eu bai:
Diolch iddo, &c.
Byth am gofio llwch y llawr.

Mae myrdd myrddiwn o rinweddau
Yn ei enw dwyfol pur;
Yn ei wedd mae tegwch rhagor
Nag a welodd môr na thir;
Balm o Gilead, &c.
Anghydmarol yw ei waed.

483. Cyfaill haeddai ei garu.—M. 8.

Dyma gyfaill haeddai'i garu,
A'i glodfori'n fwy nag un,
Prynu'n bywyd, talu'n dyled,
A'n glanhau â'i waed ei hun:
Frodyr de'wch, llawenhewch,
Diolchwch iddo, byth na thewch.

Ca'dd cyfiawnder ei foddloni,
Ca'dd y gyfraith ei chwblhau,
Duw a ninnau fu'n elynol,
Cymmod llawn gawn ei fwynhau:
Fe wnaed pen, 'nawr mae'r llen,
Wedi rhwygo o'r ddae'r i'r nen.

484. Dyma ddigon.—M. 7.

Dyma iechydwriaeth hyfryd
Wedi'i threfnu gan fy Nuw;
Ffordd i gadw dyn colledig,
Balm i wella dynol-ryw;
Dyma ddigon,
Geidw euog fel myfi.

Wele foroedd o fendithion,
O am brofi'u nefol flas,
Ni bydd diwedd byth ar lawnder
Iechydwriaeth dwyfol ras;
Dyma ddigon,
Gorfoledda f'enaid mwy.

485. Uchder Ysbryd.—M. 10.

Dyn a fynai ymdderchafu,
Fe chwennychai fod yn Dduw;
Duw o'i ras a ymostyngodd,
I wisgo natur dynol-ryw:
Dyn a gollodd ei hapusrwydd
Trwy ei falchder ynfyd ffol,
Iesu, trwy ei ymostyngiad,
A ennillodd fwy yn ol.

Dyn wrth geisio dringo'i fynu
Ddarfu'n bwrw oll i lawr;
Duw, trwy ddisgyn o'r uchelder,
A'n cododd o'r dyfnderoedd mawr:
Cyfiawn Farnwr a gondemniwyd,
Fel cai'r euog dd'od yn rhydd;
A'r haul a guddiodd ei wynebpryd
Fel y gwawriai arnom ddydd.

486. Ffydd wrth draed Iesu.—M. 3.

DYNESA'r euog yn ei waed
Trwy ffydd at draed Mab Duw,
A gwel mai'r bywyd a'r iachad,
A'r adgyfodiad yw.

Trwy ffydd i'r nef â gweddi'r gwael,
Ac yntau gyda hi;
Tŷr ei gadwynau'n chwilfriw mân
Yn ngolwg Calfari.

487. Addoliad parchedig.—M. 4.

DYNESWN gyda pharch yn rhwydd,
O flaen yr Aglwydd plygwn;
Gwrandawn ei air a'i uchel arch,
Mewn gwylaidd barch addolwn.

Y gogledd a'r deheu-bwynt draw
A ddeil ei law yn ddigryn;
Ei arch dry'r dydd a'r nos yn wir,
O'r dwyrain i'r gorllewin.

Ei air reola'r gwynt ar frys,
A'r moroedd 'stormus obry;
Gwna i'r dòn gysglyd ruo'n faith,
Gwna eilwaith ei llonyddu.

Uwch wybren fry mae seintiau fyrdd
Yn moli ei ffyrdd rhyfeddol;
A'r seintiau ar y ddaear gân
Ei gariad annewidiol

488. Pwyso ar yr Iawn.—M. 6.

DYODDEFODD Iesu Grist
Ar bren'yn drist brydnawn,
Fe faeddodd uffern ddu
Yn llu wrth roddi iawn;
Disgynodd lawr i barthau'r bedd,
Daeth fynu'n fyw yn hardd ei wedd!

O ymchwel f'enaid mwy
I'w farwol glwy' ar frys;
Llef rhinwedd mawr yr Iawn
Sy'n llawn o fewn y llys;
O iechydwriaeth rad ddilyth,
Ni thraethir ei rhinweddau byth!

489. Bythol orsedd.—M. 4.

DY orsedd oedd erioed, Duw Ner,
Cyn gwneuthur ser na moroedd;
Ti ydyw'r bythol fywiol Dduw,
Pe trengai pob rhyw bobloedd.

Natur ac amser oll heb gudd
I'th olwg sydd yn eglur,
O amser ffurfiad nef a llawr
Hyd y dydd mawr eu llosgir.

Blynyddoedd tragwyddoldeb sy'n
Bresennol i ti beunydd,
'Does dim yn hen i'th olwg faith,
Na dim ychwaith yn newydd.

490. Baner yr efengyl.—M. 29.

DYRCHAFER baner goch y groes,
A seinier haeddiant marwol loes,
A ffoed cysgodau'r dywell nos,
O gwmpas daear fawr;
Aed sain efengyl drwy bob gwlad,
A golch fyrddiynau yn dy waed,
A dyro iddynt wir iachad,
Ac yna tyr'd i lawr.

491. Mawl i'r Goruchaf.—M. 11.

DYRCHAFWN a chanwn yn chwanog,
Ardderchog glod enwog ein Duw,
Hosana'n gyssonol dadseiniwn,
Clodforwn tra byddwn ni byw:
Dyrchafwn gàn miliwn, gân moliant,
Gan roddi gogoniant i'r gwr
Mewn sain Halaluia, hwyl lawen,
Dros wyneb daearen a dwr.

Sain udgorn dyrchafwn yn llafar,
Can's Brenin drwy'r ddaear yw Duw;
Teyrnasa ar bob rhyw genedlaeth,
Ei uniawn lywodraeth ef yw;
A chan mai fe bia'r deyrnwialen,
Fe ddylai Duw'n perchen gael parch;
I'w ddeiliaid rhydd freintiau goruchel—
Ei babell glyd dawel a'i arch.

492. Diwedd cynhauaf.—M. 3.

DYRCHAFWN fawl ar uchel gân,
I enw glân ein Ior:
Mae cnwd y ddaear genym ni,
O'i fawr dosturi'n stôr.

Ni gawsom hyfryd amser hau,
A dyddiau gwerthfawr iawn,
I faethu cnwd ein tir rhoed tes
A gwres i ffrwytho'r grawn.

Datganu moliant iddo mwy,
A fyddo drwy'r holl fyd;
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Rho'wn fawl ar gân i gyd.

493. Emyn foreuol.—M. 4.

DYRCHAFWN glod yn awr drwy ffydd
Am oleu dydd naturiol,
Gan foli Duw, ein nefol Dad.
Am bob rhyw rad ysbrydol.

Mae goleu dydd, a thywyll nos,
Yn dangos gallu dwyfol;
Pob peth o dan ac uwch y rhod
Sy'n dweyd am Fôd anfeidrol.

Mae'n tywallt ar bob mawr a mân
Fendithion glân rhagluniaeth;
Mae'n cynnyg i holl bobloedd byd
Ei dirion iechydwriaeth.

Am hyny rho'wn ein hufydd gred,
A'n holl ymddiried ynddo;
Cawn felly nawdd ein Tad o'r nef,
A chydag ef orphwyso.

494. Goludoedd gras.—M. 8.

DYRO i mi brofi sypiau
Hyfryd ffrwythau'r Ganaan wlad,
Blas maddeuant pur a heddwch,
Gwleddoedd hyfryd tŷ fy Nhad:

Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn.

Ceisiwch wisgoedd y briodas,
Gwisgoedd addas hardd eu lliw,
Nid oes enw teilwng arnynt,
Ond cyfiawnder pur fy Nuw:
Dewch yn awr, dyrfa fawr,
Ac eisteddwch yma i lawr.

495. Iesu yn y canol.—M. 8.

Dyro i ni wel'd o'r newydd
Mai ti, Arglwydd, yw ein rhan,
Aed dy bresennoldeb hyfryd
Gyda'th weision i bob man,
Tyr'd i lawr, Arglwydd mawr,
Rho dy fendith yma'n awr.

Ymddysgleiria yn y canol,
Gwel dy bobl yma 'nghyd,
Yn hiraethu, anwyl Iesu,
Am gael gwel'd dy wyneb pryd:
Chwyth yn gry', oddifry,
Nes gwasgaru'r cwmwl du.

496. Trefn Sion.—M. 4.

Dy saint, O Dduw, wrth d'orsedd lân
Ddyrchafant gân gogoniant:
Pell yr adwaenir d'enw da,
A'r byd a draetha'th foliant.

Dyeithriaid ddont i rodio'n llon
Gylch Sïon ein preswylfa;
A gwelant y trigfanau pur,
A'r santaidd dir sydd yma.

Mor ddoeth a gogoneddus wych
Yw'r gwaith i edrych arno;
Gwell yw nâ'r holl ddefodau fu,
Ag aur oedd wedi'u trwsio.

Y Duw y'm ni'n addoli'n awr,
Hyd farwol awr a'n tywys;
Tra b'om 'n y byd ein Duw fydd ef,
Ac yn y nef yn ddilys.

497. Cân ymwared.—M. 4.

Dysgaf droseddwyr o bob rhyw
I ofni Duw a'i garu;
Datganaf waith ei ras ar led,
A'r saint gânt glywed hyny.

O'r pydew hyll fe'm codai'n wir,
Lle bum yn hir yn gorwedd;
A rhoi fy nhraed yn rhydd a wnaeth
O rwymau caeth fy llygredd.

Gwnaeth i mi sefyll ar graig gref,
A chodi'm llef yn llafar,—
I foli gwaith ei ddwylaw glân
Mewn newydd gân ddiolchgar.

498. Nefol addysg.—M. 5.

Dysg fi, O Dduw, dysg fi pa fodd,
I ddweyd a gwneuthur wrth dy fodd;
Dysg im' ryfela â'r ddraig heb goll,
A dysg im' gonero'm mhechod oll.

Rho win ac olew yn fy mriw,
A gwisg fi'n deg â delw Duw;
A thyn fi'n llon i blith y llu
Sy'n ddysglaer yn y nefoedd fry.

Caf lechu'n dawel yno o hyd,
O swn y boen sydd yn y byd;
A'm nefoedd byth yn nef y nef,
Fydd edrych ar ei wyneb ef.

499. Gweddi Plentyn.—M. 4.

Dysg fi yn nechrau f'einioes frau,
I rodio llwybrau'r bywyd;
A chadw'th air, trwy fyw yn ol
Ei nefol gyfarwyddyd.

Fel ufydd blentyn, boed i mi
Byth wneyd dy dŷ yn gartre';
Fel caffwyf brofiad melus iawn
O'i radlawn arlwyadau.

Na âd im' ffol ymlygru byth,
Trwy fyn'd i blith rhagrithwyr,
Na rhedeg chwaith o lwybrau'r ne',
I eiste'n lle'r gwatwarwyr.

Dy santaidd waith, a'th achos di
A fo i mi'n hyfrydwch;
A gwiw gymdeithas d'anwyl blant
Fo'm mwyniant a'm dyddanwch.

500. Cyfrif fy nyddiau.—M. 10.

Dysg im' fynych gyfri'm dyddiau,
Dysg im' edrych blwyddau f'oed,
Dysg im' rifo'r rhai aeth heibio,
Nid oes etto fawr i fod;
Dacw nod y terfyn eitha'
I mi yma is y nen,
Wyth o ddegau, felly diau
Buan daw fy nyddiau'i ben.

501. Cyflawn waredigaeth.—M. 6.

Dysgleiria foreu wawr,
'Nol nos o faith barhad,
Datguddia imi'n awr,
Ryw ran o'r hyfryd wlad,
Lle rhed afonydd dwyfol ryw,
Fel môr didrai dros Sïon wiw.

A thyna'r boreu ddydd,
Caf finnau seinio cân,
Ar ol caethiwed maith,
Am waredigaeth lân;
O hyfryd ddydd! pa bryd y daw?
'Rwy'n dysgwyl fod y wawr gerllaw.

502. Diflaned pechod.—M. 6.

Dysgleirier dwyfol ras
Dros holl derfynau'r byd,
Diflaned pechod cas
O gyrau hwn i gyd;
Ac uned pob creadur byw,
Ar nefol dôn, i foli Duw.

503. Dysgwyl am iachad.—M. 14.

DYSGWYLIAF ronyn bach,
Nes d'od yn gwbl iach,
Ac yna bydd caniadau heb ri';
A'u sylwedd fydd y gwaed,
A roddodd im' iachad,
A'r goncwest gaed, ar Galfari.

Mi wnaf fy nghartref mwy,
Dan gysgod marwol glwy',
'Does noddfa arall dan y nef;
I'r euog gael glanhad,
Ond yn y ffynnon rad,
O ddwr a gwaed a gollodd ef.

504. Darpar Rhagluniaeth.—M. 5.

DY waith, O Dduw, mor faith a gair!
Holl natur orphwys ar dy air:
Dy greaduriaid yn mhob man,
Sy'n dysgwyl cael o'th law eu rhan.

Pob un a dderbyn fwyd gan Dduw,
A'u gwedd fynega mai da yw;
Ond pan y cuddi'th wyneb pryd,
Tristânt, a thro'nt i'w llwch i gyd.

Y ddaear grŷn o dan ei law;
Os cwrdd â'r bryniau, mygant draw;
Er hyn gall enaid isel mwyn
Gael gwel'd ei wedd i ddweyd ei gwyn.

Cyfarfod, Arglwydd, ynot ti
Mae'm gobaith a'm dymuniad i;
A chanu wnaf i'm Ceidwad cu,
Anfarwol Halaluia fry.

505. Dyddanydd hael.—M. 26.

DY ysbryd hyfryd hael,
Dywysodd yr holl saint;
O gâd i mi y gwana'i gael,
Anfeidrol fraint!
Fel dyfroedd gloyw clir,
I loni'r llesg a'r gwan,
Dyddanwch yn yr anial dir
I'm dal i'r lan.

O dal fi, 'rwyf heb rym,
Yn crwydro yma a thraw;
Os sefyll wnaf, ni safaf ddim,
Ond yn dy law;
O dal fy mhen i'r lan,
Yn gadarn bydd o'm tu,
A dwg o'r cystudd f'enaid gwan
I'r Ganaan fry.

506. At Iesu fel yr wyf.—M. 36.

EDRYCHAF i Galfaria,
Fel yr wyf, fel yr wyf,
Myfi'r pechadur penaf,—Fel, &c.
Nid oes o fewn yr hollfyd
Le arall am fy mywyd,
Yn nghanol môr o ofid,—Fel, &c.
Mi bwysaf ar fy anwylyd,—Fel, &c.
Yn dlawd mi nesaf ato,—Fel, &c.
A rho'f fy hunan iddo,—Fel, &c.
Er concro fy holl feiau,
A'm dynol gyfiawnderau,
Mi redaf at fy Meichiau,—Fel, &c.
Caf loches yn ei glwyfau,—Fel, &c.

507. YR AIL RAN.

YN noeth, a dall, ac afiach,—Fel, &c.
Mi ro'f fy hunan bellach,—Fel, &c.
I lawr wrth draed trugaredd,
Gan ddysgwyl am ymgeledd
I'm cynnal hyd y diwedd,—Fel, &c.
Ar ganol ffordd tangnefedd,—Fel, &c.

508. Edrych ar y groes.—M. 6.

EDRYCHAF mwy drwy ffydd
Bob dydd ar Iesu mawr,
Diflana yn ei wedd
Bob tegwch fedd y llawr;
A'm hysbryd nerthir dan bob croes,
Wrth gofio am ei farwol loes.

Wrth edrych arno mwy,
Iacheir fy marwol friw;
Rhyfeddaf byth ei wedd,
Yn d'od o'i fedd yn fyw:
Trwy ffydd yn haeddiant pur ei waed,
Maddeuant llawn i'r euog gaed.

509. Efengyl yn ffynu.—M. 36.

EFENGYL gras sy'n ffynu,
Mawr yw'r fraint, mawr yw'r fraint,
I gasglu llafur Iesu,—Mawr, &c.
Mae lluoedd maith yn barod,
Yn y Gaersalem uchod,
A thyrfa fawr yn dyfod,—Mawr, &c.
Dan faner Iesu isod.—Mawr, &c.

510. Taeniad efengyl.—M. 3.

EFENGYL Ior ymdaeno ar led,
Drwy'r hollfyd heded hi;
Ei hyfryd sain gyhoeddo'n llawn,
Yr Iawn fu ar Galfari.

Dangosed i bob eiddil gwan
Sy'n griddfan dan ei loes,
Yn ngwyneb llwyth o bechod llym,
Fod grym yn ngwaed y groes.

Mae ganddi ras i'r truan noeth,
A chyfoeth hawdd ei gael;
Ac eli da i wella'i glwy',—
Pa beth sydd fwy o fael?

511. Sylw Duw o'r isel.—M. 5.

EHEDED bythol glod i'n Duw,
Er datgan mor haelionus yw;
O'i ras ymostwng y mae ef
I dderbyn mawl angylion nef.

A holl achosion llwythau'r byd,
Mae'n lywodraethu yr un pryd;

Ond i eneidiau difalch prudd,
Ei gyngor a'i ymgeledd rydd.

Ein cwyn a'n dagrau allwn ddwyn
I fynwes ein Gwaredwr mwyn;
Fe'n gwrendy mewn galarus awr,
Gan esmwythâu ein beichiau mawr.

512. Agoriad addoldy.—M. 4.

Ei enw gynt yn Sion wiw,
A'i arch wnaeth Duw sefydlu;
A'r llwythau yno ddoent dair gwaith
Bob blwyddyn faith i'w foli.

Ond 'nawr nid rhaid i ni roi tro
Cyn belled oddicartre';
P'le bynag cyrcha'r seintiau byw,
Mae tŷ i Dduw yn ddiau.

513. Iesu'n gaeth gan angeu.—M. 5.

Ein cadarn Ior, carcharor fu
Dan dew gysgodau angeu du;
Ond o'i gaeth garchar daeth yn rhydd,
A chododd i dragwyddol ddydd.

Edrychwch ddeiliaid ffydd drwy'r llen,
Mae ar ei orsedd uwch y nen;
Gwelwch y pur ogoniant sy
Yn nhegwch gwedd ei wyneb cu.

Teyrnasu'n awr mae'r Prynwr byw,
Uwch myrdd o fwyn gantorion gwiw;
A melus fawl i'w gariad sy
Yn seinio drwy'r holl fröydd fry.

514. Calon glöedig.—M. 5.

Ein calon galed, er ei chloi
Na ddichon ofnau mo'i chyffroi
Trwy ddim bygythion ag a glyw,—
Dattodir hon gan gariad Duw.

Y galon gareg ymaith tyn,
Na chym'ro'i meddalhau fel hyn,
Ac o drysorau gras rhydd E
Un fo dynerach yn ei lle.

Ein holl euogrwydd ymaith ffy,
Er bod ei liw fel uffern ddu;
I'r môr ein beiau teflir hwy,
Nas gellir cael mo honynt mwy.

515. Hosana drwy'r bydoedd.—M. 4.

Ein cân, O Dduw, i'th orsedd fry,
Anfonwn ni i fynu;
Gogoniant byth i'r Tri yn Un,
A ddug i ddyn ddaioni.

Daioni Duw byth a fawrhair,
Efe â'i air a'n ffurfiodd;
A chododd ni o'n cyflwr caeth,
A'n hiechydwriaeth weithiodd.

Hosana seinied yr holl nef,
Ag unawl lef yn llawen;
Hosana atebed bryn a bro,
Nes siglo y ddaearen.

516. Cyrff breuol.—M. 5.

Ein cyrff sy'n iraidd fel gwellt glas,
F'ai'n teg flodeuo yn y maes;
Pan chwytha'r awel dros y tir
Ebrwydd y gwywa'r glaswellt îr.

Fynnonau fil i'n bywyd sydd,
Os un a sycha marw fydd;
Rhyfedd i delyn ddal yn nghyd
Ei thànau fil mewn cywair c'yd.

Tra meddom anadl ar y llawr,
Moliannu wnawn ein Crëwr mawr;
A chyfaddefwn wrthyt ti,
O Dduw, mor egwan ydym ni.

517. Heddyw ac Efory.—M. 4.

Ein doe aeth heibio fel ffrwd gref
Ni welwn ef ond hyny;
Ansicr hefyd y'm ar daith,
Y gwelwn chwaith efory.

Mae etto dranoeth mawr i dd'od
Anwybod i'w wynebu;
Gwae fydd i ni o golli'r gamp,
Os metha'n lamp y fory.

Y rhai sydd heddyw yn eu hoes
Dan loes yn dilyn Iesu,
Yn ddiwael dorf ar ddelw Duw,
Hwy fyddant fyw efory.

Er griddfan heddyw dan y baich,
A dynol fraich yn pallu;
Nid yw ond byr dymhestlog ddydd,
Tragwyddol fydd efory.

518. Adferiad iechyd.—M. 4.

Ein Duw sy'n haeddu mawl bob tro
Pan godom o gyfyngdra;
A dysgwn ninnau gân o glod,
O dafod Hezecia.

Pan yr ymegyr pyrth y bedd,
Gall Duw o'i ryfedd gariad,
Ond troi allweddau angau caeth,
Wneyd iddynt eilwaith gauad.

Ein bywyd afiach, llesg a brau,
Ei wella mae yn holliach;
A'n bai i'w ôl mae'n daflu'n hael
Na bo i'w gael byth mwyach.

519. Helbulon amser.—M. 5.

Ein dyddiau, Och! sy'n fyrion iawn,
O flinder a thrueni'n llawn;
'Chydig a drwg, medd Jacob gynt,
A'r patriarch wyddai'n dda eu hynt.

Rhyw derfyn cul o amser yw,
A roed i ddynion yma i fyw;
A phoen a phechod red o hyd,
Trwy'r trugain mlwydd a deg i gyd.

Par'toed Duw'r gras fy enaid cu
I ddedwydd fro y nefoedd fry;

Mae yno wynfyd llawn didrai
A phur ogoniant i barhau.

520. Ymostyngiad Crist.—M. 4.

Ein dyled yw dyrchafu clod
Y grasol Fod anfeidrol;
Am sylwi ar bechadur gwael
Mae'n haeddu cael ei ganmol.

Mae'n Esgob mwyn, mae'n Fugail da,
Diwallu wna eneidiau;
I geisio'r goll oedd lesg a chaeth,
I'r ddaear daeth yn ddiau.

Bu fyw a marw er ein mwyn
Gwnaeth ffordd i'n dwyn yn rasol.
Er grym gofidiau daear lawr
I'r lle mae'n awr yn eiriol.

521. Ffydd fywiol.—M. 5.

Ein gwaith a'n tybiau'n ofer fydd,
Os oer a marw yw ein ffydd;
Nid oes ond bywiol ffydd o'r nen
A'n dwg at Grist ein bywiol Ben.

Ffydd bura'r galon o bob pla,
A ffydd drwy gariad gweithio wna,
Ffydd ymlid ffwrdd bob cysur gau,
A chodi'r serch i'r nef y mae.

Ffydd sy'n gorchfygu drygau'r byd,
Ffydd goncra uffern er ei llid.
Ffydd lwydda yn yr olaf awr,
A'i gwobr fry, trwy ras, fydd fawr.

522. Amser.—M. 1.

Ein hamser a ehed,
Ehed o hyd yn gynt
Na thòn y môr, er cynted rhed,
Yn wyllt o flaen y gwynt.

Ein hamser a ehed
Uwch llong pan ar ei thaith,
Gyflymaf dan ei hŵyl y rhed
Dros dònau'r eigion llaith.

Ein hamser a ehed,
Yn gynt nâ'r eryr cryf
Pan fo ei esgyll llawn ar led
Yn disgyn ar ei bryf.

Mwy cyflym nas gall iaith
Byth ddweyd gyflymed yw;
Am hyn ystyried dyn ei waith
A'r modd y dylai fyw.

523. Modd i'r euog fyw.—M. 3.

Ein Harch-offeiriad mawr yw'r Oen,
Bu farw dros ein bai;
Anfeidrol Geidwad, Duw a dyn
Ni thal'sai un oedd lai.

Am hyn nesâwn at draed yr Ion,
Nesawn â chalon friw;
Mae yn yr Iawn anfeidrol rodd
Oes fodd i'r euog fyw.

524. Gwobrwyon Barn.—M. 4.

Ein Harglwydd ar y cwmwl daw
Ac o'i gylch draw dân fflamllyd;
Taranau, mellt, a th'wllwch fydd
Yn dwyn y dydd dychrynllyd.

Clyw'r nef ei lais, ac oddi fry
I weini daw angylion;
A lluoedd uffern ofnant farn
Y cadarn lywydd cyfion.

Ond cesglir ato ei holl saint
Drwy aberth wnaent eu cymmod;
A chodir hwynt i fri a hedd
Mewn gwlad o wledd ddiddarfod.

525. Ffrwyth llafur Crist.—M. 19.

Ein Harglwydd cu
Fu'n hau mewn dagrau blin
Mewn lludded trwm,
Ar ddu dymhestlog hîn;
Ond cnwd a geiff
Mewn gwiw orfoledd llawn,
Fe'i molir byth
Am rym ei ddwyfol ddawn.

Fel blaenffrwyth aeth
I'r ardal nefol bur;
Toreithiog gnwd,
A dardd o'i ddyfnaf gur,
Cynhauaf llawn
Cyn hir a geir ynghyd,
I fynwes nef
O bedwar cwr y byd.

526. Emyn teulu.—M. 16.

Ein heinioes, O mor felus fydd,
Os treulio wnawn yn gu ein dydd,
Yn ofn a chariad Duw;
Cyd-ogoneddu'r nefol Ior,
Creawdwr mawr y tir a'r môr,
Sydd waith hyfrydol gwiw.

Cyd-bererinion y'm yn awr,
Tua'r Ganaan wiw nefolaidd wawr,
Trwy fyd trafferthus ffol;
Yn llaw, yn llaw, ni awn yn mlaen,
Trwy'r llaid a'r llwch a'r llif a'r tân,
Nes gado'r byd ar ol.

'Nol tirio i dre yr ochr draw,
Ni gawn heb ofni brenin braw,
Heb bechod ac heb boen,
Gyd-seinio'r gu nefolaidd gainc,
Yn wych ein llef o flaen y fainc,
Dros fyth i Dduw a'r Oen.

527. Gwaed yn cyfiawnhau.—M. 5.

Ein henaid euog wylo mae
Nes gwel'd y gwaed sy'n cyfiawnhau,
Yna fe ddeffry ac a gân
Yr Arglwydd fy nghyfiawnder glân.

Ein natur wedi ei llygru mae,
A'i ysbryd ef sy'n ei glanhau,
Mae yn ei waed fath rinwedd faith
I olchi a maddeu ar un waith.

Y carcharorion mae'n ryddhau,
Trwy ddryllio eu haiarnaidd iau,
O Iesu ynot ti y cawn,
Gyfiawnder, nerth, a doethder llawn.

528. Tosturi Crist.—M. 5.

Ein henaid sydd am garu'r Oen;
Ac O na allem godi'n llef
Mewn mawl tragwyddol am ei boen
A'i gariad a'i dosturi ef.

Erioed ni bu'r fath gariad mawr,
Tywysog nefoedd marw wnae';
Tywalltai'i einioes ar y llawr
I'n gwared ni rhag bythol wae.

Er tori deddfau'r hwn a'n gwnaeth
Oddiwrth farwolaeth rhoes ni'n rhydd,
Dwyn ar y groes ein cosp a wnaeth
A hoeliodd wrthi'r felldith brudd.

Rhy fyr yw'n cân a'n deall cul
I ddweyd tosturi'r Arglwydd nef,
Pe b'ai bywydau genym fil
Cânt fod yn eiddo iddo ef.

529. Gorphenwyd.—M. 1.

Ein Hiesu anwyl ni
Oddefodd ar y groes,
Er nad oedd ynddo goll na bai,
Holl boenau angeu loes.

Trwy iddo dalu Iawn,
Dyhuddwyd llid y nef:
Dan eithaf ingoedd angeu du,
"Gorphenwyd," oedd ei lef.

Gorphenwyd agor ffordd
I'r hoffus nefol wlad,
Gorphenwyd gwisg cyfiawnder gwiw,
Caed iechydwriaeth rad.

530. Enaid a chorff y duwiol yn cyfarch eu gilydd yn yr adgyfodiad.—M. 4.

Ein hundeb gynt oedd fyr a brau,
Daeth angeu i'n gwahanu;
Ond ni raid gwylio min ei gledd,
Nac ofni'r bedd ond hyny.

Hoff newydd gyfanneddu gawn
Yn mysg y cyfiawn perffaith,
Yn gyfranogion o'r llesâd,
Heb fyth ddidoliad eilwaith.

Os buom gynt mewn anial maith,
Heb ddysgu'r iaith ysbrydol,
Yn fyrdd cywirach yma cawn
Arferu'r ddawn anfarwol.

Gadawsom draw o'n hol i gyd,
Wael sorod byd amserol;
Mor wag oedd llesg drysorau'r llawr
Wrth bethau mawr tragwyddol.

531. Emyn hwyrol.—M. 5.

Ein mawl i Dduw yn deilwng sydd,
Am werthfawr drugareddau'r dydd,
Mae'n dda, yr hwyr, am ddoniau rhad,
Aberthu mawl i'n dwyfol Dad.

Ein cwsg fel rhith o angeu yw,
A delw'r bedd ar deulu'r byw;
Arwydda'n codiad yr un wedd,
Ein hadfywhad o lwch y bedd.

Rhag pwys peryglon o bob rhi',
Yn oriau'r nos cysgoder ni,
Os gwelwn etto newydd ddydd,
Boed in' ei dreulio oll drwy ffydd.

532. Crist oll yn oll.—M. 13.

Ein pabell rhag y gwres,
Ein lloches rhag y llid,
Ein tarian rhag picellau'r ddraig,
Yw Had y wraig o hyd;
Ein Meddyg yw efe,
Ein ple, er maint ein pla,
Ein Tywysog yn y niwlog nos,
A'n noddfa ddiddos dda.

O Iesu, Brenin nef,
Fy Mhriod a fy Nuw,—
Yn eithaf pell o dŷ fy Nhad,
Mewn anial wlad 'rwy'n byw:
Mewn ofnau 'rwyf a braw,
Bob llaw gelynion sydd,
O Iesu, brysia, saf o'm rhan,
A thyn y gwan yn rhydd.

533. Gofidiau Crist.—M. 5.

Ein poenau oll anghofiwn hwy,
A'n calon na rwgnached mwy;
Beth yw ein dyoddefiadau ni
At ddyoddefiadau Iesu cu?

Gwel'd yma 'ry'm mewn eglur wedd,
Farwolaeth Crist, Tywysog hedd;
Pob un obeithia iddo'n gry'
Roi drosto'i waed—a'i ofnau ffy.

Oddiyma cwyd ein difalch ffydd
Tra wrth y bwrdd yn eistedd bydd,
A hed i ben Calfaria fry
I weled cur ein Harglwydd cu.

534. Nerth yr Ior.—M. 4.

Ei uchel nerth a draetha'r Iôr,
Dros dir a môr yn gyfan;
Ei lais a rwyga'r cwmwl gwlaw,
A'i fellt ddaw'n folltau allan.

Ei daran rua drwy y nen
A'r nef uwch ben gynhyrfant;
A'r ofnus wyllt ewigod draw,
Gan drwst y braw a lamant.

Yr Arglwydd byth yn Frenin bydd,
Yn Llywydd pob llifeiriant;
Ond yn ei eglwys trig yn wir,
Lle traethir ei ogoniant.

Ac yno mewn tawelach iaith
  Fe draetha'i faith gynghorion;
D'wed, er tawelu'r galon brudd,
  Mai heddwch fydd i'r cyfion.

535. Eiriolaeth Crist.—M. 26.

Eiriolaeth Crist sydd gref,
  Fe lwydda gweddi'r gwan,
Mae'n eistedd ar orseddfainc nef
  'Nawr ar fy rhan;
Mae yno gyda'r Tad
  Yn dadlu'r Iawn a roes:
Cyn hir caf finnau lwyr iachâd,
  Trwy rîn ei loes.

536. "Llusern yw dy air."—M. 6.

Eisteddai teithiwr blin
  Ar làn yr afon ddu;
A'i lusern yn ei law,
  Ddysgleiriai ar y lli:
Yn ngolau hon fe wel y làn,
Ac engyl fyrdd o gylch y fàn.

Wrth ddisgyn at y dŵr
  Hyd risiau brenin braw,
Fe ddeil y lamp o hyd,
  Yn oleu yn ei law;
Gall teulu'r làn, er brig y dòn,
Ei wel'd yn d'od wrth lewyrch hon.

Adnebydd yn eu plith
  Ei Arch-offeiriad cu,
Yn d'od i làn y dŵr
  I dòri grym y lli:
Ac â i wlad, lle na raid cael
Byth lusern mwy, na goleu haul.

537. Serch ar Iesu.—M. 10.

Enaid blin sefydla'th olwg
  Ar yr Iesu, fel dy nôd;
Nid oes arall dâl ei geisio,
  Nac i bwyso arno'n bod:
Câr ef nes anghofio'th ofid,
  Yma ar y ddaear ddu;
Câr ef nes i'th serch ëhedeg
  Ato i'r Gaersalem fry.

538. Croesi'r Iorddonen.—M. 10.

Enaid cu, mae dyfroedd oerion
  Yr Iorddonen ddu gerllaw,
Etto gwel mae'r ddinas santaidd
  Ar y làn yr ochr draw;
Yno mae dy hen gyfeillion
  Wedi dianc uwch pob clwy',
Yn dy aros, er cael cyfran
  O'u dedwyddyd hyfryd hwy.

Paid ag ofni, bèr yw'r fordaith,
  Ac mae'r Arch-offeiriad cu,
Yn dy aros yn y dyfroedd
  Er dy ddwyn i'r ddinas frŷ;

Gwel ei heuraidd byrth yn agor,
  Drwy y niwl sy'n toi y glŷn;
Gâd yr anial, brysia adre'
  I drigfanau Sïon frŷn.

539. Neges Crist i'r byd.—M. 15.

Eneidiau gostyngedig, dewch,
Ac at eich tirion Dduw nesewch,
  A newydd gerdd a melus gân:
Mynegwch ei rinweddau i maes
Clodforwch ei ddiderfyn ras
  A sain tafodau fawr a mân.

Rhyfedd mor fawr oedd cariad Duw
At ddynion gwael, colledig ryw!
  Anfonai'i anwyl Fab i'r byd!
Rhoi iddynt Fywyd a Rhyddhad
Trwy golli drostynt hwy ei waed
  Er haeddi bod byth dan ei lid.

Nid arfau dial, Iesu mwyn,
Oedd genyt yn dy law yn ddwyn,
  I gyfiawn gospi dynolryw:
Ond rhad drugaredd oedd i gyd
Yn llywodraethu ar y pryd
  Daeth i ni iechydwriaeth wiw.

540. Rhagluniaethau tywyll.—M. 9.

Eneidiau llesg ac ofnus,
  Cymmerwch gysur cry',
Mae'r holl gymmylau duon
  Sy'n creu'r fath fraw i chwi,
Yn llawnion o drugaredd,
  A thòrant yn y man,
Yn gafod o fendithion,—
  Hyn fydd eich dedwydd ran.

Na fernwch Dduw wrth deimlad,
  Ond bydded genych ffydd,
I bwyso arno'n gadarn
  Am nerth yn ol eich dydd;
Tu draw i ragluniaethau
  Fo'n gwgi'n erchyll iawn,
Mae'n cuddio wyneb siriol
  Sy'n gwisgo gwenau llawn.

541. Agor pyrth y nef.—M. 13.

Ennillodd Iesu'r dydd,
  Mewn buddugoliaeth lawn,
Yn erbyn uffern fawr ei hun,
  Yn gryno un prydnawn;
Agorodd byrth y nen,
  Gan rwygo'r llen, i'r rhai
Cystuddiol gorthrymedig gwan,
  Sy'n griddfan dan eu bai.

Cyflawnir gair fy Nuw,
  A doed hi fel y del;
Holl ddoeth amcanion nefoedd fry,
  Bob sillaf sydd dan sel;
Ac ar ei air a'i nerth,
  A dwyfol werth ei waed,
Mi af drwy'm holl elynion hŷ'
  I mewn i dŷ fy Nhad.

542. Nerth Tywysog gras.—M. 56.

Er amled y gelynion sydd,
Trwy fraich sydd gref ni gawn y dydd,
Un sydd a'i wisg yn goch gan waed
Fŷn ei elynion dan ei draed;
O Bozra daeth i maes,
Tywysog mawr ei ras;
Daw, daw y dedwydd ddydd
I'r gwaredigion dd'od yn rhydd.

543. Angor enaid.—M. 5.

Er bod gelynion o bob rhyw,
Am rwygo f'enaid oddiwrth Dduw;
Byth, byth y pery'r cariad rhad,
A seliodd Iesu gynt â'i waed.

Llŵ'r Arglwydd, a'i addewid gref,
Sy'n cadarnhau'i gyfammod ef;
Mae sail fy ngobaith i mewn gwaed
Ar gadarn lŵ'r addewid rad.

I'r noddfa hon fy enaid ffy
O'r temtasiynau llymaf sy',
Gobaith yw f'angor gref ddigryn
Pan chwyddo tònau'r 'stormydd blin.

544. Duw dros Sion.—M. 56.

Er bod rhai o benaethiaid byd
Yn ymgynghori 'nawr yn nghyd,
Yn erbyn Sion wan a'i phlant
Mae Duw wrth raid o blaid ei saint;
Y gair lefarodd ef,
A saif tra pery'r nef,
P'le, p'le mae neb îs nen
All rwystro'i waith i ddod i ben.

Mae'r galon galed gyndyn gâs,
A'i llygredd cryf yn erbyn gras;
Ond er mor ddwys rhodd pechod glwy',
Mae'r feddyginaeth fawr yn fwy;
Daw'r tystion ar eu traed,
Bydd cânu am y gwaed,
Clod, clod a fydd eu cân
Pan welir tir a dŵr yn dân.

545. Gweddi.—M. 4.

Er bod rhyw lu o rwystrau cas
At orsedd gras i'n hatal,—
Pan unwaith profom flas y gwaith
Awn eilwaith ato'n ddyfal.

Mae gweddi'n chwalu'r cwmwl du
I'r nefoedd fry mae'n esgyn;
A phan y llefo hon drwy ffydd
Bendithion sydd yn disgyn.

O Arglwydd dyro di dy ddawn
I'n dysgu i iawn weddio
Drwy'r Ysbryd Glân, a'i gymhorth llawn
Ac yna cawn ein gwrando.

546. Gobaith i'r euog.—M. 9.

Er bod yn halogedig
O'm coryn hyd fy nhraed,
Mae'r ffynnon yn agored
Lle cafodd myrdd lanhâd;
Mae rhinwedd yn ei dyfroedd
I olchi'r dua'n wyn,
Pwy ŵyr na chaf fi gânu
Byth am y dyfroedd hyn.

Er 'mod i fel troseddwr
Yn haeddu melldith Duw,
Mae'r cyfiawn wedi marw
I'r euog i gael byw;
Trwy gredu yn ei enw
Ca'dd miloedd gyfiawnhad;
Fy enaid gwerthfawroga
Ei aberth ef a'i waed.

547. Milwrio i ddarfod.—M. 9.

Er bod yn ngrym y rhyfel,
Yn nghanol mŵg a thân;
A bod gelynion creulon
O f'ol ac o fy mlaen;
Er dyfned yw fy archoll,
Ce's olew yn fy mriw,
A thyna'r pa'm 'rwy'n cânu,
A thyna'r pa'm 'rwy'n fyw.

Mi gysgaf hûn yn esmwyth,
Ar fyr yn llwch y llawr;
Yn dawel wedi gorphen
Milwriaeth f' Arglwydd mawr;
Caf fuddugoliaeth hollol
Cyn hir ar ben fy nhaith;
Heb elyn i fy mlino
Am dragwyddoldeb maith.

548. Sabboth nefol.—M. 4

Er bod yn hir mewn anial fan,
Yn 'mofyn am orphwysfa;
O'r diwedd daethum, rhyfedd fraint!
I'r man mae'r saint yn gwledda.

Caf fwyta ffrwythau prenau plan,
Ar hyd glàn afon bywyd;
Tragwyddol Sabboth gyda'r Oen,
Heb friw, na phoen, na gofid.

Ymborthi caf, mewn gwlad sy'n ol,
Ar ffrwythau nefol hyfryd;
Ac yfed byth heb boen na chur,
O afon bur y bywyd.

Y wisg a'r goron gaf i'm rhan,
Sy'n nghadw gan yr Iesu;
Ac hyfryd balmwydd yn fy llaw,
Heb boen na braw i'm drygu.

549. Arferaf weddi.—M. 4.

Er cael fy nrygu gan y byd,
A goddef llid a chyni,
Wrth orsedd Iôr ymostwng wnaf
Ac a arferaf weddi.

Yn nghanol adfyd poen a chri,
Fy Ner wnaf fi addoli;

Ni ŷr ef neb o'i ddrws i bant
Ag a arferant weddi.

Cydunwn bawb ag uchel lef,
Ei enw ef i foli;
Mae Duw yn hoffi clywed llais,
A gwrando cais ein gweddi.

550. Cwrddyd yn y nef.—M. 3.

Er colli ein cyfeillion hoff
Yn yr Iorddonen gref,
Mae'n felus meddwl, etto 'nghyd
Cawn gwrddyd yn y nef.

Cymhwyser ni drwy'r Ysbryd Glân,
A'i rasol ddoniau ef,
Nes delom fel t'wysenau llawn,
Yn addfed iawn i'r nef.

551. Balm rhag pla pechod.—M. 47.

Er chwilio'r holl fyd,
A'i fwyniant i gyd,
Nid ynddo mae'r balm a'm iachâ;
Yn Iesu â'i friw,
A'i hyfryd wedd wiw,
Caf iechyd o'm penyd a'm pla.

O'r nefoedd fe ddaeth
I wared rhai caeth,
Fe'i gwelwyd mewn preseb oedd wael;
Ar groesbren fe'i caed,
Rhodd drosom ei waed;
Ei debyg p'le gellir ei gael?

Cydseiniwn ein cân,
Fel adar mwyn mân
Yn lleisio ar doriad y dydd;
Mae'r Iesu mwyn hael
Yn derbyn rhai gwael,
Daeth haf ar drueiniaid y llawr.

552. Ar farwolaeth maban.—M. 4.

Er d'od am dro i'n daear ni,
I brofi'r cwpan chwerw;
Ni fynai aros is y nen,
Trodd draw ei ben i farw.

Dros enyd fer fe rodd ei glust,
I wrando'n trist riddfanau:
Ond buan buan blino wnaeth,
A hedodd ymaith adre'.

Ni chawn ei weled yma mwy,
Dan unrhyw glwy'n galaru;
Mae wrth ei fodd ar Sïon fryn,
A'i dannau'n dyn yn canu.

553. Unig Iachawdwr.—M. 11.

Er dyfned mae pechod yn clwyfo,
Mae Iesu yn llwyddo i'w wellhau,
Er cymmaint ddaeth ato er Adda,
Mae croeso i'r oes yma nesâu;
Ni fethodd na'r Meddyg na'r moddion,
Ac hefyd mae'r rhoddion yn rhad:
Ni cheir byth Iachawdwr ond Iesu,
All roi i bechadur iachad.

554. Byr gystuddiau.—M. 9.

Er dyoddef blin gystuddiau,
Peth am ddeng niwrnod yw;
Try pob peth er daioni
I'r rhai sy'n caru Duw;
Ac hefyd, o'i drugaredd,
Ceir nerth yn ol y dydd,
A chymmorth fel bo'r achos,
Ond i ni fyw drwy ffydd.

Am hyny byth diolchaf
Fy mod hyd heddyw'n fyw,
Er gwaethaf grym y gwyntoedd,
Fy Nhad sydd wrth y llyw;
Af, bellach, drwy'r tymhestloedd,
Yn dawel yn ei law,
Nes taflo'r dôn ddiweddaf
Fi'n iach i'r porthladd draw.

555. Hau mewn dagrau.—M. 4.

Erfyniaf ras y nef i'm dal
Rhag pob anwadal nwydau,
Boed imi'r hyn o dan y ser,
A farno'm Ner yn orau.

Y rhai sy'n hau mewn galar blin,
Gânt yfed gwin gogoniant;
Dedwyddwch llawn gorphwysfa glyd,
Mewn nefol fyd a fedant.

556. Heddyw ac efory.—M. 4.

Er geni heddyw ddyn i'r byd,
Mewn bywyd i anadlu,
Rhaid myn'd i'r bedd o'r man y b'o,
At feirwon etto fory.

Mae dyn fel gwyw lysieuyn gwan,
Mor fuan mae'n diflanu!
Blodeua heddyw'n deg ei wedd,
Ond yn y bedd y fory.

Ymdrechwn heddyw 'mhlaid y ffydd,
Mae'n dydd yn min diweddu;
Rhy hwyr, ond odid, ar y daith,
Fydd dechreu'r gwaith y fory.

557. Cân plant Ysgol Sul.—M. 4.

Erglyw ein mawl, O Arglwydd mâd,
Am ran yn ngwlad y breintiau;
Am feddu grym, a moddion gras
Cyfaddas i'n cyflyrau.

Da ini fyned dan yr iau
Yn nhyner ddyddiau ie'nctyd;
A gwell yw gallu felly fod
Hyd ddiwedd ystod bywyd.

558. Cwpan ing Iesu.—M. 45.

Er gwaeled ein cyflwr,
Ein Prynwr mewn pryd

A wnaethpwyd yn felldith,
Er bendith i'r byd:
Fe yfodd holl waddod
Y cwpan i'r gwaelod;
Boddlonwyd y Duwdod,
A'i gymmod a gawn;
Y ddeddf a ga'dd iawn,
Fe'i talwyd yn llawn;
Boddlonwyd y Duwdod,
A'i gymmod a gawn.

559. Rhyddid y nef.—M. 4.

Er gwaethaf tônau trallod blin
A stormydd gerwin uchel;
Cyn hir dwg angeu'n henaid cu,
I'r porthladd fry yn ddiogel.

Yno, i wneyd arch Crist yn rhwydd,
Mewn hwyl, cawn ebrwydd symud;
Llygredd na llesgedd ni ddaw'n wir
I mewn i dir y bywyd.

Cawn yno felus seinio'i maes
Ei ryfedd ras anfeidrol,
Pob calon fydd yn llawn o dân
Wrth eilio'r gân dragwyddol.

Ei enw santaidd anwyl E'
Fydd yn ein gene'n wastad;
A'i nefol iechydwriaeth Fo
Fydd diweddglo pob caniad.

560. Cyffes yr afradlon.—M. 15.

Er i mi adael tŷ fy Nhad,
A chrwydro i estronol wlad,
A byw'n afradlon drwy fy oes,
Mae groesaw i mi droi i dre',
Wrth fwrdd fy Nhad mae etto le,
Caiff Iesu glod am angeu'r groes.

561. Dyfroedd adfyd.—M. 21.

Er im' golli mwyn gysuron,
Gwael ddifyrwch daearolion,
Gwên yr Iesu a'i gyflawnder,
Dry y groes yn gân ar fyrder.
Dyfroedd afon gras y bywyd
Sy'n pereiddio dyfroedd adfyd;
Hyn a dry fy mhoen yn gysur,
Hyn wna'm nos yn oleu eglur.

562. Troi i dy ein Tad.—M. 13.

Er i ni grwydro'n hir
Yn mhell o dir ein gwlad,
Mae etto alwad ar ein hol
I dŷ ein nefol Dad;
O brysiwn bawb mewn pryd
Am fywyd ato 'fe,
Mae gwledd yn barod ger ein bron,
Ac i dylodion le.

563. Gweled heb ddrych.—M. 3.

Er maint a glywais gan bob dawn,
Am Grist o bryd i bryd;
Yr hanner ni fynegwyd im',
Mae'n hawddgar oll i gyd.

Gwyn fyd y rhai drig yn ei dŷ,
Heb fyned allan mwy;
Nid oes neb byth all adrodd maint
Eu hedd a'u gwynfyd hwy.

Ond O! beth fydd yr olwg wych
Geir yn y gwynfyd pell,
Wrth edrych arno heb un drych,
Yn llewyrch gwlad sydd well.

564. Dwr heb drai.—M. 33.

Er maint fy meiau o bob rhyw,
Er cymmaint yw eu rhif;
Ac er fy nwydau cyndyn chwith,
Sy'n para byth yn gryf;—
Afon loyw redodd allan
O orseddfa'r nef ei hunan,
I olchi'r euog, cas, a'r aflan,
Halaluia, Halaluia,
Dŵr heb ddarfod, dwr heb drai.

565. Blas y nefol wledd.—M. 14.

Er maint fy mhechod cas,
Mwy ydyw gallu gras;
Caf brofi blas y nefol wledd;
Trwy rinwedd gwaed yr Oen,
Fu'n bur yn dyodde'r boen,
I roddi in' dragwyddol hedd.

Nid oes un trysor drud,
Fel ef o fewn y byd,
Mae'n gwneyd fy ysbryd llesg yn llon;
A llawen byddaf byw,
Yn noddfa bur fy Nuw,
Dan holl gystuddiau'r ddaear hon.

566. Taith yr anial.—M. 40.

Er mor chwerw dyfroedd Mara
Mewn anial wlad;
Ac er trymed croesau Baca
Mewn anial wlad;
Derfydd pob rhyw chwerwon ffrydiau,
Ceir y goron yn lle'r croesau,
Wedi hyn bydd tyn y tannau,
Yn nhŷ ein Tad.

Henffych foreu cawn gyfarfod
Yn nhŷ ein Tad;
Byth ni ddaw na phoen na phechod
I dŷ ein Tad;
Pawb a'u dagrau wedi eu sychu,
Yn egniol gyd-dderchafu
Enw'r mwyn Waredwr Iesu,
Yn nhŷ ein Tad.

567. Na wrthod fi.—M. 3.

Er mwyn dy ufydd angeu drud
Ar fynydd Calfari,
A'th fwyn eiriolaeth yn y nef,
O Dduw, na wrthod fi.

Pan yn wynebu tônau'r hen
Iorddonen ddofn ei lli',
I deithio'n unig drwy y glyn,
O Dduw, na wrthod fi.

A phan y deui yr ail waith,
Mewn mawredd, parch, a bri,
I farnu'r byw a'r meirw 'nghyd,
O Dduw, na wrthod fi.

568. "Maddeu im'."—M. 36.

Er mwyn griddfanau Iesu,
Maddeu im', maddeu im', [im',
A'r iawn ga'dd gynt ei roddi,—Maddeu
Er tyned yw fy meiau,
Mae'r gwaed yn fwy ei bwysau,
A hwnw wyf yn ddadleu;—Maddeu im',
Bron treulio mae fy nyddiau,—Maddeu im'.

569. Adgyfodiad a barn.—M. 5.

Er myn'd i lawr dros dro i'r pridd,
Daw'r corff i'r lan o'r bedd ryw ddydd;
Cwyd llu fel gwlith y boreu wawr,
Yn nydd y farn o lwch y llawr.

Bydd cyrff y saint fel corff mab Duw,
A cher ei fron dros fyth cânt fyw;
Ond os heb Grist mawr fydd y poen,
Heb le i ffoi rhag llid yr Oen.

570. Lloches yn Nghrist.—M. 6.

Er nad oes yn y byd
Ond gofid dwys i'w gael,
A chwerwder ar bob bron,
A gweigion gibau gwael;
Yn angeu'r groes, er hyn, mae hedd,
All dori grym holl ofnau'r bedd.

'Does noddfa ddiddos im',
Nac unrhyw loches glyd
Dan gysgod dim sydd ar
Y ddaear fawr i gyd;
Am hyny, ffo'f at Iesu mwy,
A llechaf yn ei farwol glwy'.

571. Cynnaliaeth y gweiniaid.—M. 30.

Er nad wyf fi ond gwan,
Os deil fy Nuw fi'r lan,
Ni'm maeddir ddim:
Mae nerth fy Ior yn fwy
Nâ'u holl fyddinoedd hwy,
Ni roddant imi glwy',
Er maint eu grym.

Mi gerddaf tua'r wlad,
Bwrcasodd dwyfol waed,
Y mae gerllaw;
Caf oleu'r golofn dân,
I'm dwyn drwy'r môr yn lân,
Ac mi gaf seinio cân,
Yr ochr draw.

572. Mewn angladd.—M. 4.

Er rhoi y corff yn ngwaelod bedd,
I orwedd a malurio;
Daw boreu hyfryd yn y man
Y cwyd i'r lan oddiyno.

Cawn gyd-gyfarfod fry mewn hedd,
Tu draw i'r bedd yn dawel;
Ac uno i ganu yn ddilyth,
Heb achos byth ymadael.

Mewn teulu duwiol yn y byd,
Tra hyfryd y gyfeillach;
Ond fry, yn mhlith y nefol hil,
Y bydd yn fil melusach.

573. Marwolaeth gweinidog.—M. 4.

Er tewi yn y beddrod du
Yr Athraw cu llafurus,
Y Bugail mawr, anfarwol, mwyn,
A wylia'i ŵyn yn ddilys.

Yr ydym bawb ar fin y bedd,
Ar fyr cawn orwedd yno;
O, am gael huno ynot ti,
Yn beraidd wedi'n puro.

574. Ffrwyth angeu Crist.—M. 13.

Er trengu ar y groes
Ein Meichiau mawr o'r nef,
Fy Mrenin mwyn, fy Mhrynwr mawr,
A'm Duw yn awr yw ef;
I'r lan y trydydd dydd,
Yn gadarn daeth o'r bedd;
A gwenu mae cyfiawnder pur,
Yn awr mewn cyflawn hedd.

Ar hyfryd Sïon fryn
Bydd torf ag uchel lef,
Dros oesau tragwyddoldeb maith
Yn canu—"Iddo ef:"
Yn ddysglaer fel y wawr,
Oll wedi eu cànu'n wyn;
Bydd priodasferch, gwraig yr Oen,
Yn ddedwydd iawn bryd hyn.

575. Ebyrth llesg.—M. 2.

Er tywallt môr o waed,
Trwy hwn ni chaed maddeuant;
Aneirif ebyrth llesg eu rhyw,
Rhy eiddil yw eu haeddiant.

Ond wele ar y groes
Yr Hwn a roes foddlondeb;
Trwy haeddiant aberth Crist ei hun,
Daeth Duw a dyn mewn undeb.

Mewn ing a gwaedlyd chwys,
Bu'n gogoneddus Geidwad;
Ond ni ddiffoddodd angeu llym
Dragwyddol rym ei gariad.

576. Afon lawn o hedd.—M. 2.

Er wylo dan fy nghlwy',
Mae gras sydd fwy yn barod;

I ran pechadur daeth rhyw stor
  O ras, fel môr diwaelod.

Fy enaid, cân yn awr,
  Mae'r ffynnon fawr yn tarddu;
Yn afon loyw lawn o hedd
  O'r orsedd, drwy groes Iesu.

577. Esgyniad Crist.—M. 3.

Esgynodd Crist, ein Ceidwad mawr,
  Goruwch y nef mae'n ben;
Heddychodd ef y nef a'r llawr,
  Trwy farw ar y pren.

Drwy ffydd yn llon ni wnawn goffhâd
  Am ei esgyniad ef;
Drwy'r dysglaer byrth, aeth yr Ior mâd
  I mewn i lys y nef.

Mae yno'n eiriol drosom ni,
  Ar sail ei aberth drud;
Boed iddo gael y mawl a'r bri
  Gan holl dylwythau'r byd.

578. Awdurdod Crist.—M. 4.

Esgynodd Crist i fri uwch nen,
  Cais lywio'r ddae'ren isod;
Mae'n dadlu'i waed, a'i ddidlawd waith,
  Mewn urddas perffaith uchod.

Mae'n gofyn teyrnas gan y Tad,
  O werth ei waed a'i haeddiant;
A'r Tad yn addaw iddo o hyd,
  Eithafoedd byd yn feddiant.

O! byddwch ddoeth, lywiawdwyr byd,
  Mab Duw i gyd addolwch;
Mewn gwylaidd barch a chariad hael,
  Os mynwch gael ei heddwch.

579. Esgyniad y Gwaredwr.—M. 3.

Esgynodd Crist i nef y nef,
  I eiriol dros y gwan;
Fy enaid innau gyfyd ef,
  I'w fynwes yn y man.

Mae'n eistedd ar ddeheulaw'r Tad,
  Ar orsedd fawr y nef;
A rho'wd y cyfan sydd mewn bod
  Dan ei awdurdod ef.

A gadael wnaeth lieiniau'r bedd,
  Fel arwydd lawn i ni,
Na raid wrth wisgoedd galar byth
  Yn y baradwys fry.

580. Nawdd yn Nuw.—M. 5.

Estroniaid trawsion, geirwon, gâd,
Sydd wedi ymroi i wneyd fy mrad;
Yn gwylio am le i'm cael i lawr,
Heb ofni Duw am fynud awr.

Er maint eu rhwysg mae Duw i'm rhan,
A chynnal ef fy enaid gwan;
A'm cyfiawn Dduw mewn cyfyng ddydd,
Yn mhlith ei saint i'm cadw sydd.

Ag ewyllysgar lafar lef,
Clodfori wnaf ei enw ef;
Fe'm gwared o bob cystudd dwys,
Rho'f ar ei gadarn fraich fy mhwys.

581. Adgyfodiad Crist.—M. 16.

Fe adgyfododd Brenin hedd,
A drylliodd gedyrn byrth y bedd,
  Gorchfygodd angau'i hun:
Mewn cwmwl gwyn esgynodd ef,
Mae'n awr yn eiriol yn y nef,
  Darfydded son am ddyn.

O wynfydedig ddedwydd awr,
Pan, yn dysgleirio fel y wawr,
  Caf innau esgyn uwch y nen;
Gorphwysfa hoff, tragwyddol wledd,
A lon fwynhaf yn ninas hedd,
  Doed hyn ar frys i ben!

582. Agor drws y bedd.—M. 9.

Fe adgyfododd Iesu,
  Yn ogoneddus iawn;
Daeth boreu teg a hyfryd,
  'Nol tywyll ddu brydnawn;
Gorchfygodd angau'i hunan,
  O'r carchar daeth yn rhydd,
Y gadwyn fawr a dòrodd,
  Ar wawr y trydydd dydd.

I fynu daeth o Edom,
  A'i wisg yn goch ei liw,
Nis gall'sai un creadur,
  Na chadwyn, gadw'm Duw;
Fe dynodd golyn angeu,
  Agorodd ddrysau'r bedd,
Palmantodd ffordd o'r ddaear,
  Trwy'r llen, i ganol nef.

583. Gwaed yr Oen.—M. 40.

Fe agorwyd ffordd gyfreithlon,
    Trwy waed yr Oen,
I ryddhau troseddwyr caethion
    Trwy waed yr Oen;
Gwelir miloedd wedi'u golchi,
Draw yn glànio tir goleuni,
Heb frycheuyn chwaith na chrychni,
    Trwy waed yr Oen.

Wedi cael eu gynau'n wynion,
    Drwy waed yr Oen,
Cael yr hedd, a'r wledd, a'r goron
    Drwy waed yr Oen,
Peraidd bynciant Halaluia,
Am yr Iawn roed ar Galfaria,
Cofiant byth am eu diangfa
    Trwy waed yr Oen.

584. Bywyd Crist.—M. 4.

Fe anwyd Crist, Tywysog hedd,
  Ar isel wedd, mewn preseb;
Y Tad o'r nef wrth dderbyn Iawn
  A gafodd lawn foddlondeb.

Esgynodd Crist yn ol ei daith
I wlad y perffaith fywyd;
Mae'n eiriol fry, a daeth yn llawn
Oddiyno ddawn ei Ysbryd.

Caf yn ei fywyd santaidd ef
Y ffordd i'r nef yn barod;
Ac yn ei hynod farwol loes
Y tâl a roes dros bechod.

585. Pregethu Crist.—M. 25.

Fe bregethir Iesu a'i ras,
Halaluia;
Yn yr India ëang fras,
Halaluia;
Fe â swn yr udgorn clir,
Halaluia;
I'r gorllewin anial dir
Halaluia.

Daeth o'r diwedd hyfryd ddydd
Pan caiff caethion,
Eu traed a'u dwylaw oll yn rhydd
Oedd mewn cyffion;
Gwawriodd concwest nefol wiw
Pen Calfaria;
Minnau ganaf tra b'wyf byw
Halaluia.

586. Goruchafiaeth efengyl.—M. 9.

Fe dòrwyd careg allan
O'r mynydd, nid â llaw;
Bydd iddi lenwi'r gwledydd
Ryw hyfryd ddydd a ddaw;
A bydd i'r gàreg hono
Cyn hir, falurio'n lân,
Y delwau meirw a dylion,
Yn fawrion ac yn fân.

Fe â'r newyddion gorau,
I gonglau pella'r byd;
Bydd mynydd tŷ yr Arglwydd
Goruwch y bryniau i gyd:
Gwledd lawn o basgedigion,
Yn mynydd Sïon sydd;
Wynebau tuag ato
Ryw filoedd etto fydd.

587. Darostyngiad Crist.—M. 13.

Fe ddaeth ein Ceidwad mawr
Ei hun i lawr o'r nef;
Yn wael ei wedd mewn agwedd gwas,
Er mwyn rhai câs daeth ef;
Fe'i ganwyd ef yn dlawd,
I fod yn frawd i ni,
Ond drwy ei dlodi ef a'i glwy'
Cawn gyfoeth fwy nâ rhi.

O'i fodd ar bren y groes
Ei fywyd roes i lawr,
Dros bechaduriaid yn ddiwâd
O'i ryfedd gariad mawr;
Dan guddiad wyneb Ion
Bu'r cyfion Iesu cu,
Er mwyn ei saint ei gael heb gêl
Yn dawel yn ei dŷ.

588. YR AIL RAN.

Gorweddodd yn y bedd,
Yn wael ei wedd, mae'n wir,
Ond adgyfodi wedi'n wnaeth,
Mewn buddugoliaeth glir;
Er mwyn i'r saint gael d'od
O'i waelod ar ei wedd,
I ganu fry am gael y fraint
Yn dorf ddihaint mewn hedd.

Fe demtiwyd Iesu cu
Tra bu ef yn y byd,
Fe ŵyr am ddyoddef llid a gwawd
A byw yn dlawd o hyd;
A'r gwan cyd-deimla ef
Fe glyw o'r nef ei gri;
Mae'n llawn o gariad ac o ras,
Mae'n addas iawn i ni.

589. Jubil efengyl.—M 3.

Fe ddaeth y Jubil werthfawr lawn,
Ar ol ochneidio'n hir;
Ac mi ges weled hyfryd ran,
O'r baradwysaidd dir.

Mae durtur yr efengyl fwyn
Yn gwahodd bro a bryn;
Daw torf aneirif tua'r wlad,
Gyda'r awelon hyn.

590. Nos yn cilio.—M. 56.

Fe ddarfu'r nos a'r gauaf du,
Mae'n dechreu gwawrio oddifry;
Cysgodau'r hwyr a aeth yn mhell;
Nesâu mae'r dydd, daw cynnydd gwell;
Clywch lais yr adar mân,
Mor beraidd yw eu cân;
Ffown, ffown, ar aden ffydd,
I fynwes Duw yn ngoleu'r dydd.

591. Codiad Sïon.—M. 34.

Fe dderfydd dwyn y groes,
Yn lân, a phob rhyw loes,
Cawn ado'r byd
A'i adfyd,—ber yw'r oes,
Bydd Sion wych a'i siriol wawr,
Wrth godi o'r llwch a gado'r llawr,
Ar ddysglaer wedd ei Phriod,
Yn moli'r Duwdod mawr.

592. Jubil rhyddid.—M. 36.

Fe dderfydd fy nghaethiwed
Cyn bo hir, cyn bo hir,
Yn ngwlad y Babiloniaid,—Cyn, &c.
Fe dderfydd fy wylofain,
Daw fynu'r deg a thriugain,
Caf wel'd y Jubil lawen,—Cyn, &c.
A d'od i'm gwlad drachefn,—Cyn, &c.

Caf yno deml newydd,—Cyn, &c.
I aros yn dragywydd,—Cyn, &c.
Yn mysg y duwiol deulu
Sy'n moli'r Arglwydd Iesu,
Gan uchel lawenychu,—Cyn, &c.
Heb elyn mwy i'm drygu,—Cyn, &c.

593. Gadael gofid.—M. 36.

Fe dderfydd fy ngofidiau
Cyn bo hir, cyn bo hir,
Yn ngwlad y gorthrymderau,—Cyn, &c.
Caf roddi ffarwel hollol
I bob peth annymunol,
A moli yn dragwyddol,—Cyn, &c.
Mewn dedwydd fro heddychol,--Cyn,&c.

594. Diangfa o gaethiwed.—M. 3.

Fe ddrylliodd iechydwriaeth Duw
Fy maglau caeth cyn hyn;
Diangais, do, mi ganaf byth
Am Iawn Calfaria fryn.

A bendigedig fyddo'r Ion;
Ei aden dirion byth
Yw, ac a fydd holl sail fy hedd,
A'm noddfa gref, a'm nyth.

595. Eiriolaeth Iesu.—M. 5.

Fe gaed, er llwydd, Gyfryngwr llawn
O nerth a gras, mae'n hawddgar iawn,
Gerbron ei Dad Offeiriad yw,
Ar orsedd nef mae heddyw'n fyw.

Er mwyn ei aberth drudfawr ef,
Daeth in' fendithion fyrdd o'r nef,
A phob ymgeledd yma gawn
Sydd gyfran rad ar gyfri'r Iawn.

Nesâ fy enaid llesg at hwn,
Er maint dy bla a'th boenfawr bwn;
Mae'n codi'r trist uwchben ei draed,
Mae rhan i'r gwan yn rhin y gwaed.

596. Codiad pen i'r saint.—M. !7.

Fe gân
Y gwaredigion, fawr a mân,
Dragwyddol glod i'w Priod glân;
Pan ddelo'r tân i losgi'r tir,
Cânt godi pen a llawenhau,
A'u poenus wae â heibio'n wir.

Mae braint
Yn awr yn eiddo pawb o'r saint,
Nad ellir byth fynegu ei maint;
Can's dianc gânt o wlad o boen
I felus wledd, o faith barhad,
Bwrcasodd gwaed yr addfwyn Oen.

597. Concwest drwy waed.—M. 12.

Fe gododd yr Iesu ei law,
Ymladdodd, enillodd y dydd,
Ei holl waredigion a ddaw,
A'i gaethion a roddir yn rhydd;
Fe 'nillodd fath goncwest trwy waed,
Mae ganddo lywodraeth mor fawr;
Hyd eithaf trigfanau ei Dad,
Mae'n cyrhaedd o'r ddaear i'r llawr.

598. Haul yn codi.—M. 28.

Fe gwyd yr Haul i'r lan
Yn uwch ryw ddydd,
A chaethion fyrdd gânt dd'od
Yn berffaith rydd;
O'r Dwyrain d'ont yn llu,
Gorllewin, Gogledd, De',
Gan waeddi—"Crist i ni,
Coroner ef."

599. Cwymp dynolryw.—M. 34.

Fe gwympodd dynolryw,
O dan gondemniad Duw;
Trwy gamwedd un
Daeth barn ar bob dyn byw;
Ond cariad rhad tragwyddol Duw,
Sy'n chwyddo byth, diderfyn yw;
A ffrwyth y cariad hwnw
Yw codi'r marw'n fyw.

600. Dedwyddwch y nef.—M. 9.

Fe gyfnewidia'r Iesu
Gyrff gwael ei deulu oll,
I ddelw ei gorff ei hunan,
Yn gyfan a digoll;
Cânt balmwydd a choronau,
A gwych orseddau nef;
Dychwelant oll anrhydedd
Diddiwedd iddo Ef.

Pan rydd y dyrfa ddedwydd
I'w Harglwydd barch a bri,
Y bloeddiant—"Teilwng ydwyt,
Tydi a'n prynaist ni."
Eu lleisiau yn fil miloedd,
A myrdd myrddiynau maith,
Rhyw luoedd dirifedi
O bob rhyw lwyth ac iaith.

601. Brawd i ni.—M. 28.

Fe gymmerth Iesu'n cnawd,
Ein Brawd o'r bru;
A safodd ar y bryn
Yn erbyn llu;
Gan sathru dan ei draed,
Er colli'i waed ei hun,
Elynion ar fyr dro,
Heb ado un.

Er pydru yn ngwaelod bedd,
Yn farwedd fud,
Daw ef i'm codi'n llon
Gerbron ryw bryd;
A'm llygaid hyn a'i gwel,
Mae'r gair dan sel yn wir;
Caf seinio byth ei glod,
A bod yn bur.

602. Puro y galon.—M. 4.

Fel arian roi'r mewn pair o dân,
I'w goethi'n lân a'i buro;
Duw, profaist ein heneidiau ni,
I beri'n gras ddysgleirio.

Trwy ddyfroedd dyfnion a thrwy dân,
Ni awn yn mlaen yn hwylus,
Nes myn'd i'r nefol Ganaan draw,
Gan fod dy law i'n tywys.

603. Hiraeth am Dduw.—M. 4.

Fel blin bererin ar dir cras,
Dan wybren las fo'n llosgi,
Yn blysio am y ffrwd heb baid,
Can's yfed raid, neu drengu.

Mae f'enaid i'n llesmeirio bron,
O eisieu llon gymundeb
A'm Duw o fewn ei dŷ mewn hedd,
Fel gynt, yn ngwedd ei wyneb.

Nid holl ddifyrwch bywyd brau,
Mor dda foddhau'm serchiadau,
Neu lonai'm calon isel i,
A'th gariad di yn maddeu.

604. Hiraeth am dy Dduw.—M. 4.

Fel brefa'r hydd, mewn gwres o chwant,
Am ddwr y nant i'w syched;
Fy enaid i, hiraethlawn yw,
Am brofi Duw, a'i weled.

Trist wyf wrth gofio'r dyddiau gynt,
Fy llawen hynt a'm llwyddiant;
Pan aem i'w dŷ yn fintai lân,
Dan seinio cân a moliant.

Ond, f'enaid, pa'm y soddi dan
Fath lwyth o wangalonrwydd;
Paham, dwy anobeithio'n llyn,
Y pechi'n erbyn d'Arglwydd?

Cred yn ei gariad a'i fraich gref,
Fe symud ef dy ofid:
Cei etto ganu ger ei fron,
A gwel'd ei lon wynebpryd.

605. Didwyll laeth y gair.—M. 5.

Fel chwant babanod am y fron,
I ymborthi a chynnyddu ar hon,
Am laeth y gair sycheda'r saint,
Ac ar ei rinwedd byw y maent.

Nid holl bleserau'r byd na'i fael,
A'u ceidw'n gaeth i drachwant gwael;
Mewn pechod mwy ni feiddiant fyw,
Eu geni wnaed o Ysbryd Duw.

Rhai garo'u Tad, eu caru wnant,
A'r hyn mae e'n gasâu, gasânt;
Eu ffydd fel dewr orchfygwr sydd
O ochr Duw yn cario'r dydd.

606. Bugail diddrwg.—M. 4.

Fel defaid aethom ffordd ar goll,
Tòrasom oll o'r gorlan;
Gan grwydro bawb i'w ffordd ei hun,
Ond lawr i'r un ffordd lydan.

Ond rhyngodd bodd i roi o'r Tad,
Ein cyfeiliornad mawrddrwg;
A'n cospedigaeth, ni yn ail,
Ar ben y Bugail diddrwg.

Y Bugail mwyn ei fywyd roes
Yn bridwerth dros y defaid;
Am hyn y goron hardd uwch nen
Roi'r ar ei ben bendigaid.

607. Claddu'r beiau.—M. 22.

Fel deiliach gwywedig
Yw'r einioes drallodus,
I'r ddaear ar fyrder
Fe'm chwythir i orphwys;
Er lloned yr wyneb,
A iached y galon,
Rhaid myned i'r beddrod
I orwedd at feirwon,
Mae'm calon yn crynu
Pan byddwyf yn cofio,
Mae'n fuan yn angeu
Y byddaf yn huno.

Gwnaeth pechod i'r beddrod
Enynu dychryndod,
I olwg fy meddwl
Fe dduodd ei waelod,
Wrth gofio fy meiau
'Rwy'n ofni myn'd iddo;
Ar esgyrn yr euog
Gorweddant nes codo:—
Ond moliant am feddrod
Sydd ddyfnach nag uffern
I gladdu fy meiau
Na chodant drachefn.

608. Gweddi o gystudd.—M. 2.

Fel gwyfyn dan dy law,
'Ry'm ni mewn braw'n ymddatod;
Nid all ein grym d'wrthsefyll di
A'n tegwch ni sy'n darfod.

Mi bledia'n dlawd fy nghri,
O symud di'th geryddon;
Gwanhau mae nerth fy ysbryd byw
Gan amled yw d'ergydion.

Ymdeithydd wy'n y byd,
Fel pawb i gyd o'm tadau,
O am gael bod, pan ddel yr wŷs
Yn gymhwys i fyn'd adre.

Ond os arbedi di
Fy mywyd i dros ronyn,
Mi a'th glodforaf nos a dydd,
A'th gariad fydd fy nhestun.

609. Marwolaeth plentyn.—M. 10.

Fel hardd rosyn yn ymagor,
Fel teg drysor ar y traeth,

Fel cain wlithyn amrant natur
  Yma'n bybyr siriol ddaeth;
Ond rhyw droed y rhosyn sathrai,
  Tôn a ddygai'r trysor gwiw,
Heulwen boeth wnai ddifa'r gwlithyn,
  O mor sydyn troes ei liw!

610. Edifeirwch calon.—M. 5.

FEL hyn, medd y Goruchel un,
'Rwy'n llanw gorsedd nef ei hun,
Fy enw yw Duw, 'rwy'n trigo fry,
A thragwyddoldeb yw fy nhŷ.

Ond disgyn 'rwyf i fydoedd îs,
Mae genyf ar y ddaear lŷs;
Yr ysbryd gostyngedig briw
Yw'r drigfan bur 'rwyn hoffi byw.

Yr enaid isel wrth fy ngair,
A'r cystuddiedig a fywheir,
Y galon ddrylliog a iachaf,
A'r meddwl blin a esmwythaf.

611. Ewyllys da Duw.—M. 5.

FEL hyn y d'wed doethineb Duw.
A wrendy 'ngair i dedwydd yw,
Gan wylio wrth fy mhyrth bob dydd,
A dysgwyl am fy ngras y bydd.

Y sawl a'm cais, bydd iddo gael
Anfarwol olud, nefol fael,
Anfarwol oes ei wobr yw,
Bywyd ac 'wyllys da gan Dduw.

612. Llwch ydym.—M. 19.

  FEL tad i'w blant,
Tosturiol wrth eu llef,
  Tosturia'r Ion,
Wrth bawb a'i hofnant ef;
  Can's edwyn ef,
Yn llwyr ein defnydd ni,
  A chofio mae
Nad y'm ond llwch difri.

  Holl ddyddiau dyn
Fel gwael laswelltyn yw;
  Fel blodau'r maes,
Y gwywa dynolryw;
  Ond cariad Duw,
O dragwyddoldeb sydd,
  Ac ar ei ras
Dim diwedd byth ni bydd.

613. Siomedigaethau.—M. 9.

FE'M siomwyd gan y ddaear,
  Fe'm siomwyd gan y byd,
Fe'm siomwyd gan fy nghalon,
  Yn fwy nâ'r rhai'n i gyd:
Mewn myrdd o demtasiynau,
  A mil o groesau'r llawr,
Ni safodd neb yn ffyddlon,
  Ond fy Eiriolwr mawr.

O Arglwydd dyro olwg,
  Ar dy anfeidrol rym,
Yn wyneb holl ddichellion,
  A llid gelynion llym:
Un olwg ar dy haeddiant,
  Yr iawn anfeidrol fawr,
Wna i bob gelyn gilio,
  A syrthio oll i lawr.

614. Trydydd dydd.—M. 28.

FE roed ein Harglwydd hael,
  Yn wael ei wedd—
Rhyfeddod fwya' erioed—
  Yn ngwaelod bedd;
Ond ar y trydydd dydd
  Yn rhydd yr aeth efe
Palmantodd lwybr gwych
  I entrych ne'.

Wrth wel'd yr angeu du,
  Yn nesu'n awr,
'Rwy'n crynu ambell dro,
  Wrth gofio'r awr,
Ond pan y gwelo ffydd
  Y trydydd dydd wnaeth Duw,
Mae ngobaith yn fwy cry',
  Do'i fynu'n fyw.

615. Palmantu'r ffordd.—M. 9.

FE rwygwyd muriau cedyrn,
  Fe dòrwyd dorau pres,
Oedd rhyngom ni â'r bywyd,
  Mae'r bywyd heddyw'n nes;
Palmantwyd yr holl lwybrau,
  Mae'r pyrth yn rhydd yn awr,
O ddyfnder dinas dystryw,
  I lŷs y nefoedd fawr.

Mae gallu canmil rhagor,
  Oes gan fy Mhrynwr drud,
Nad ellir ei wrthsefyll,
  Gan satan, cnawd, a byd;
Bydd seintiau ac angylion,
  Mewn cydsain hyfryd lân,
I'w enw gogoneddus,
  Yn gwneyd soniarus gân.

616. Duw'r Un.—M. 31.

FE syrth y ser i lawr o'r nen
Fe d'w'lla'r bydoedd mawr uwchben,
  Fe sych y môr, &c.,
Bydd f'Arglwydd Iôr yr un o hyd.

A thwrf, y nefoedd heibio ânt
A'r holl elfenau toddi wnant,
  Paid nos a dydd, &c.,
Ond Iesu fydd yr un o hyd.

617. Sion fel y wawr.—M. 15.

FE welir Sion fel y wawr,
Er tloted yw ei gwedd yn awr,
  Yn do'd o'r cystudd mawr i'r lan;
Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
Yn y cyfiawnder pur dilyth,
  Saif yn y diwedd yn eu rhan.

Datguddia'n gyflawn im' ar frys,
Ogoniant maith dy nefol lys,
Didranc bleserau'r santaidd dir:
O dangos im' mai ti yw'm rhan,
Ac o'r dyfnderoedd tyn fi i'r lan,
I'th gyflawn weled cyn b'o hir,

618. Pob peth o du Sïon.—M. 56.

Fe welir Sion fel y wawr,
Er tloted yw ei gwedd yn awr;
Ceir gwel'd fod pob rhyw groes o les
I'w gyru at ei Hior yn nes;
Wrth deithio'r anial fyd,
Hi gaiff f'o raid o hyd,
Caiff, caiff yr oll f'o raid,
Mae Llywydd mawr y nef o'i phlaid.

619. Sïon ar ben y daith.—M. 56.

Fe welir Sion lesg a llaith
Ryw foreu'n iach ar ben ei thaith;
Ei Phriod hawddgar ydyw Ef
Drwy waed wnaeth berffaith iawn i'r nef;
Mae ganddo ras yn stor,
Diderfyn fel y môr.
Rhydd, rhydd faddeuant rhad,
A gylch y du yn wyn â'i waed.

Iachâ yn llwyr archollion blin,
Fe ŵyr yn dda pa fodd i'w trin;
Mae'n anffaeledig Feddyg da,
O allu pur i wella'r pla;
Mae ganddo ras yn stor, &c.

620. Pawb i foli Duw.—M. 6.

Freninoedd mawrion byd,
Cydofnwch Frenin nef;
Ymgrymwch iddo'i gyd,
Rhowch barch i'w fawredd ef:
Tra byddoch byw mewn rhwysg a bri,
Am fawl eich Duw, O cofiwch chwi.

Gwyryfon, llanciau llon,
Ymro'wch i'w foli ef;
Plant bach, a'r hen o'r bron,
Ag sydd â gwanach llef:
Trwy'i deyrnas faith, i'w enw glân,
Yn mhob rhyw iaith, boed didranc gân.

621. Pawb i foli Duw.—M. 4.

Freninoedd sydd â helaeth hawl,
Rho'wch fawl i'r Bythol Fawredd;
Rhowch chwithau farnwyr barch i'r llaw,
O'r lle y daw'ch anrhydedd.

Chwi ie'nctyd cryfion, tra cewch fod,
Seiniwch ei glod hyd wybren;
Blant bychain a gwŷr hen, heb dawl,
Rho'wch chwithau fawl drachefen.

Mewn sel cyduned pawb sy'n bod,
I seinio'i glod rhyfeddol;
Ein Hior yw ef, ei enw eu
Sy'n haeddu byth ei ganmol.

622. Prynwr ffyddlawn.—M. 30.

Fry at orseddfainc nef
Derchafu wnaf fy llef,
Drwy'r cwmwl du;
Am nerth i gario'r groes
Edrychaf trwy fy oes;
Un ŵyr am bob rhyw loes
Sy'n eiriol fry.

Fe'i temtiwyd ef fel dyn,
Am danom gŵyr ei hun,
Ein Prynwr yw:
Gall gynnorthwyo'r gwan,
Mae'n ffyddlawn yn mhob man,
I sefyll ar ein rhan,
A'n cadw'n fyw.

623. Nef a daear.—M. 17.

Fry, fry,
Uwch awyr las a'i dysglaer lu,
Mae holl hyfrydwch f'enaid eu;
'Does dim daioni yma i'w gael;
'Rwyf wedi gwel'd a phrofi'r byd,
'Does ynddo i gyd ond gwagedd gwael.

Gwael, gwael,
Yw'r parch a'r elw sydd i'w cael,
Mewn bydol bethau gweigion sâl;
'Does yma ddim dâl eu mwynhau;
O, am y nefol drysor drud,
A'r elw o hyd sydd i barhau.

624. Gorfoledd y nef.—M. 7.

Fry yn hyfryd wlad gogoniant,
Ni bydd gelyn, ni bydd poen;
Gorphwys yno geir heb ofid,
Fyth yn nghwmni'r addfwyn Oen:
Ni ddaw tristwch, &c.,
Fyth i mewn dros furiau'r nef.

Ni bydd yno gofio beiau,
Dim ond llawn faddeuant rhad,
Poenau'r groes, a grym y cariad,
A rhinweddau maith y gwaed:
Derfydd ofni, &c.,
Daw llawenydd yn ei le.

625. Caersalem dawel.—M. 27.

Fry yn Nghaersalem dawel,
Yn mhell o swn y rhyfel,
Caf uchel ganu clod;
Fy nefoedd ddiboen
Fydd gweled yr Oen,
Fe dderfydd son am bechod.

Caf wel'd y Bôd anfeidrol,
Y Tri yn Un tragwyddol,
Rhyfeddol nefol Oen:
Fe'm tynodd yn lân,
Bentewyn o'r tân,
Fy enaid, cân yn gysson.

626. Ffordd santaidd.—M. 5.

Fy anwyl Iesu aeth i'r nef,
Mae'm holl ymddiried ynddo ef,

Yn ôl ei draed mi gerdda'n gry',
Nes im' gael golwg arno fry.

Hon ydoedd ffordd proffwydi Duw,
Y ffordd i gonc'ro pechod yw;
Prif-ffordd santeiddrwydd, minnau af
Ar hyd-ddi, hedd a bywyd caf.

Ymdrechu wnawn â'r gelyn cas,
A llithro fwyfwy ar y maes,
Nes i mi glywed galwad Crist,—
"Myfi yw'r Ffordd, tyr'd enaid trist."

627. YR AIL RAN.

Fendigaid Oen! mi wela'th glwyf,
Ti a'm derbyni fel yr wyf;—
Bechadur euog yn ei waed,
Yn d'od am brawf o'th gariad rhad.

Caiff pechaduriaid glywed son
Am fy nglanhad drwy waed yr Oen,
Dangosaf Brynwr dynol-ryw,
A gwaeddaf, "Wele'r Ffordd at Dduw."

628. Archoffeiriadaeth Crist.—M. 6.

Fy Archoffeiriad mawr
Offrymai'i waed yn lli',
Un aberth hebddo'n awr,
Ni chais fy enaid i:
Ei werthfawr waed, roes iawn un pryd,
Mae'n ddadleu o hyd gerbron y Tad.

Rho'f f'achos heb nacâu.
I law fy meichiau mâd,
Wnaeth berffaith lawn gwblhau
Drylliedig ddeddfau'i Dad;
O'm dyled mawr, 'rwy 'nawr yn rhydd,
Eu talu lawr wnaeth fy Meichnydd.

Dadleuwr im' yw Crist
Ymddengys drosof fry,
A'r Tad ogwydda'i glust,
A'i daran heibio try;
Nid uffern gref, er maint ei chas,
All ddiffodd gras ei galon ef.

629. Galar wrth y groes.—M. 4.

Fy Arglwydd cu, am feiau f'oes,
Fu ar y groes felldigaid,
Griddfanodd, trengodd arni hi,
I'th gadw di, fy enaid.

O am gasâu fy meiau mwy
Fy Arglwydd! hwy a'i lladden'—
Trywanu ei gnawd, a'i hoelio'n swrth,
I farw wrth y croesbren.

Cânt hwythau, Arglwydd, farw i gyd,
Fy hollol fryd yw hyny,—
Rai euog nid arbedai'n siwr,
Wnaeth i'm Hiachawdwr waedu.

Wrth weled iddynt ladd Mab Duw,
A chalon friw galaraf;
I'w herbyn codaf fy holl lid
A'r lleiddiaid hefyd lladdaf.

630. Cân am gadw bywyd.—M. 9.

Fy enaid, cân am gariad,
Ac am drugaredd rad,
A chân am fodd i'th olchi
Yn gànaidd yn y gwaed;
A chân am fadden beiau,
A'r gyfraith wrth ei bodd;
Am le i guddio bywyd
Byth yn yr Iawn a rodd.

631. Caru Iesu.—M. 5.

Fy enaid, clyw, ystyria'n awr,
Rho ateb i'th Iachawdwr mawr,
Mae heddyw'n gofyn, "A wyt ti,
Bechadur, yn fy ngharu i?"

'Rwyf yn dy garu, er ynrwan,
Ti yw'm dymuniad yn mhob man;
Och'neidio'n drist o hyd yr wy',
Am nerth dy ras i'th garu'n fwy.

Boed ein hymddyddan yn mhob lle,
Byth am ei enw anwyl E,—
Yr hyn a wnaeth pan ar y llawr,
A'i waith ef yn y nef yn awr.

632. Pleserau darfodedig.—M. 19.

Fy enaid, cod,
Sefydla'th wamal fryd;
Myn'd heibio mae
Pleserau pena'r byd:
I fynu dring,
A llwyr anghofia'n awr,
Bob peth a fedd
Y ddaear yma'n fawr.

Draw, draw, yn mhell,
Tu hwnt i'r tywyll fedd,
Mae'th gysur oll,
Dy bleser a dy hedd;
Dy Iesu cu,
Efe ei hunan yw,
Dy obaith oll,
I farw ac i fyw.

633. Cariad y Duwdod.—M. 5.

Fy enaid, cofia'r cariad drud,
A'th gofiodd cyn sylfaenu'r byd;
Rhyfedda'r gras ddylifodd lawr,
Yn rhad i ti, o'r orsedd fawr.

Cyfiawnder gaed drwy angeu Crist,
I lwyr ryddhau yr euog trist;
Caed digon yn ei farwol glwy',
Fel na raid byth wrth gysgod mwy.

634. Hyfryd ardaloedd.—M. 21.

Fy enaid, cred, anghofia'th adfyd,
Edrych i'r ardaloedd hyfryd;
Ehed o'r byd sy'n fôr o drallod,
Y mae'r gwleddoedd i ti'n barod.

Dacw'r gwledydd hyfryd helaeth,
Roddwyd i mi'n etifeddiaeth;

Lle mae cariad pur yn llifo,
Heb byth drai na therfyn iddo.

Dacw'r fan y caf deyrnasu,
Gyda'm hanwyl Brynwr Iesu;
Gwledda o'i gariad, gwel'd ei wyneb,
I ddiderfyn dragwyddoldeb.

635. "Cred yn unig."—M. 3.

Fy enaid cred, yn unig cred
Yn Iesu mawr ei hun;
Mae pob cyflawnder ynddo ef
Er maint yw eisieu dyn,

Mae'n rhoi yn hael i rai heb ddim,
'Rwy'n un o'r cyfryw rai;
Ymnertha f'enaid yn y gras
Sydd ganddo yn parhâu.

Er ofni marw trwy fy oes
Mi bwysaf ar ei air,
Yr hwn a gredo ynddo ef,
Er marw, fe'i bywhair.

636. Sylfaen yn y llif.—M. 6.

Fy enaid, daeth y dydd
A ofnais lawer gwaith,—
Mai boddi yn y glyn,
A fyddai wedi'r daith;
Ond clywaf lais fy Mhriod glân
Yn dweyd—'Rwyf yma o dy flaen.

Meddyliais lawer tro
Mai diffodd wnai fy ffydd,
Mai tywod ydoedd sail
Holl adail gwaith fy nydd;
Ond pwyso wnaf, er maint y lli',
Ar haeddiant Aberth Calfari.

637. Delw decaf Duw.—M. 5.

Fy enaid deffro, a'm tafod cân
Ardderchog glod i'r Arglwydd glân;
Hosana i'r tragwyddol Dduw,
Ei gariad ef, diderfyn yw.

Yn ngwyneb Crist llewyrcha maes
Y ddelw decaf oll o'i ras;
Gwnaeth Duw yn mherson Iesu glân
Waith mawr, tuhwnt i ddim o'r blaen.

Gras—mae fe'n destun peraidd brâf
Wrth enw Iesu llawenhâf;
Angylion sefwch ar y swn,
O'r nef i'r ddae'r adseiniwch hwn.

638. Emyn foreuol.—M. 5.

Fy enaid, deffro mewn gwir ffydd,
A rhêd dy daith ar hyd y dydd,
Ymâd â'th syrthni o bob rhyw
I ganu teg ogoniant Duw.

Na threula'n ofer amser iach
Un fynud byth, fy enaid bach,
Am farn a ddaw myfyria'n ddwys,
Y fory bydd o ddirfawr bwys.

O deffro'n llon y galon gu,
Gyda'r angylion loywon lu,
A chana glod ag enwog lef
Fore a nawn i Frenin nef.

639. Rhagluniaeth Duw.—M. 5.

Fy enaid dod i'th Luniwr fawl,
Pan wisgo ef ei nefol wawl
Ymddengys yn ardderchog iawn
Mewn hardd-wisg o ogoniant llawn.

Y nefoedd fry y'nt leni'r Iôr,
Gwna'i wely yn y dwfn fôr;
Cymylau yw ei gerbyd cry'
Ac ar y gwynt marchoga fry.

Sylfeini'r byd gyd-bwysodd e',
Mor deg, na syflant byth o'u lle;
Mewn cadwyn rhwymai'r môr yn nghyd
Rhag iddo etto foddi'r byd.

640. YR AIL RAN.

Eu terfyn ŵyr y tònau i gyd,
A chadwant yn eu cylch o hyd,
Oddiyno, trwy ffyrdd dirgel, ânt,
A bryn a bro a ddwfrhânt.

Pâr i'r ffynnonau grisial clir
Ddylifo i lòni'r dyffryn dir,
Yr asyn gwyllt frêf am y ffrŵd,
Ac yno tŷr ei syched brŵd.

Rhwng cangau'r coedydd ger eu llaw
Yr adar leisiant oddidraw;
Bob dydd mwyn bynciant fawl yr Iôn
I ni rhont sèn am dewi son.

641. Dyoddefaint Crist.—M. 35.

Fy enaid, dringa draw
Lle bu dy Frawd dan fraw,
Yn dyodde'r llid, a'r gwawd i gyd,
Rhydd hyn i'th ofid daw;
A gwel ei gur, dan hoelion dur
Mewn llafur eithaf llawn;
Dawn byth nid oes ddarlunia'i loes
Yr awr y rhoes, ar greulon groes,
Ei einioes yno'n Iawn.

642. Derbyn y cymmod.—M. 4.

Fy enaid edrych ar yr Oen
Yn dwyn y boen a haeddaist,
A'r fywiol ffrwd, gwel hefyd hon,
Yn llifo o'r fron a ddrylliaist.

Ar bren y felldigedig groes
Angeuol loes oddefodd;
Cyflawnodd gyfraith Duw heb goll,
A'th eisiau oll ddiwallodd.

Uwchben tra mae'r tragwyddol Dri
A'm hysbryd i'n cyd-dystio;
'Rwy'n credu ei farw yn fy lle,
A'i gariad e' wnaf selio.

643. Ffydd yn nerth Duw.—M. 5.

Fy enaid edrych at dy Dduw,
Fy Nghraig a'm Hamddiffyufa yw;
Yn mhob caledi cwyd dy lef,
A dysgwyl am ei nodded ef.

Na ro dy gred mewn golud fflwch,
Na'th galon chwaith ar ddysglaer lwch;
Pa'm pwysi ar beth gwael nad gwiw?
Heb gredu'r hyn a dd'wedodd Duw.

Unwaith dywedodd Duw o'r nef
A chlywais eilwaith air ei lef,—
Mai'i eiddo yw pob nerth a phlaid,
Ei ofni ef, a'i garu raid.

644. Golwg ar y gwaed.—M. 39.

F'enaid egwan, cod dy ben,
Cofia ing Tywysog nen,
Rhoddodd Ef ar ben y groes,
Fodd i faddeu beiau f'oes;
Modd i olchi a glanhâu,
Modd i'th achub byth rhag gwae;
Er galaru gan dy blâ
Cofia hyn, a llawenhâ.

645. A âi di ar ol Crist?—M. 57.

Fy enaid euog llwythog i,
Beth meddi di am Un
Sy'n Hollalluog enwog Wr
A'i enw'n dŵr i'r dyn?
A âi di, enaid, ar ei ol?
Mae'n annherfynol nerthol Naf;
O cyfod bellach ynddo crêd,
Nac oeda, dywed—*Af.*

Ei eiddo Ef yw'r nef yn awr,
Mae'n Frenin mawr ei fri,
A phan briodir ni ag Ef,
Rhoi'r hawl i'r nef i ni;
A âi di, enaid, ar ei ol?
Mae yn anfeidrol nerthol Naf;
Nac ofna mwyach ynddo cred,
Ymnertha, dywed—*Af.*

646. YR AIL RAN.

Pan elych drwy'r Iorddonen ddu,
Cai lechu yn ei law;
Er llesged wyt, fe'th ddwg i'r lan
I'w nefol drigfan draw;
Cai ganu'n llafar gyda'r llu
Sy'n llawenychu yn eu Naf:—
A âi di i'w ganlyn doed a ddel?
O d'wed yn uchel—Af.

647. Ymffrost y Cristion.—M. 1.

Fy enaid gofia mwy
Gyfiawnder Iesu gwiw;
Ei waed sydd ffynnon a'm glanhâ,
Fe'm golcha'n wŷn fy lliw.

Ei fywyd santaidd ef,
A'i angeu yn fy lle,
A fydd fy ymffrost yn mhob man,
A'm sylfaen dan y nef.

A'i ddwyfol waed gwnaeth iawn,
A thaliad llawn i'w Dad;
Agorodd ffordd i'r euog gwael,
I gael maddeuant rhad.

648. Eiriolaeth Crist.—M. 5.

Fy enaid gwan, nac ofna'n hwy
Rhag llid gelynion fwy na mwy,
Mae'th hynaf Frawd ar orsedd nef
Yn gwrando cwyn dy egwan lef.

Ymddangos mae gerbron y Tad,
Daw mwy i ddynion roddion rhad;
A byw bob amser yno mae
I erfyn dros annheilwng rai.

649. Rhwygo'r llen.—M. 15.

Fy enaid, gwel ar Galfari,
Rad ras a chariad fel y lli',
Pan drengai Iesu ar y pren,
Yn Aberth dros yr euog rai,
Er agor ffordd i faddeu bai,
Griddfanodd ef nes rhwygo'r llen.

O, moler ef am wisgo cnawd,
Mewn agwedd gwas daeth yma'n dlawd,
Ond llyncodd angeu ar y groes;
Ar orsedd nef mae 'nawr yn Ben,
Mawryger ef am rwygo'r llen,
A chofiwn am ei farwol loes.

650. Iddo ef.—M. 10.

Fy enaid, gwel y fan gorweddodd
Pen breninoedd, Awdwr hedd;
Yr holl gre'digaeth ynddo'n symud,
Yntau'n farw yn y bedd;
Rhan a bywyd colledigion,
Rhyfeddod holl angylion nef;
Ei wel'd mewn cnawd, a'i felus foli,
Mae'r côr, gan weiddi, "Iddo ef."

Pryd daw'r dydd caf finnau orphwys
Oddiwrth fy llafur yn fy rhan,
Yn nghanol môr o ryfeddodau,
Heb waelod, terfyn, trai, na glan:
Yn cael byth fynediad helaeth
O fewn trigfanau Tri yn Un;
Dw'r i nofio heb fyn'd trwyddo,
Yw dyn yn Dduw, a Duw yn ddyn.

651. Pleser y nef.—M. 4.

Fy enaid, hêd i'r nef uwch ben
Tu fewn i'r llen, a chenfydd
Y gwynfyd didranc sy yno'n siwr,
A'r bywiol ddw'r na dderfydd.

Yno, mewn pleser hoff diflin,
Y Tri yn Un caf weled;
Ac edrych ar fy hynaf Frawd,
Mab Duw mewn cnawd gogoned.

Ei air a saif yn ddiogel byth,
A'i ras dilyth ni symud;

Mae'n gwisgo f'enw ar ei fron,
  Ac ar ei galon hefyd.
Dymunwn barotoi o hyd
  I'r fangre hyfryd nefol,
Lle mae fy ngobaith i gael byw
  Gerbron fy Nuw'n dragwyddol.

652. Doniau gras Duw.—M. 4.
Fy enaid, mawl yr Arglwydd mâd,
  Na âd i'w ddoniau orwedd
Mewn anghof, heb dy ddiolch di,
  I farw'n ddiglodforedd.

Efe sy'n maddeu dy holl fai,
  Ac yn iachâu dy glefyd;
Adferu'th nerth, pan wyt ar dranc,
  A'th wneyd yn ieuanc hefyd.

O ddystryw prynodd d'enaid prudd,
  Nerth cadarn sydd i'r Ceidwad;
'Nol gwared d'oes o'r bedd yn llon,
  Corona hon â'i gariad.

653. Bendithio Duw.—M. 5.
Fy enaid, mawl yr Arglwydd nef,
Dy gwbl rho i'w ganmol ef;
Paham y caiff ei ddoniau fo,
A gwyrthiau'i ras fyn'd byth dros go'?

Anfonai'i anwyl Fab i'r byd
I farw dros dy feiau'i gyd;
Mae'n maddeu, am yr Iawn a roes,
Dy feiau mawr bob awr o'th oes.

Mae'n gwella clwyfau calon dyn,
Ac yn iachau'n doluriau blin;
Mae'n adnewyddu'n nerth a'n gwedd,
Ac yn coroni'n hoes â'i hedd.

654. Cân yr edifeiriol.—M. 30.
  Fy enaid, mwyach cân
  Am iechydwriaeth lân,
    Rhyfeddol yw!
  I'r Hwn sy'n trugarhau,
  Bo'r enw i barhau,
  Am faddeu dy holl fai,
    A'th gadw'n fyw.

  Cân Halaluia mwy,
  Caed Meddyg at dy glwy',
    Er dyfned yw;
  Caed modd i'th gyfiawnhau,
  Caed ffynnon i'th lanhau,
  All hefyd lwyr iachau
    Dy farwol friw.

655. Cofio gwyrthiau gras.—M. 5.
Fy enaid, nac anghofia'r Ion,
Gwna beunydd am ei wyrthiau son;
Gwel ei weithredoedd Ef, a chân
Byth am ei iechydwriaeth lân.

Cân am dy gadw ar y lli',
A chofia'r storm ar Galfari;
Fel hyn, trwy ffydd, fy enaid gwan,
Cei nerth bob dydd nes d'od i'r lan.

656. Porfa fras.—M. 23.
    Fy enaid, na thaw,
    Er poenau na braw,
  A chanmol yr Iesu,
    A deued a ddaw.

    Fe'm tywys trwy ras,
    Er dichell fy nghâs,
  A gwna i mi orwedd
    Mewn porfa sydd fras.

    Arlwya im' wledd
    Yn wyneb y bedd,
  Ac yfed gaf hefyd
    O afon ei hedd.

657. Bendithio'r Arglwydd.—M. 19.
    Fy enaid oll,
  Bendithia'r Arglwydd nef;
    Na âd dros gof
  Ei ddoniau aml Ef;
    Can's maddeu mae
  D'anwiredd oll o'i ras,
    A llwyr iachau
  Dy holl glefydau cas.

    Gwaredu mae
  Dy oes o ddystryw'r bedd,
    Rhoi coron ar
  Dy ben o ras a hedd:
    Diwalla'n rhwydd
  Dy enau â phob da,
    A'th ie'nctyd fel
  Yr eryr fe a'i gwna.

658. Ordinhadau crefydd.—M. 4.
Fy enaid, pa mor hawddgar yw
  Y lle mae'th Dduw'n bresennol;
Nefoedd yw gwel'd ei wyneb cu,
  Er yn ei dŷ daearol.

Dymunwn wel'd achubol nerth
  Ein Brenin prydferth nefol;
Ac aros lle mae'n eglurhau
  Ei ryfedd wyrthiau grasol.

Gwell genyf fod ar drothwy'r tŷ,
  A'r Iesu yno'n gwarchod,
Na llanw'r orsedd wycha'i dull,
  Neu fyw yn mhebyll pechod.

Pe bawn yn meddu'r tir a'r môr,
  Yn nghyd â'u trysor helaeth;
Am awr ar dy ddeheulaw di,
  Mi daflwn hyny ymaith.

659. Ymarfer ag angeu.—M. 4.
Fy enaid, plyg, a galw i go',
  Ymarfer dro ag angau;
A meddwl fel mae'r marwol ddyn,
  Yn chwythu'r ffûn o'i enau.

Ei wefus wan lawr hongian mae,
  A'i bwls llesgâu mae rhei'ny;
Gydag ochenaid drom yn fud,
  Ffarwel i'r byd mae'n roddi.

A'r enaid nid yw'n marw byth,
Ond gado'i nyth ddaearol;
Fy meddwl, dilyn hwn lle'r â,
Mae'i ffordd yn dra rhyfeddol.

660. Tad a Brawd fry.—M. 57.

Fy enaid tlawd, mae genyt Dad,
Sy'n gwel'd dy fwriad gwan;
A Brawd yn eiriol yn y nef,
Cyn codi'th lef i'r lan:
Cred nad diystyr gan dy Dad
Yw gwrando dy ddymuniad gwiw,
Pe byddai d'enau yn rhy fud
I'w dd'wedyd gerbron Duw.

661. Llef am adfywiad.—M. 4.

Fy enaid wrth y llwch a lŷn,
Bywha dy hun fi, Arglwydd;
Oddiwrth bob chwant a gwagedd ffol,
Tro'm llygaid 'nol yn ebrwydd.

Rho ddylanwadau'th ras wrth raid,
Fel b'o im' ddibaid frysio;
Rhag i mi oedi ar fy nhaith,
Neu rhag im' ymaith grwydro.

Dod i mi danllyd sel yn glau,
I redeg llwybrau'r bywyd;
Dy hen drugaredd helaeth yw,
A ffyddlawn Dduw wyt hefyd.

662. Etifeddiaeth dda.—M. 4.

Fy etifeddiaeth werthfawr yw,
Gwir eiriau'r Duw tragwyddol;
Melusach yw eu nhefol rin
Nâ'r melus win i'w bobl.

Troir eu wylofain trist yn gân,
Ar lwybr glân ei ddeddfau;
Mor werthfawr yw eu bywiol rin,
Mewn cystudd blin a chroesau.

663. Ffydd yn olwg.—M. 36.

Fy ffydd a droir yn olwg,
Cyn b'o hir, cyn b'o hir;
Caf wel'd yr Oen yn amlwg,—Cyn, &c.
Fe sychir fy holl ddagrau,
Try'r galar yn ganiadau,
Caf chwareu'r nefol dannau,—Cyn, &c.
I'r Oen fu gynt yn dyoddef,—Cyn, &c.

Agorir yr Iorddonen,—Cyn, &c.
Af trwyddi'n iach a llawen,—Cyn, &c.
Caf olchi ymaith bechod,
A'm puro o bob sorod,
A'm llwyr iachau o'm nychdod,--Cyn,&c
A bod ar wedd fy Mhriod,—Cyn, &c.

664. YR AIL RAN.

Bydd lon fy enaid gwirion,—Cyn, &c.
Cei fod ar fynydd Sion,—Cyn, &c.
Tragwyddol hedd sydd yno,
Fel afon fawr yn llifo,
Cei dithau nofio ynddo,—Cyn, &c.
Mysg miloedd yn dysgleirio,—Cyn, &c.
Cei hedeg uwch yr wybren,—Cyn, &c.
Dan ganu clod yn llawen,—Cyn, &c.
Cei gorff fel dy Anwylyd,
Ac enaid hwylus hefyd,
I foli'n hir y bywyd,—Cyn, &c.
Dros byth mewn perffaith wynfyd,--Cyn, [&c.

665. Angeu i angeu.—M. 4.

Fy ffydd all orfoleddu'n hŷ,
A sathru ar y beddau;
Fy Mhrynwr Iesu sydd yn fyw
Fe ddaw fy Nuw yn ddiau.

Ymddengys y Concwerwr mawr,
Ar uchel ddirfawr orsedd;
Ac angeu'r gelyn olaf gaed,
Fydd wrth ei draed yn gorwedd.

Ac er i'm cnawd, ar ol fy nghroen
Ddihoeni a malurio;
Pan godo Duw fy esgyrn mân,
O'r newydd cânt eu gwisgo.

666. Iesu yn Noddfa.—M. 6.

Fy Iesu yw fy rhan,
Fy Noddfa gadarn gref,
Ni fedd fy enaid gwan,
Ddim arall dan y nef;
Mae ef ei hun, a'i angeu drud,
Yn fwy nâ'r nef, yn fwy nâ'r byd.

Ar ei addewid ef,
Sydd fwy na geiriau dyn,
Er pob gelynol lef,
Gorphwysaf yn ddigryn:
Fe wawria'r dydd, pob tro îs nen
Ddaw ag addewid nef i ben.

667. Concwest drwy goncwest Crist.—M. 6.

Fy Ior a'm Conc'rwr mawr,
A'm Brenin clodfawr glân;
Dy aur-deyrnwialen wiw,
A'th gleddyf yw fy nghân;
Trwy'r rhai'n y'm gwnaed i ufyddhau,
A phlygu'n glau, lawr wrth dy draed.

O cyfod f'enaid gwan,
A'r temtiwr sathra'i lawr,
Mae'th Gadben cryf o'th ran,
Cei fuddugoliaeth fawr;
Y gwana'i ffydd, o'r saint heb ball,
Ar holl lu'r fall a garia'r dydd.

668. Lloches a tharian.—M. 4.

Fy lloches glyd, a'm tarian gref
Yw'r Arglwydd nef a'i gysgod;
Gobeithiaf yn ei air er neb,
Yn wyneb pob rhyw drallod.

Mae'n gysgod rhag y gwynt a'r gwres,
Mae'n lloches rhag y gelyn;
Gobeithiaf yn ei air o hyd
Yn nghanol byd o ddychryn.

Ymguddiaf dan ei nodded mwy
  A chaf tra b'wy' orfoledd;
Pob chwerw loes a galar dry
  Yn ganu yn y diwedd.

669. Twr y Cristion.—M. 6.

Fy llygaid godai'r nef,
  Caf gymmorth gref gan Dduw,
A wnaeth yr wybren fry,
  A'r ddaear a'i holl ryw;
Ffoi wnaf drwy ffydd, at Dduw fy nhwr
Ei ras ef sydd gerllaw yn siwr.

Fy nhraed ni lithrant lawr,
  I unrhyw farwol rwyd;
O herwydd y Duw mawr
  A'm ceidw, neu a'm cwyd;
Huno ni wnant ei lygaid ef,
Ond ceidw'i blant, nes ânt i'r nef.

670. Esmwythau cydwybod.—M. 4.

Fy meddwl fel môr tònog sy',
  A'm pen yn plygu i'r ddaear;
Tan ddig fy Nhad, a'i gerydd prudd,
  Wyf nos a dydd mewn galar.

Fy Nuw, drylliedig wyf a gwan,
  Heb fan yn gyfan ynof;
O ing fy enaid daw fy nghri;
  Dy saethau di aeth drwof.

Fy nghais a wyddost oll heb gel,
  Dy lygad wel fy nagrau;
Fy ymbil a'm griddfanau byw,
  Yn amlwg glyw dy glustiau.

Cyfaddef wnaf fy mai wrth Dduw,
  Tristâf am bob rhyw bechod,
Ac yn mhob gwendid llefaf maes
  Am fwy o ras oddiuchod.

671. Cofleidio Crist.—M. 4.

Fy mhrif hyfrydwch i yw Duw,
  A'm cysur gwiw a'm gobaith;
P'odd gallaf oddef swn ei lef,
  Os dywed ef—"Dos ymaith!"

O Iesu! dy gofleidio wnaf,
  A phwysaf ar dy ddwyfron;
Heb rasol wên oddiwrthyt ti,
  'Dyw f'enaid i ddim boddlon.

O, dangos ar dy ddwylaw hael
  Fy enw gwael yn eglur,
Rho im' addewid, er fy maeth,
  Am iechydwriaeth sicr.

Rho un gair mwyn i'm cadarnhau,
  A soddi'm hofnau'n gyfain,
A'm henaid ddysgwyl yn dra rhwydd,
  Os rhaid, ddeng mlwydd a thrugain.

672. Angeu y Messia.—M. 9.

Fy Mrawd, fy addfwyn Iesu,
  Boed clod i'th enw byth;
Doed dynion i dy foli,
  Rifedi'r boreu wlith:
O na b'ai gwellt y ddaear
  Yn delyn aur bob un,
I ganu i'r Hwn a anwyd
  I'r byd i brynu dyn.

Fe ddaeth i wella'r archoll,
  Drwy gym'ryd clwyf ei hun;
Etifedd nef yn marw,
  I gadw marwol ddyn;
Llwyr sugnodd ef y gwenwyn
  A ro'dd y sarff i ni,
Ac wrth y gwenwyn hwnw
  Bu farw ar Galfari.

673. Arweinydd Dwyfol.—M. 4.

Fy Mugail fy niwallu wna,
  Jehofa yw ei enw;
Mewn porfa fras ymborthi caf
  Ar lan dw'r araf gloyw.

Pan âf o'i ddiogel ffyrdd fel ffol,
  Fe ddwg yn ol fy ysbryd;
Ac arwain fi, o'i gariad pur,
  I lwybrau tir y bywyd.

Pan rodiwyf gysgod angeu du,
  I fynu deil fy ngobaith;
Un gair o'i enau wna'm cryfhau,
  A gyr fy ofnau ymaith.

674. Porfa dda.—M. 2.

Fy Mugail yw Duw'r nef,
  Fe edrych ef am danaf;
Fy eiddo yw, a'i eiddo wyf,
  Pa eisieu mwy fydd arnaf?

Fe'm dwg i'r lleoedd da,
  Lle tŷf y borfa nefol;
Lle llifa iechydwriaeth lawn,
  A'r dyfroedd rhadlawn bywiol.

Tra rhoddo gymmorth im',
  Nid allaf ddim arswydo;
Er myn'd trwy gysgod angeu, ca'
  Fy Mugail gyda mi yno.

Haelioni'i gariad cu
  A gaiff goroni'm dyddiau;
O fewn ei dŷ y cleimiaf hawl,
  A chanaf fawl ei wyrthiau.

675. Tad a Brawd.—M. 31.

Fy mywyd wyt, fy Nuw, fy Nhad,
A'm Brawd i'm cynnal ar fy nhraed;
Nid da na dyn, nid da na dyn,
Ond Iesu ei hun, yw'r oll i mi.

Mae gwedd ei wyneb yn iachâu
Y cleifion a'r dolurus rai;
Fy Meddyg yw, fy Meddyg yw,
Nis gallaf fyw byth heb fy Ner.

676. Myned i Sion.—M. 4.

Fy nghalon a fawr lawenhai,
  Pan dd'wedai rhai'n awyddus,—

"I Sion brysiwn yn ddiludd,
I gadw'r dydd cyhoeddus."

'Rwy'n caru'i phyrth a'i phrif-ffordd hi,
Mae wedi'i theg addurno ;
A gras fel llys a wnaed i Dduw ;
Ei wyneb gwiw geir yno.

O fewn ei llysoedd heddwch boed,
Llawenydd doed i'w llenwi ;
Pob duwiol rodd a nefol rad,
I'r sawl fo'n gwarchad ynddi.

Dros Sion mi weddia o hyd,
Tra chwyth a bywyd geny',
Mae'm ffryns a'm ceraint yno'n byw,
A'm Ceidwad Duw'n teyrnasu.

677. Calon galed.—M. 5.

Fy nghalon, O mor galed yw,
Er clywed peraidd eiriau Duw !
Trom, oer, a marw dan fy mron,
Fel craig o iâ 'rwy'n teimlo hon !

Ni chaf at Dduw prin godi llef,
Na phrofi dim o ras y nef,
Mae hon o hyd yn llethu'm ffydd,
A mygi'm sel a'm cariad bydd.

Tynera'm calon, Iesu mâd,
Yn ffynnon goch dy werthfawr waed !
Nid all ond gwaed fy Nuw ei hun,
Byth doddi'r fath garegog un.

678. Iawn y Meichiau.—M. 35.

Fy ngobaith dan bob croes
Yw'r Iawn, yr Iawn a roes
Ein Meichiau pur dan hoelion dur,
Ei lafur ef a'i loes ;—
Pan ddelo'r pryd daw'r saint yn nghyd
I wynfyd y nef wen,
Dadseiniant lef peroriaeth gref,
Drwy nef y nef, Boed iddo ef
Y mawl a'r clod, Amen.

679. Noddfa y saint.—M. 29.

Fy noddfa gadarn fythol yw
Y gair a ddaeth o enau'm Duw,
Fe dd'wedodd ef y cawn i fyw,
Anfeidrol yw ei ras :
Mi welaf ôl ei siriol saint,
Tan y cystuddiau mwya'u maint,
Yn cadw'u cysur gyda'u braint,
Er grym gelynion cas.

O addfwyn Iesu ! gad im' fod
O fewn dy gorlan, dan dy nod,
A threulio'm mywyd er dy glod,
Yn gyflawn o dy hedd :
Yn nghanol terfysg a phob gwae,
Pan fo cystuddiau yn amlhau,
Mi âf yn mlaen dan lawenhau,
Nes gorwedd yn y bedd.

680. Gwenau Duw.—M. 5.

Fy Nuw, dy wenau hyfryd sydd
Yn troi pob tywyll nos yn ddydd ;
Yn nghysgod angeu, er ei fraw,
Fe geidw hyn bob niwed draw.

Fy iechydwriaeth yw dy wedd,
Fy mywyd yw dy ddwyfol hedd,
Fy nefoedd yw dy wyneb pryd,
Boed hyn fy rhan mewn bythol fyd.

681. Duw oll yn oll.—M. 19.

Fy Nuw, fy Ior,
Fy Mhriod, a fy Nhad,
Fy ngobaith oll,
Fy iechydwriaeth rad ;
Mewn cyfyng awr
Ti fuost nawdd i mi,
Gad etto im'
Fwynhau dy gwmni di.

Ond cael dy wedd,
A rhîn dy farwol glwy',
A phrofi'th hedd,
Nid ofnaf bellach mwy ;
Mae'th wenau di,
Fil myrdd o weithiau'n well,
Na'r trysor llawn,
Sydd yn yr India bell.

682. Nerth a bywyd calon.—M. 4.

Fy Nuw, fy nerth, a'm bywyd i
Rhois arnat ti fy ngoglud ;
Can's oll yn oll wyt im', O Dduw,
Nis gallwn fyw pe'm gedyd.

Dy dirion wedd all lawenhau
Fy mhabell glai mewn trallod,
Mae'n nefoedd lle bo'ch di fy Nuw,
Ac uffern yw hi hebod.

Cariadus wenau'th wyneb gwiw,
Mor hawddgar yw y rhei'ny !
Nefoedd yw gorphwys yn dy gôl
'Does fan dedwyddol hebddi.

Dedwyddwch yr angylion fry
O honot ti sy'n tarddu,
Pan maent o gylch gorseddfa'th ras
Yn cael cymdeithas Iesu.

683. Rhan dragywyddol.—M. 4.

Fy Nuw, fy nghariad wyt a'm rhan,
A'm cyfan yn dragwyddol ;
Ni feddaf ond tydi'n y ne',
Nac mewn un lle daearol.

Pa weigion bethau yw'r wybren fry,
A'r ddaear sy' o tani ?
'Does yma ddim sydd fel fy Nuw,
Na dim sydd wiw im' hoffi.

Ofer i'r haul dysgleirwych fry
A'i wàn oleuni 'mddangos,

Dy lewyrch di sy'n gwneyd fy nydd,
Os hwn ymgudd, mae'n d'w'll-nos.

A thra b'wyf yn fy ngwely'r nos
A'r lleni dros fy llygaid,
Os dengys Crist ei wên—yn wir
Mae'n fore clir ar f'enaid.

684. Ymddatodiad dedwydd.—M. 4.

Fy Nuw galluog rhwyga'r llen,
A dal fy mhen yn angau;
Dod ffydd i glir olygu'r lân
Rhag suddo tan y tônau.

Boed llewyrch dy ogoniant di,
Fy Iôn, i lenwi f'enaid,
Rho'n lle amheuaeth, hyder gre',
A chân yn lle ochenaid.

Pan ddel, (mae'r amser yn nesâu)
Fy enioes frau i fynu;
Bydd arnaf yn nyfnderau'r glyn,
O Iesu gwyn yn gwenu.

Gwna fi tra yn y byd y bwy'
Am farw'n fwy myfyriol;
Gan fyw i'th glod, mewn einioes wyw,
A marw i fyw'n dragwyddol.

685. Gweddi'r oedranus.—M. 4.

Fy Nuw o'm hie'nctyd wyt yn siwr,
A Fforddwr fy holl yrfa;
Dy lân wirionedd draethais i
A'th wyrthiau di hyd yma.

A edi di fi, Arglwydd da,
Mewn henaint a phenllwydni?
Pwy gynnal fy mlynyddoedd blin,
Os Duw ei hun ymedy?

Gad i mi draethu i'r oes sy'n ol
Dy wir a'th nerthol wyrthiau;
A gadael sawr o'th enw di
Pan adwyf fi fy nhrigle.

Tir angeu a dystawrwydd yw'r
Lle 'raf i fyw yn nesa'
Am hyn mi ddysga'th gariad drud
I bawb o'r byd tra yma.

686. Gorphwysfa'n ol.—M. 6.

Fy Nuw, 'rwy'n credu fod
Gophwysfa'n ol i mi,
Lle caiff dy briod dd'od
Dros fyth i'th foli di;
Ni awn, ni awn, o'r anial dir
I'r Ganaan hyfryd cyn bo hir.

687. Ceisio Duw.—M. 4.

Fy Nuw wyt, caniatâ i mi
Dy alw di fy eiddo;
Fy llef foreuol clyw, O Dad,
A phrawf o'th gariad, dyro.

Can's bywyd, heb dy gariad di
Ni rydd i mi foddlonrwydd;
Nid oes a rydd lawenydd pur
Ond gwasanaethu'r Arglwydd.

Fy enaid, Arglwydd, atat ffy,
Can's ti a fu fy nodded:
Ac ar dy gref Ragluniaeth di
Y bydd i mi ymddiried.

688. Cwyn yr afradlon.—M. 11.

Fy nyddiau'n afradlon a dreuliais
Rhyfygais a phechais yn ffol,
Er hyny ymdrechaf am gychwyn
O wlad y du newyn yn ol;
Mae llawer o weision dan gyflog
Yn annedd odidog fy Nhad,
Digonedd a gweddill sydd ganddynt,
A minnau'n wael adyn o'r wlad.

Mi godaf, a'm gwisg yn rhwygedig,
Mae Nhad bendigedig yn hael;
Gofynaf dan addef fy mhechod,
A rydd efe gymmod i'r gwael:
Er pechu i'w erbyn gan drymed
Ymbiliaf am weled ei wedd;
Bod fel un o'i weision wy'n geisio,
Nid dysgwyl arlwyo 'run wledd.

689. Byrdra bywyd.—M. 9.

Fy nyddiau sydd fel dyrnfedd,
A'm heinioes megys dim;
Pob dyn nid yw ond gwagedd,
Ar agwedd wael ddirym;
O Arglwydd clyw fy ngweddi,
A dysg i'm gredu mwy;
'Rwy'n alltud fel fy nhadau
Ni chaf fy nyddiau'n hwy.

Wrth feddwl am drysorau,
Mil gwell na pherlau'r byd,
Llefaru wnes â'm tafod,
Ni fedrwn fod yn fud;
Mi gefais newydd brofiad,
Ac adnewyddiad nerth;
Aed gwael drysorau daear
I'r sawl a gâr eu gwerth.

690. Unig Noddfa.—M. 35.

Fy unig Noddfa yw,
Yr Oen, mae'n Geidwad gwiw,
Trwy rîn ei waed, rhydd lwyr iachâd,
O'i rad i ddynolryw:
Os nerth a gaf, pa elyn saf
O flaen fy Naf o'r nef,
Caf yn y man, er bod yn wan,
Yr hyfryd lân, yn rhwydd i'm rhan,
Yn gyfan gydag ef.

691. Gado'r byd.—M. 14.

Ffarwel bleserau'r byd,
A'i freulyd fri a'i fraw,
Ehedwn mwy fel adar mân,
I'n trigfan dawel draw;

Cawn yno hyfryd hedd,
A rhyfedd roddion rhad;
Am hyny codwn awn yn hŷ,
I'r wledd sy'n nhŷ ein Tad.

692. Trysor y nefoedd.—M. 23.

Ffarwel f'o i'r byd,
A'i bleser i gyd,
Ar drysor y nefoedd
Fe redodd fy mryd.

O haeddiant y gwaed,
Anfeidrol barhad,
'Does arall all osod
Fy meiau dan draed.

Mi wela'n ei glwy,
Gyfiawnder sydd fwy
Na meithder y moroedd,
Er lleted y'nt hwy.

693. Wrth adael y bwrdd.—M. 9.

Ffarwel, gyfeillion anwyl,
Dros ennyd ni 'madawn,
Tra byddom yn y rhyfel
Gwnaed Duw ni'n ffyddlon iawn
Ar fyr fe wawria'r bore,
Cawn gwrddyd uwch y llawr,
I wledda yn dragywydd
Yn mhlith y dyrfa fawr.

694. Cyfaill yn y glyn.—M. 10.

Ffarwel i chwi gynt a gerais,
Niddaw'ch cwm'ni, ni ddaw'ch gwedd
Ni ddaw'r goreu o'm cyfeillion,
Ond i'm danfon at y bedd:
Pan ddel angeu chwi ffowch ymaith,
Da i mi fod genyf Dduw;
Y ffrynd a'm cynnal pan yn marw,
Hwnw gara'i tra b'wyf byw.

O dystawa galon ofnus,
Na chais wrthddrych arall mwy,
Digon, mwy na digon ydyw,
A ddyoddefodd farwol glwy';
Ffarwel ddaear a'i theganau,
Nid y'ch oll ond twyll i gyd:
Uwch y ser y mae'r trysorau,
Teilwng o fy serch a'm bryd.

695. Ffarwel i'r byd.—M. 19.

Ffarwel i'r byd
Af tua gwlad yr hedd;
Anturio wnaf,
Er dychryniadau'r bedd:
Mi wela 'Mrawd
Hoff cu addfwynaf draw,
Yn angeu du,
Fe'm deil â'i ddeheu law.

O gwawria'n glau,
Yr hoff ddedwyddaf ddydd;
O'r carchar caeth,
I'm henaid fyn'd yn rhydd:
Dysgwyl yr wyf,
Bron weithiau a llwfrhau,
O'm rhwymau oll,
I'm gael fy llwyr ryddhau.

696. Ffenestri gras.—M. 4.

Ffenestri'th ras eu caru wnaf,
Trwy'r rhai y gwelaf f'Arglwydd;
Ond mi gaf gwrdd â'i wyneb gwych,
Heb rhyngom ddrych yn ebrwydd.

Ac O na ddeuai'r hapus ddydd,
I droi fy ffydd yn olwg,—
Cawn wel'd fy Mhrynwr fel y mae,
Yn ngoleu'r ne'n fwy amlwg.

F'Anwylyd, brysia, ymaith tyn
Y dyddiau hyn o attaliad;
Yna fy enaid a gaiff fod
I gyd yn glod a chariad.

697. Fflam cariad.—M. 6.

Fflam ydyw cariad cryf,
O nefol ddwyfol dân;
Er bod mewn llawer llif,
Ni ddiffydd hon yn lân:
Bydd cariad byth yn llenwi'r nef,
A'r gân o hyd fydd—Iddo Ef.

Ni roddir gormod byth
I'r Hwn a rodd ei hun;
Ei gariad rhad dilyth
Sy'n gofyn pobpeth dyn:
Ewch ymaith felus chwantau'r byd,
Mae cariad Crist yn dwyn fy mryd.

698. Gwlad y cibau.—M. 15.

Ffolineb mawr oedd aros c'yd
Mewn gwledydd pell, a rhoddi'm mryd
Ar gibau gweigion dilesâd:
O'r tlawd ardaloedd 'rwyf yn troi,
A thua'r nefoedd gwna im' ffoi,
At haeddiant llawn y dwyfol waed.

Ffarwel 'rwy'n roi i'r oll i gyd
A ganfu natur yn y byd,
Gwagedd o wagedd ydynt hwy:
Fy unig etifeddiaeth yw
Tragwyddol gariad pur fy Nuw,
A'm cysur ar y ddaear mwy.

699. Eilun-addoliaeth.—M. 5.

Ffol yw addoli delwau hyll
O bren a maen, disynwyr ddull:
Darn teg o fwyn yw'r goreu gair,
Sef duw o arian neu o aur.

Mae iddynt glustiau a llygaid syn,
Ond dall a byddar ynt er hyn;
Aberthu i'r rhai'n sydd ofer waith,
Nid gwiw gweddio arnynt chwaith.

O Israel, cred di yn dy Dduw,
Dy Borth a'th Amddiffynfa yw;

Cwyd ef dy anghyfannedd le,
Dy braidd a'th fugail geidw efe.

**700.** Ffordd y groes.—M. 4.

FFORDD arw'r groes yw ffordd y nef,
  A'r pur dangnefedd hyfryd;
Hon yw y ffordd a'n dwg cyn hir,
  Yn iach i dir y bywyd.

Mae nerth wrth raid i'r teulu mwyn,
  Sy'n dwyn y groes yn ufydd,
Ac oddifewn y nefol gaer
  Cânt wisgoedd clai'r a phalmwydd.

'Nol cyrhaedd pen y daith mewn hedd,
  Ceir melus wledd wrth gofio
Am dywydd garw'r dyrys dir,
  A'r croesau hir gaed ynddo.

Ar fyr cawn etifeddu'r wlad,
  Lle mae ein Tad yn Llywydd;
A byw uwch cyrhaedd pob rhyw loes,
  Drwy rinwedd croes ein Harglwydd.

**701.** Ffordd Rhagluniaeth.—M. 3.

FFORDD Duw er dwyn i ben ei waith
  Dirgelaidd iawn yw hon,
Fe gerdda eigion moroedd maith,
  A merchyg ar y dòn.

Ymnerthwch chwi o weiniaid ffydd,
  Y cwmwl ofnwch 'nawr,
A ddwg gawodau rhad a rhydd
  Bendithion fyrdd i lawr.

Na farnwn Dduw wrth reol dyn,
  Ond pwyswn ar ei rad,
Tu draw i lèn Rhagluniaeth flin,
  Fe guddia wyneb Tad.

Addfeda ei arfaethau hardd,
  Dadblygir hwy bob dydd,
Os chwerw yw y blodau dardd,
  Y ffrwyth yn felus fydd.

**702.** Ffordd y Bywyd.—M. 20.

FFORDD newydd a bywiol,
  Dragwyddol a gaed,
Balmantwyd gan Iesu,
  Drwy chwys a thrwy waed,
I gerbyd ei gariad,
  I gario yn nghyd,
Holl ddefaid ei gorlan
  O bedwar ban byd.

Wrth adsain Calfaria,
  A gallu mab Duw,
Daw'r llu esgyrn sychion,
  Oedd feirwon i fyw:
Cenedloedd y ddaear
  A ddeuant yn nghyd,
Dan gerdded ac wylo,
  I'w gorlan fwyn glyd.

**703.** Ffordd y nefoedd.—M. 5.

FFORDD newydd wnaed gan Iesu Grist,
Rhag syrthio lawr i uffern drist;
Wedi 'i phalmantu ganddo ef,
O ganol byd i ganol nef.

Agorodd ef, pan rwygai'r llen,
Holl auraidd byrth y nefoedd wen;
Mae rhyddid i'w gariadau ef,
I hyfryd deg drigfanau'r nef.

Yn fynych fynych, Iesu cu,
Datguddia'th fod yn eiddo i mi;
Mewn tònau mawr yn wastad gad
Im' allu llefain, Abba, Dad.

**704.** Ffordd y Bywyd.—M. 7.

FFORDD nid oes o waredigaeth
  Ond agorwyd ar y pren;
Llwybr pechaduriaid euog
  Mewn i byrth y nefoedd wen:
    Dyma'r brif-ffordd, &c.
Gwnaf ei rhodio tra b'wyf byw.

Tyr'd, gan hyny, Iesu'n fuan,
  Bydd o blaid yr euog gwan,
Sy'n lluddedig gan gystuddiau,
  Bron yn methu d'od i'r lan:
    Tyn fy enaid, &c.,
Fel y rhedwyf ar dy ol.

**705.** Dysgwyl Mab y dyn.—M. 10.

FFOWCH, deganau gwael y ddaear,
  Ciliwch, wag bleserau'r llawr,
Sefwch draw, y maes a'r fasnach,
  Gadewch lonydd i mi'n awr;
Brysio 'rwyf, fe alwyd arnaf;
  Mae'r Priod-fab yn nesâu,
Gyda'r rhai sy'n awr yn barod,
  Af, cyn caffo'r drws ei gau.

Clywaf lais, o'r nef mae'n galw,
  Wele fi yn d'od ar frys;
Goleu'r lamp, gwregysa'th lwynau,
  Gwylia, dysgwyl am yr wŷs;
Na thrymhaed fy nghalon bellach,
  Cadwed mwyach ar ddihun,
Boed yn effro mwy i ddysgwyl
  Am ddyfodiad Mab y dyn.

**706.** Ffoi i'r Noddfa.—M. 10.

FFOWN i'r Noddfa 'nawr heb oedi,
  Ffown cyn delo'r diluw mawr;
Brysiwn, brysiwn am ein heinioes,
  Cyn y delo'r tân i lawr:
Mae'r dialydd yn ein dilyn,
  Ac mae'r farn yn agosâu;
Trown yn awr i'r amddiffynfa,
  Cyn y caffo'r drws ei gau.

**707.** Sicrwydd ffydd.—M. 4.

FFYDD ydyw yr egluraf brawf
  O bethau uwchlaw fy ngolwg;

Trwy gnawd a rheswm treiddio mae
I'r nefol oleu amiwg.

Amserau pell a phethau draw,
Mae'n ddwyn gerllaw i'w canfod;
Fil o flynyddoedd cyn ein co',
Neu filoedd etto'i ddyfod.

Trwy ffydd y gwyddom wneyd o Dduw
A'i air yr amryw fydoedd;
Abram yn ufydd aeth drwy ffydd
I'r gwledydd nid adwaenodd.

Ymgais am ddinas deg 'roedd ef,
O waith llaw gref dragwyddol;
Ffydd, er in' farw, rydd sicrhad
Y sai'r adeilad nefol.

708. Ffynnon Llawenydd.—M. 4.

Ffynnon fy holl lawenydd yw
Yr Arglwydd Dduw yn ddiau;
Gogoniant fy holl ddyddiau clir,
A chysur fy nosweithiau.

Mewn t'w'llwch os ymddengys E,
Mae 'ngwawr i'n dechreu tòri;
Efe yw'm siriol Seren ddydd,
A'm Haul, os bydd yn codi.

Y nef o'm cylch dysgleirio bydd,
A llewyrch dedwydd goleu;
Pan dd'wedo Crist mae'm heiddo yw fo,
A minnau'n eiddo yntau.

709. Ymddarostyngird Crist.—M. 10.

Gadael uchel sedd gogoniant,
Gadael moliant dirif lu,
Gadael hardd freninol goron,
Wnaeth ein tirion Iesu cu:
Disgyn wnaeth ar edyn cariad,
Achub oedd ei fwriad E;
Daeth o'i fodd i'r cystudd chwerw,
Daeth i farw yn ein lle.

710. Gwlad well.—M. 6.

Gadawn y byd ar ol,
Y byd lle cawsom wae,
Y byd ag sydd bob dydd
Yn ceisio'n llwfrhau;
Mae gwlad i'w chael uwch ser y nef,
Sydd fil o weithiau'n well nag ef.

Nis gallaf aros dim,
Mi glywaf rym y nef,
Fy ngalw mae yn mlaen,
Yn fuan ato ef:
Ffarwel, ffarwel, ddeniadau'r byd,
Methodd eich tegwch ddwyn fy mryd.

711. Immanuel yn marw.—M. 5.

Gadewch i'r hen genedloedd wau,
A seinio cân i'w duwiau gau;
Ond testun pêr fy nhafod yw,
Cariad fy Mhrynwr mwyn a'm Duw.

O'r nef y daeth, a marw wnai,
I gadw'm henaid tlawd rhag gwae;
Ei waed i'm golchi roddes ef,
A'i waed ddiffoddodd lid y nef.

Anfeidrol hawddgar rasol Grist,
Ffrynd pechaduriaid tlodion trist,
Dy enw mawr, molianner ef
O gylch y ddaear faith a'r nef.

712. Plant at Grist.—M. 15.

Gadewn i'n plant nesâu i'r pyrth,
I ddatgan moliant Crist a'i wyrth,
Can's eiddo rhai'n yw teyrnas nef;
Cyssegrwn hwynt i waith ei dŷ,
I ddysgu iaith y nefoedd fry,
O'r bru y ceir ei wobrwy ef.

Llawenydd coron tad a mam,
A'u gweddi daeraf ar bob cam
O'u gyrfa yma oll i gyd,—
Cael ffrwyth eu bru i feddu'r fraint
O le ac enw gyda'r saint,
A bery'n hŵy nâ mawredd byd.

713. Nefoedd ar y ddaear.—M. 7.

Gad i'r llesgaf nesu atat,
A chael etto dy fwynhau,
Heb un gorchudd ar dy wyneb,
Heb un gwg i'm llwfrhau:
Dyma'r nefoedd, &c.,
Wyf am gael tu yma i'r bedd.

Os agori im' dy fynwes,
I gael gwel'd y cariad llawn,
Lifodd allan fel y moroedd
Ar Galfaria un prydnawn:
Dyma'r nefoedd, &c.,
Wyf am gael tu yma i'r bedd.

714. Ffydd mewn Gwaredwr.—M. 4.

Galwadau'r nef a ufuddhaf,
A cheisiaf waredigaeth:
Am gredu 'rwyf—fy ffydd sydd wan,
Duw, cymmorth fy anghrediniaeth.

I ffrydiau gwaed fy Mhrynwr cu,
Heb oedi mi ymdaflaf,
Fel caffo'm henaid ei lanhau
Oddiwrth ei feiau duaf.

Pryf euog, gwan, diborth wyf fi,
I'th freichiau, Iesu, cwympaf;
Nerth a chyfiawnder bydd i mi,
Can's ynot ti y credaf.

715. Ansicrwydd bywyd.—M. 52.

Gall fod na chaf un awr yn hŵy,
Cyn i gledd angeu roi im' glwy',
I'th lwyr ysgaru, f'enaid prudd,
Oddiwrth dy babell hon o bridd;
Oes genyt hanes pabell well,
Pan raid it' golli'r briddlyd gell!

Efengyl gras sy'n galw'n gry'
Fod pebyll yn y nefoedd fry,
I enaid pob pererin sydd
Yn gorfod gado'u tai o bridd;
Ein gwahodd mae perchenog nef,
Gwrandawn yn awr ei hyfryd lef.

716. Ni'th anghofiaf di.—M. 11.

"Gall gwragedd anghofio'u plant sugno,
Ond d'ollwng di'n ango' nis gwnaf;
Ni raid it', ferch Sion, byth cwyno,
Cei bwyso ar fynwes dy Naf;
Ar gledr fy llaw i'th argreffais,
Yn rhwydd mi a'th gerais yn rhad;
A cher fy mron beunydd mae'th furiau,"
Clyw Sion fwyn eiriau dy Dad.

717. Angau esmwyth.—M. 20.

Gall Iesu wneyd gwely
Marwolaeth i mi,
Mor esmwyth i'w deimlo
A glwth o fân blu';
Tra byddwyf yn pwyso
Fy mhen ar ei fron,
Bydd melys roi fynu
Fy anadl ar hon.

I'm cyrchu fy Iesu
Yn dyfod pe bai;
Fy enaid a daenai'i
Adenydd yn glau;
Trwy borth haiarn angau,
Draw hedai'n dra hŷ,
Heb deimlo m'o dychryn
Y dyffryn oer du.

718. Hyder mabaidd.—M. 5.

Gall poenau cystudd rwygo'n rhydd
Linynau brau fy nghalon brudd,
Ond rhwygo f'enaid drud byth mwy
Oddiwrth fy Nuw nis gallant hwy.

O Dduw, a all y plentyn sy'
Yn awr am garu'th wedd mor gu,
Gael byth ei droi o'th wydd i maes
Heb gyfran o'th dosturiol ras!

Na, na, fy Nuw, dy law dy hun,
Fu'n c'lymu nghalon â thi'n un,
Ac yn dy air rho'ist brawf i ni,
Y caiff dy blant fod gyda thi.

719. Digon yn Nghrist.—M. 51.

Gan fod Duw yn cynnyg Crist
I'r pechadur truan trist,
Rhaid bod digon ynddo'i hun
Foddia Dduw wrth achub dyn.

Y mae ynddo ef yn llawn
Bob rhyw haeddiant, gras, a dawn,
Pob cyflawnder ynddo'i hun
Ag sydd raid i gadw dyn.

720. Gwledd rad barod.—M. 24.

Gan fod y wledd a'r wisg yn barod,
Gwarthus i ni yw eu gwrthod;
Gochelwn aros i newynu,
A modd i'n hollol lwyr ddiwallu:
O! mae'n resyn marw o eisiau,
Gan fod yr odiaeth arlwyadau
Heddyw'n rhad yn ein gwlad,
A galwad ar drigolion
Y byd i gaffael o'r danteithion,
Sydd ger ein bronau yn ddibrinion.

721. Na chudd dy wyneb.—M. 52.

Gan i ti oddef marwol glwy',
Nid elli attal gwen dy ras,
Na chuddio'th gariad rhagof mwy,
Heb lifo'n afon loyw las,
Rho wel'd dy wedd, fy Ior, ar frys,
Neu cymmer fi i'th nefol lys.

A fyddi mwy ddyeithr im'?
A all dy gariad pur didrai
Fy ngadael i elynion llym,
I golli'r dydd ac i lesgâu?
Rho wel'd dy wedd fy Ior ar frys,
Neu cymmer fi i'th nefol lys.

722. Iaith y gwaed.—M. 19.

Gerbron y Tad
Mae iaith y gwaed o hyd,
Am lwyr lanhau
Ein beiau yn y byd:
I Dduw a'r Oen,
Heb boen na llygredd byth,
Y cân y saint
I oesoedd rif y gwlith.

723. Rhydio'r Iorddonen.—M. 17.

Gerllaw,
Mae'r Cristion prudd yn awr mewn braw
Wrth rydio'r hen Iorddonen draw,
Yn ofni daw rhyw anferth dòn,
I'w daflu'n ol oddiwrth y tir,
A chyn bo hir ei foddi'n hon.

Ar hyn,
Mewn gwasgfa ddwys, mae'n gweiddi'n [dŷn
O! ple mae Cyfaill glân y glyn?
'Rwyf yma'n syn yn ofni'm sail,
Y syrth fy adail gwedi'r gost [dail.
Mae'n crynu'n dost, 'run modd â'r

724. Yr ail ran.

Yn awr,
Mi wela'r wiwlwys nefol wawr,
Goleuni'r hwyr, a'r Cyfaill mawr,
Yn dod i lawr o'r dedwydd le,
Fel Arch-offeiriad yn y dwr,
Mae'n Ganolwr i'w gynnal e.

Fel hyn,
Fe gafwyd glân tu draw i'r glŷn
A darfu'r daith ofidus dŷn;
Uwchlaw pob gelyn ar y llawr,
Mae'n dechreu cân yn mhlith y côr
Sy'n nofio ar fôr y nefoedd fawr.

725. Angor enaid.—M. 5.

Gobaith yw angor f'enaid drud,
Wrth groesi moroedd garwa'r byd,
Mawr ydyw grym y gwynt a'r dòn
I'm herbyn drwy y fordaith hon.

Ond unig obaith f'enaid yw
Addewid ddianwadal Duw;
Mi dafla f'angor yma i lawr,
Yn nghanol tònau'r moroedd mawr.

Os gwynt a thònau ddont fydd mwy
Nâ'r rhai a gwrddais gynt â hwy,
Mae gafael f'angor uwch y nen,
A'm Iesu fry tu fewn i'r llen.

726. Gwagedd y byd.—M. 4.

Gofidiau mawrion fwy nâ mwy,
A drostwy'n fôr o dristwch,
'Does yma un ond Iesu mawr
A rydd im' awr o heddwch.

Nis gall ystor o drysor drud,
Na golud lenwi'r galon;
Nis gall y byd a'i hyfryd wedd
Roi sylwedd i'w drigolion.

Er hyn i gyd, rhaid i ni gael
Yr Iesu hael yn drysor;
Yn ol ei gael, ni wel y gwan
Na'r egwan eisieu'n rhagor.

727. Gogoniant y nefoedd.—M. 11.

Gogoniant a mawredd anfeidrol
O amgylch gorseddfainc y nef,
Belydra ryw lewyrch tanbeidiol
I ddysglaer oleuo y lle;
Ac arni yr eiste'r Gwaredwr,
Yn Llywydd galluog y byd;—
Dynoliaeth brydferthaf y Prynwr
Yw harddwch y nefoedd i gyd.

Orielau uwch eang orielau,
O'i amgylch yn rhes ar ol rhes,
Yn llawn o seraphiaid a seintiau,
Rhai mhellach, oddiwrtho rhai'n nes;
A'r cyfan yn syllu mewn syndod
Ar fawredd y Drindod o draw,
A'r pellaf mor amlwg yn canfod
A'r nesaf i'w wyddfod a ddaw.

728. GORPHWYSIAD.

Myn'd heibio mae oesoedd 'nol oesoedd,
Fel moment, gan fwyned y gân,
A moment yn para fel oesoedd,
Wrth sylwi ar leoedd mor lân;
Mil myrddiwn o auraidd delynau
A'u tannau yn seinio oll sydd,
Dan fysedd claerwynion y graddau
Yn chwareu'r anthemau a fydd!

'Nol olrhain rhyfeddod ffurfafen,
Cael dringo ffurfafen yn uwch,
A'r ser yno'n britho yr wybren,
I'w gweled gan llawned â'r lluwch!

Un gyssawd wrth gyssawd dan rwymau,
Yn fil o ddolenau a lŷn,
A'r miloedd aneirif gyssawdau
Yn rhwym wrth ei orsedd ei hun.

729. GORPHWYSIAD.

Y Prynwr bendigaid a arwain
Y teulu drwy'r palas i gyd,
Ac ambell ystafell yn gymmain'
A myrddiwn o'n daear ni'n nghyd;
A'i law yno'n dirwyn y peiriant,
Pob olwyn wrth gadwyn i gyd,
A'r cyfan yn datgan gogoniant
Anfeidrol Iachawdwr y byd.

O, deulu dedwyddaf y nefoedd,
Chwarewch eich telynau yn mlaen,
Mae brodyr, mi welaf, ryw luoedd
Fry yna ddiangodd o'm blaen;
Ffarwel i chwi'n awr, ddedwyddolion,
Fy swydd i yn Sion y sydd,
Pan ddelwyf i ben a'm gorchwylion,
Caf finnau o'r corff dd'od yn rhydd.

730. Rhagoriaeth y Bibl.—M. 5.

Gogoniant byth drwy'r ddae'r a'r nen
Fy Arglwydd, fo'n coroni'th ben,
Am it' amlygu i lwch y llawr,
Dy radlawn iechydwriaeth fawr.

Pe teithiem gylch y byd bob man
A chwilio o Frydain i Japan
Bath crefydd Crist, ni cheid yr un,
Mor iawn i Dduw, mor iach i ddyn.

Ymboeni mae'r gydwybod gaeth
Am loches dawel rhag pob aeth,
Ond dryllir hi gan ofnau trist
O hyd nes ffŷ dan nodded Crist.

Pe bai'r holl ffurfiau dynol sydd
Yn rhuthro'u gyd er siglo'm ffydd
Gwagedd a thwyll y galwn hwy—
Efengyl hedd gofleidiwn mwy.

731. Cân yr adgyfodiad.—M. 4.

Gogoniant byth i'r anwyl un
A dynodd golyn angau,
Yspeiliodd uffern fawr ei grym
A rhyddion ydym ninnau.

Gorchfygodd Iesu un prydnawn,
Y ddraig a'i llawn gynllwynion,
A'i waed a roddodd i'n glanhau
A'n cànu ninnau'n wynion.

Chwi sereiph a cherubiaid glân,
Eich dawn rhowch allan iddo,
Y ddwyfol law a'n cododd ni,
A'ch cadwodd chwi rhag syrthio.

732. YR AIL RAN.

O dewch angylion, pa'm na ddewch,
A chyd-chwarewch eich tànnau,

A boed i sain Calfaria fryn
Ail ennyn eich telynau.

Os chwi a genwch am eich dal,
A'ch cynnal drwy ei allu,
Ein dyled ni'n fyrdd mwy a gaed,
Fe rodd ei waed i'n prynu.

Dadseinied grymus anthem gref
Organau'r nef ogoned,
I enw'r Duwdod yn y dyn
Pob dawn yn un ennyned.

733. Y DRYDEDD RAN.

O ANGEU taeog, dywed hyn,
P'le mae dy golyn bellach;
A pha le mae, O uffern gaeth,
Dy fuddugoliaeth mwyach?
O teilwng, teilwng ydyw'r Oen
A ddygodd boen ein beiau,
Nid hwy fydd tragwyddoldeb chwaith,
Nâ hyd ein mhaith ganiadau.
Am daliad drud y prynwyd ni
O'n holl drueni marwol,
A'r pridwerth ar Galfaria fryn
Yw'n testun yn dragwyddol.

734. Iddo ef.—M. 33.

GOGONIANT byth i'r Iesu mawr
A ddaeth i lawr o'r nef;
Fe ymddangosodd Duw'n y cnawd
Ein hanwyl Frawd yw ef:
Iddo ef yr hwn a'n carodd
Ac â'i werthfawr waed a'n prynodd,
Bo'r gogoniant yn oes oesoedd;
Halaluia, Halaluia,
Caned lluoedd nef a llawr.

Aberthai'i hunan ar y groes,
Ei fywyd roes i lawr,
Daeth trwyddo iechydwriaeth rad,
I bechaduriaid mawr;
Iddo ef yr hwn a'n carodd, &c.

735. Mawl i'r Drindod.—M. 2.

GOGONIANT Duw y Tad
Fo'n wastad yn ein genau;
O'i gariad ef y cawsom oll
Ffynnon ein holl ganiadau.

A seiniwn hefyd glod
A'n tafod i'r Mab Iesu;
Yr hwn o'i fodd ei fywyd roes
Ar bren y groes i'n prynu.

I'r Ysbryd Glân rho'wn fawl
Ar gân dragwyddawl gysson,
Yr hwn o'i ras sy'n dwyn i lawr
Ddyddanwch mawr i ddynion.

736. Paradwys isod.—M. 20.

GOGONIANT i'r Arglwydd
Sy'n llywio y nef;
Rhad anfon bendithion
Oddiyno mae Ef;
Paradwys o wynfyd,
Flodeuog a hardd,
O fewn yr anialwch
Gwyllt, weithiau a dardd.
Ar ffrwythau'r wlad nefol,
Caf wledda'n llon iawn;
A sugno i'm henaid
Ddyddanwch sydd lawn;
Daw'r nefoedd i'r galon,
Mewn rhan yma'n awr,
Gogoniant sy'n dechreu
Blaendarddu ar y llawr.

737. Gogoniant i'r Drindod.—M. 11.

GOGONIANT i'r Tad a'r Mab hefyd,
A'r santaidd Lân Ysbryd,—Tri'n Un;
Gogoniant i Dduw yn dragwyddol,
Fe garodd, do, ddamniol wael ddyn:
Cyd-ganed y nefoedd a'r ddaear,
Yn llafar, ei fawl yn mhob lle;
Clodforwn y Brenin tragwyddol,
Anfeidrol dosturiol yw 'Fe.

738. Mawl yr wybrenau.—M. 4.

GOGONIANT maith fy nefol Naf
Ddatganaf mewn llawenydd;
Doed lluoedd byd i gyd-fawrhau
Eu Lluniwr a'u Pen-llywydd.

Dysgleiriwch chwi blanedau'n llon,
A throed olwynion natur;
I'w foli ef, heb flino o hyd,
O gylch y byd yn eglur.

Dysgleirdeb enwog nerth fy Ner
Drwy hardd lu'r ser lewyrchodd;
A'i ddwyfol fawredd hedeg mae,
Tuhwnt i fryniau'r nefoedd.

739. Prynu enaid.—M. 20.

GOGONIANT yr Iesu,
Datganed pob dyn,
Bu farw am drosedd,
Nid eiddo ei hun;
I gael gan bob tafod
Ei foli'n ddilyth,
Ac eistedd ar osedd
Ei nefol Dad byth.

Fe brynodd ein henaid
Rhag uffern a'i phoen,
A'i waed anmhrisiadwy;—
Gogoniant i'r Oen;
A chyndyn drueiniaid
Na haeddent gael byw
A wnaed yn gyfeillion
Anwylion i Dduw.

740. Fel Oen i'r lladdfa.—M. 28.

GOGWYDDODD Crist ei ben
Ar bren y groes;

Fel Oen arweiniwyd ef
I ddyoddef loes;
Gorphenodd yno'r gwaith
O brynedigaeth dyn;
Am hyn mae nef a llawr
Yn awr yn un.

Boed i mi gael mwynhau
Hyd angeu du,
O'i iechydwriaeth rad,
A'i gariad cu;
Can's dyma hyfryd win
O beraidd rîn a blas
Maddeuant pur a hedd—
O ryfedd ras!

741. Offeiriad tosturiol.—M. 30.

Gogwyddodd Crist ei ben,
Dan hoelion ar y pren,
Bydd cofio'r pryd:
Gwnaeth aberth drosom ni,
Ar fynydd Calfari,
A'i waed a redai'n lli',
I'n golchi i gyd.

Gŵyr am wendidau dyn,
A chyd-ymdeimla ei hun,
A'i weiniaid rai;
Fe'u cynnal dan bob cûr,
Tra yn yr anial dir,
Nes iddynt dd'od yn bur,
Heb unrhyw fai.

742. Glanhad a chysur.—M. 4.

Golch fi, O Dduw, a llawenha
Fy enaid â'th drugaredd;
Iacha fy ysbryd drylliog gwael
Pâr i mi gael gorfoledd.

Na lwyr adawed d'ysbryd fi,
Na chuddia di dy wyneb;
Fy nghalon ddrwg o newydd gwna
A llanw hi â'th raslondeb.

Yr enaid blin fo'n teimlo'i bla,
Duw nis dirmyga'n ddiau;
Y weddi brudd a'r ddrylliog fron
Yw'r gwirion aberth gorau.

743. Afon Calfaria.—M. 17.

Golch ni
Oddiwrth ein beiau aml ri',
Yn afon werthfawr Calfari,
Sydd heddyw'n lli', o haeddiant llawn
Er cymmaint ein haflendid ni,
Yn dorf ddiri', ein golchi gawn.

Dy waed
Oedd pwrcas drud yr hyfryd wlad,
Bar'tow'd i mi yn eithaf rhad;
Dy gariad annherfynol maith,
A'm nertha mwy i fyn'd yn mlaen,
I Salem lân, ar ben fy nhaith.

744. Goleuni a Noddfa.—M. 4.

Goleuni o dywyllwch yw
Yr Arglwydd Dduw i'w eiddo;
Drwy'r dduaf nos, yn yml mae,
Rhag ing a gwae i'w cuddio.

Eu pabell fydd, a'u nhoddfa glyd,
Yn nghanol byd tymhestlog;
Mae yno waed a dw'r wrth raid,
A hedd i'r enaid euog.

745. Bywyd trwy'r Iawn.—M. 10.

Golwg ar y drugareddfa,
Unig fan taenellfa'r gwaed,
Ydyw bywyd y credadyn;
Iawn i'r gofyn yno gaed:
Am gael modd i glirio'r llyfrau,
Rho'f o'm genau foliant gwiw;
Ac a dreuliaf ddyddiau'm bywyd
Fyth yn hyfryd waith fy Nuw.

Ffordd a wnaed trwy waed yr Iesu,
I lonychu Sion wan;
Yn llaw'r Gwr fu dan yr hoelion,
O'i dyledion daw i'r lan:
Gwelir myrdd fu'n garcharorion,
Yn rhoi'r goron ar ei ben,
I'w Ior grymus cydymgrymant
Mewn gogoniant uwch y nen.

746. Dy feirw fyddant byw.—M. 11.

Gorchfygodd, gorchfygodd yr Iesu
Y fagddu, gan haeddu in' hedd!
Ennillodd, wrth agor y dorau,
Holl gloiau a bàrau y bedd!
Aeth adref trwy'r drysau tragwyddol,
I eiriol yn nghanol y nef;
Daw eilwaith holl gyrff y duwiolion
I'r lan fel ei dirion gorff ef.

Y bedd (er mae annedd oer ini,
I'n rhoddi o gyni a gaed)
Santeiddiwyd, aroglwyd i'r eglwys,
Lle cymmwys i orphwys a wnaed;
O'i wely y saint a gyd-godant
Pan rydd yr arch-angel ei lef,
Ac yna dan ganu esgynant
Yn dyrfa i noddfa y nef.

747. Llawenydd Sion.—M. 34.

Gorchfygodd Brenin hedd
Fyd, uffern, angeu, a'r bedd;
Priodi wnaeth
Yr hon oedd gaeth ei gwedd:
Am hyn crechwena Sion wan;
O'th agwedd lesg cei dd'od i'r lan;
Tywysog y tangnefedd,
Da'i rinwedd, yw dy ran.

Nid all na llid na brad
Niweidio'r un o'r had
Sy'n tynu fry,
At dawel dŷ eu Tad;

Nis gall yr anial tywyll du
Byth ddrygu neb o'r dedwydd lu,
Sy'n dawel hy' dan aden
Eu capten Iesu cu.

748. Gorphenwyd.—M. 5.

Gorphenwyd ffordd i ddynolryw
Colledig, at orseddfainc Duw,
Gan Iesu, ar Galfaria fryn,
Yn berffaith fe orphenwyd hyn.

Gorphenwyd! cenir yn y man,
Pan ddelo Sion lesg i'r lan,
Yn llaw ei Phriod, ar ei wedd,
Yn iach i gyd o'r byd a'r bedd.

Gorphenwyd! O bereiddiaf air!
Yn llys y nef unlleisio wnair
Gan deulu gras, a blas heb lyth
Fydd ar y gair *gorphenwyd* byth.

749. Gorphenwyd.—M. 23.

Gorphenwyd, medd Crist,
A'i enaid yn drist,
Gorphenwyd, gorphenwyd,
Mae'r nefoedd yn dyst:
Ei fywyd o'i fodd
Yn aberth a rodd,
Wrth feddwl am hyny
Pa galon na thodd?

Fe gofir y gwaed
Rhinweddol a gaed,
A chymmod i'r gelyn
A roddir yn rhad;
Daw hefyd yn lli'
Faddeuant i ni,
Drwy rinwedd yr Aberth,
Ar fryn Calfari.

750. Gorphenwyd.—M. 5.

"Gorphenwyd!" Pwy a dd'wedodd [hyn?
Yr Iesu ar Galfaria fryn:
Hon oedd yr olaf lef a roes
Pan oedd yn trengu ar y groes.

Gorphenwyd beth? gorphenwyd poen
Y croeshoeliedig addfwyn Oen;
Ac addewidion llawer oes
A lwyr gyflawnwyd ar y groes.

Gorphenwyd! pa orpheniad fu?
Gorphenwyd maeddu uffern ddu,
Gorphenwyd angeu angeu'i hun,
Gorphenwyd iechydwriaeth dyn.

751. Gorphenwyd.—M. 22.

Gorphenwyd, pwy ddywed,
Wrth fodd calon Sion?
O'i fodd âi un anwyl
I le ei elynion:
Pe myrdd mwy o fydoedd,
Yr Iawn sydd ddigonol,
Ond effaith ei rinwedd
Ga'r enaid credinol:

Tywalltwyd y ffrydlif
Ar glogwyn Calfaria,
Wna dduaf bechadur
Yn wynach nâ'r eira.

Ys duodd yr haul
Daeth gwawr mwy odidog;
Condemniwyd y Barnwr,
Rhyddhawyd yr euog!
Fe ddarfu'r ddyfalach,
Ddyfalach fawr wasgfa,
Rhoed taenfa chwys rhuddwawr
Tros rew Gethsemana!
Fe deimlwyd y cusan
Oedd arwach nâ'r hoelion,
A'r gwadu âi'n bellach
Nâ'r bicell i'r galon!

752. Yr Ail Ran.

Fe wisgwyd y porphor,
Gorchfygwyd yn Bozrah;
Marwolaeth a lyncwyd
Yn nghroes y Messia!
Y creigiau ymrwygent
Yn mhoethder y frwydyr,
A chrynai pob cadarn,
Ond—calon pechadur!
Gorphenwyd! Tarawyd
Y Graig! Wele Ffynnon!
Mae noddfa'n y gwanu!
Mae nef yn y goron!

Mae cân yn ei wylo,
Mae balm yn ei ddagrau,
A bywyd diderfyn
Yn deilliaw o'i angau!
Gorphenwyd! mae pob
Proffwydoliaeth yn gyfan;
Mae mêl yn ngwaelodion
Sur waddod y cwpan:
Halaluia i'r Oen!
Ei boen a ddybenwyd,
Dechreuer yr anthem!—
Gorphenwyd! gorphenwyd!

753. Maddeuant rhad.—M. 14.

Gorphenwyd talu'n llawn,
Ar groesbren un prydnawn,
Anfeidrol iawn; caiff torf ddiri'
Faddeuant yn y gwaed,
A hollol wir iachad,
A Duw yn Dad, mewn cariad cu.

Bydd torf o ddysglaer lu,
Ger bron yr orsedd fry,
Yn moli'n gu, a'u mawl ar g'oedd;
Angylion pur eu cân,
A seintiau fawr a mân,
Yn Salem lân, byth wrth eu bodd.

754. Gorphwysfa i Sion.—M. 56.

Gorphwysfa deg heb boen na briw
Sydd etto'n ol i bobl Dduw;

Llawenydd pur uwch cyrhaedd braw,
Didrai a gânt yr ochr draw:
Eu haulwen hawddgar lon,
Ni fachlud mwyach hon;
Haul, Haul Cyfiawnder yw
Eu llewyrch byth yn nheyrnas Dduw.

755. Daioni Duw.—M. 5.

Goruchel Frenin nef a llawr,
Ardderchog yw dy Enw mawr;
D'ogoniant drwy'r holl ddaear aeth,
Ac uwch y nef derchafu wnaeth.

Fy ngolwg syn pan godwyf draw,
I weled gwaith dy gywrain law;
Y lloer a'r ser mor ddysglaer sy,
Yn harddu cylch yr wybren fry.

Pa beth yw dyn? Abwydyn gwael!
I gael fath brawf o'th gariad hael!
A rhyfedd fraint coronaist ef—
Ei ddwyn o'r llwch i deulu'r nef!

756. Adgyfodiad Crist.—M. 4.

Gosodais Iesu ger fy mron,
Fy nghalon ddeil i fynu;
Fy nghnawd a drig mewn gobaith llawn,
'Rwy'n llawen iawn am hyny.

Ni âd yr Ion mo'm hysbryd byth
I fod yn mhlith y meirw;
Na'm corff i aros yn y bedd
I weled llygredd hwnw.

Datguddir ffordd y bywyd fry
I'm codi at yr orsedd,
Lle mae hyfrydwch ger ei fron,
Digrifwch llon diddiwedd.

Iesu, anwylyd nef, a ga'dd
Ei greulawn ladd, a'i gladdu;
Ond dryllio'r bedd a wnaeth Mab Duw,
Ac wele, byw yw'r Iesu.

757. Duw yn Sïon.—M. 10.

Gosod babell yn ngwlad Gosen
Dere, Arglwydd, yno'th hun;
Disgyn o'r uchelder goleu,
Gwna dy drigfa gyda dyn;
Trig yn Sion, aros yno,
Lle mae'r llwythau'n dod yn nghyd,
Byth na ymâd oddiwrth dy bobl,
Nes yn ulw'r elo'r byd.

Nid fy nef yw ar y ddaear,
Mewn un man o dan yr haul,
Dim ond tawel bresennoldeb
Siriol wyneb Adda'r Ail:
Gwena arnaf, Arglwydd grasol,
Yna gwaeddaf, Digon yw,
Byth yn nghanol cyfyngderau,
Dan dy wenau, gallaf fyw.

758. Dyfodfa at Dduw.—M. 5.

Gras Duw lifeiria at y saint,
Drwy aberth Crist mawr yw eu braint;
Ac at eu Duw, drwy'r llen, er llwydd;
Y cânt bob awr ddyfodfa rwydd.

Wrth fyn'd at fainc eu Tad o'r nef,
A gwel'd ei wenau hawddgar ef,
Cânt beunydd nerth i'w bywiocâu,
A gwir lawenydd i barhau.

Gras Duw, fel had dilwgr coeth,
Sydd ynddynt yn teyrnasu'n ddoeth;
A chyda ffyddlawn wresog barch
Y gwnant ar frys ei felus arch.

759. Effeithiau gras.—M. 3.

Gras, fel rhyw afon fawr o'r nef,
A'i ffrwd yn gref, trwy Grist,
A lifa byth er llawenhau
Eneidiau truain trist.

Trwy'r byd teyrnasa gras a hedd,
Gorfoledd mawr a fydd;
Gwaredir pechaduriaid caeth,
A gwawrio wnaeth y dydd.

Tardd ffrwythau gras yn hardd bob tu,
Nes llenwi daear gron,
Fel gardd ireiddlawn, 'nol ei hau,
Egina hadau hon.

760. Gras Tywysog Sïon.—M. 48.

Gras o orsedd nefoedd wen
Sy'n d'od yn awr i ni;
Rhwygodd Iesu Grist y llen
Ar groesbren Calfari;
F'enaid, cân, mae'r ffordd yn rhydd,
A'r agoriadau 'nawr i gyd
Gan Dywysog Sion sydd,
Iachawdwr mawr y byd.

Am ei goncwest ar y groes
Caniadau Sion sydd,
Am ei iawn a'i farwol loes
Caniadau fwy-fwy fydd;
Melus fythol fawl a chân
A fydd ryw ddydd gan dorf ddiri',
Wedi golchi'r wisg yn lân
Yn afon Calfari.

761. Ymgeledd gras.—M. 10.

Gras o'r orsedd fry a redodd,
A chyfeiriodd at y fan
Lle'r oedd euog gwael yn gorwedd,
Diymgeledd iawn a gwan;
D'wedodd wrtho air a'i cododd,
Drylliodd ei gaethiwed tyn,
Cân, fy enaid gwan, a chofia
Byth am ras Calfaria fryn.

762. Gras Duw.—M. 4.

Gras! peraidd sain yn para yw,
I ddynolryw, plant Adda!
O gân y llu nefolaidd llon
I'r ddaear gron adseinia.

Gras drefnodd ffordd i achub dyn,
Er gwaeled llun oedd arno;

A rhyfedd ras sydd yn mhob rhan
O'r ddyfais anwyl hòno.

Gras drodd y traed fu'n crwydro'n hir,
I'r llwybr gwir tragwyddol;
A gras sydd yn eu gwneyd yn gryf,
Trwy gymhorth cyfamserol.

Gras a gorona'r dwyfol waith
A gwynfyd maith diddiwedd;
Dwg allan y maen penaf oll,
A chaiff yr holl anrhydedd.

763. Gwaed y cymmod.—M. 4.

Gwaed Crist a gollwyd, oddiwrth hwn
Daw pardwn in' o'i Bridwerth;
Ein henaid gwel'd y cymmod mae,
Ac yn mawrhau yr Aberth.

Dy ddrain a'th groes, ein Ceidwad cu,
A ddwg i ni goronau;
O'th loesau deillia in' lesâd,
A llawn iachad o'th glwyfau.

Ond O, nis gallwn ni, y rhai
A drig mewn clai mor waned,
Byth wneuthur digon drosot ti,
Na'th foli fel mae'n dyled.

764. Swper Crist.—M. 7.

Gwaed y groes a ddygodd heddwch
I elynol euog rai,
Gwaed y groes yw sail fy ngobaith
Am faddeuant o bob bai:
Pob daioni
Ddaeth i mi drwy waed y groes.

Gan i'r Iesu, drwy farwolaeth,
Ein heddychu ni â'r nef,
Mwy o lawer y'n hachubir
Bellach drwy ei fywyd ef:
Byth ni chollir
Neb a gredo ynddo ef.

Yfwn hwn er cof am dano,
Nes cael yn Mharadwys bell
Gwrdd yn nghyd ac yfed yno
Ffrwyth gwinwydden lawer gwell:
Gyda Iesu
Gwledda gawn yn nheyrnas nef.

765. Awelon Calfaria.—M. 7.

Gwaed y groes sy'n codi i fynu
Yr eiddil yn gonewerwr mawr,
Gwaed y groes sydd yn darostwng
Gawri cedyrn fyrdd i lawr;
Gâd im' deimlo, &c.
Awel o Galfaria fryn.

Dyma'r man dymunwn aros
Mewn tawelwch tra b'wyf byw,
Uwch terfysgoedd ysbryd euog,
A gofidiau o bob rhyw:
Tan awelon, &c.
Peraidd iachus tŷ fy Nhad.

766. Genedigaeth Crist.—M. 10.

Gwael ymgeledd, isel annedd
Ga'dd Etifedd mawr y nef;
Yn y preseb, pan yn faban
Llesg ac egwan, dodwyd ef:
Etto seren gain y Dwyrain
Wenai ar ei lety gwael;
Thus, a myrr, ac aur—anrhegion—
Wrth ei draed, roi'r doethion hael.

Dirif liaws ser y borau
Drwy'r wybrenau seinient gân;
Gan fwyn ateb cyngan nefol
Y waredol dyrfa lân:
Gras, Cyfiawnder, a Gwirionedd,
A Thrugaredd yn gytun,
Wrth yr orsedd wnaent gydwenu
Am gael modd i godi dyn.

767. Bywyd trwy Grist.—M. 51.

Gwael yw'r gwaith i enaid trist,
Geisio bywyd ond trwy Grist;
Mae yn gryno ynddo'i hun,
Oll sydd raid i gadw dyn.

Pan oddefodd farwol loes,
Am ein beiau ar y groes,
Rhoddi wnaeth ei werthfawr waed,
Drosom ni yn Iawn i'w Dad.

768. Dyrchafiad Crist.—M. 34.

Gwahoddwyd Iesu cu,
I'w fraint i eistedd fry,
Mewn nefol wlad;
Ar ddehau'r Tad o'n tu:
Cyd-ganed etifeddion nef,—
O holltau'r Graig dragwyddol gref
Daeth afon fawr lifeiriol,
O'i rinwedd dwyfol ef.

Fe yfai'r felldith fawr,
Yn llwyr cyn gado'r llawr,
Dyrchafodd ef,
I nef y nef yn awr;
Mae'r clychau aur wrth odreu'i wisg,
A sain efengyl sy'n ein mysg,
Yn galw annuwiolion,
I dirion dderbyn dysg.

769. Dedwyddwch y nef.—M. 5.

Gwaith hyfryd iawn i'r enaid trist
Yw meddwl cael cyd-fyw â Christ;
Cael etifeddu teyrnas nef,
A bod yn debyg iddo ef.

Fry mae y cwmwl tystion mad,
Ac enwog lu'r merthyrol had;
Y pur gyfiawnion yno sydd
Yn canu'n ber am gario'r dydd.

Mor hyfryd yn y gwynfyd maith,
Fydd syllu'n ol ar droiau'r daith;
A byw mewn nefol hedd dilyth,
I felus foli'r Duwdod byth.

770. Gwasgaru'r cymylau.—M. 9.

GWASGARA'r tew gymylau
Oddiyma i dŷ fy Nhad,
Dadguddia i mi beunydd,
Yr iechydwriaeth rad;
Llefara air dy hunan,
Wrth f'enaid egwan trist,
Dy fod yn maddau 'meiau,
Drwy haeddiant Iesu Grist.

Mae hiraeth yn fy nghalon
Am wel'd y saint sy' fry,
Ond llawer mwy yw'm hiraeth
Am wel'd fy Mhrynwr cu;
Rho im' o wedd dy wyneb,
A phrawf o'th dawel hedd,
Cyn i mi fyn'd i orwedd
I ddystaw byrth y bedd.

771. Ymofyniad am y gwir.—M. 5.

GWEDDIAF arnat, Arglwydd nef,
O gwrando'm llais, a chlyw fy llef;
Fy ngweddi f'o yn llwyddo'n llon,
Trwy'r pridwerth drud sy ger dy fron.

O chwilia di fy enaid oll,
Os wyf yn gwyro dim ar goll;
A dwg fi'n ol trwy dduwiol ddawn,
I lwybrau'r nef i rodio'n iawn.

Ti yw fy nerth a'm cymhorth gwiw,
Tra tariwyf byth ar dir y byw;
Ni ro'f mo'm bryd ar uchder bri,
Uwchlaw y ser mae f'achles i.

772. Gweddi.—M. 3.

GWEDDI yw llais yr enaid trist
Pan dan orthrymder cas,
Yn esgyn drwy eiriolaeth Crist
I glustiau Duw pob gras.

Er grym gofidiau fwy na mwy
A hon i'r nefoedd wen;
A sylla'n llon, ar Grist a'i glwy',
Nes rhwygo'r wahan len.

Ac yna gwel mewn goleu clir
Drugaredd fwyn ei gwedd,
Yn gwenu arno gyda gwir
Arwyddion cyflawn hedd.

773. Beth yw gweddi?—M. 4.

GWEDDI yw pur ochenaid gla',
A'r deigryn dreigla'i wared;
Edrychiad fry i'r llygad yw,
Heb neb ond Duw yn gweled.

Gweddi yw llef pechadur gwan
Yn uniawn pan ddychwelo;
A chân yn llon angylion ne',
Gan ddweyd, "Mae e'n gweddio."

Mae gweddi'r Cristion fel ei ffûn
Pob duwiol sy'n ei meddu;
Hyd byrth y nef ei hanfon wna,
Ac yno'r â mewn gweddi.

774. Preswylwyr y Graig.—M. 7.

GWELAF Graig a'm deil mewn stormydd
O gawodydd dŵr a thân;
Yn wyneb uffern a'i rhuthriadau,
Holl breswylwyr hon a gân:
Cadarn sylfaen, &c.,
A osodwyd gan y Tad.

Beth sydd i mi mwy a wnelwyf
Ag eilunod gwael y llawr?
Tystio 'rwyf nad yw eu cwm'ni,
I'w cymharu â'm Iesu mawr;
O am aros, &c.,
Yn ei gariad ddyddiau f'oes.

775. Gwagder y byd.—M. 10.

GWEL'D yr wyf y byd yn wagder
O am brofi mwynder gwell;
Tremiaf dros derfynau amser,
Ar yr hyfryd diroedd pell,
Lle mae heddwch yn teyrnasu,
Lle na theimlir poen na gwae,
Lle mae pawb yn caru Iesu,
Gan ei weled fel y mae.

776. Ail ddyfodiad Crist.—M. 8.

GWELIR myrdd o ryfeddodau
Ar ddyfodiad Iesu Grist,
Ni bydd un o'r gwaredigion,
Ar y bore hwnw'n drist,
Galar mwy, poen na chlwy',
Byth ni ddaw i gwrdd â hwy.

777. Ty yn y nefoedd.—M. 38.

GWEL yr adeilad hòno,
Nid llaw fu yn ei llunio,
Tŷ yn y nefoedd;
Lle mae cyfeillion hawddgar,
Heb neb fel ar y ddaear,
Mewn galar wisgoedd:
Fe drodd pob blinfyd wrth eu bodd,
Fe ddarfu wylo;
Ni chlywir cyffro
'R annuwiol yno
Yn blino neb â'u bloedd;—
Eu tristwch a'u trallodau,
A'u holl gystuddiau ffodd;
Mor llon, O Dduw, byth ger dy fron
Mae'r rhai lluddedig,
Fu mor flinedig,
Ar fôr chwyddedig,
Yn tynu'n erbyn tòn;—
Ar ben eu taith drallodus
Drwy'r ddaear ddyrus hon.

778. Olew yn y briw.—M. 48.

GWEL y truan, gwel y tlawd
Yn gorwedd wrth dy draed;
O fy Iesu, bydd yn frawd,
Adfera im' iachâd;
Dyro olew yn fy mriw,
A rho ymgeledd im' yn awr,

Byth ni ddof i'r llety llawn
Heb rym dy gariad mawr.

779. Da dwyn yr iau.—M. 5.

GWELL dilyn llwybrau'r nefoedd wen
A charu'r Crist sydd yno'n ben,
A phwyso ar ei farwol loes,
Na holl ddifyrwch pena'r oes.

Da iawn i wr y'more'i oes
Yw dwyn yr iau, a chodi'r groes;
Mewn henaint gwell-well â y gwaith
Gan wella i dragwyddoldeb maith.

780. Gwerth duwioldeb.—M. 10.

GWELL i mi na pherlau daear
Gael duwioldeb yn ei grym,
Hon a'm cynnal yn yr anial
Dan bob croes yr ochr hyn,
Hon a'm deil yn afon angeu,
Hon a'm hachub rhag y tân,
Hon a'm dysg ar feusydd gwynfyd
Byth i seinio'r beraidd gân.

781. Crist yn well nâ phawb.—M. 7.

GWELL nâ dengmil o angylion,
Gwell nâ holl dywysogion byd,
Yw y Gwr fu ar Galfaria,
Nerth a geir o'i angeu drud:
Hwnw'n unig
Rydd im' fuddugoliaeth lawn.

Mae'n rhoi bywyd ac ymgeledd
I rai'n gorwedd yn eu gwaed,
Gwisga'r noeth, a golcha'r aflan,
Cwyd y truan ar ei draed:
Teilwng ydyw
O'r gogoniant oll am hyn.

782. Tangnefedd Duw.—M. 17.

GWELL yw
Nâ holl fwngloddiau aur Peryw,
Yn angeu ceidw hwn fi'n fyw—
Tangnefedd Duw! O faint a dâl
Yn nghanol gorthrymderau byd?
Yn awr mae'r golud hwn i'w gael.

Y gwaed
Gynt ar Galfaria fryn a gaed,
Pan hoeliwyd Iesu ddwylo a thraed,
A rydd i'm henaid euog hedd;
A mâg orfoledd dan fy mron
Fel gallwy'n llon wynebu'r bedd.

783. Mil-flwyddau.—M. 40.

GWENODD arnom hyfryd ddyddiau,
Clod, clod i Dduw;
Bron a gwawrio mae'r mil-flwyddau,
Clod, clod i Dduw:
Ffyrdd yr Arglwydd a uniawnir,
Trwy'r anialwch gwyllt a'r crasdir,
A'r diffeithwch wneir yn ddoldir,
Clod, clod i Dduw.

784. Proffwyd mawr.—M. 6.

GWIR Broffwyd mawr, fy Naf,
Ar dân y'th folaf di,
Am y newyddion da
O'n hiechydwriaeth ni;
Newyddion gwiw am bardwn rhad
Oddiwrth y Tad i ddynol-ryw.

Cynghorwr i mi bydd,
A gwiw arweinydd mwyn,
Er bod yn llesg a phrudd,
Drwy'r anial dir gwna'm dwyn;
Na âd i mi oddiwrthyt ffoi,
Neu i draws ffyrdd o'th lwybrau droi.

'Rwy'n caru 'Mugail da,
Fy ngwylio mae o'r nef,
Fy nghadw'n ddiogel wna
Yn mysg ei ddefaid ef;
Fe bortha'i braidd, a dwg ei ŵyn
Er gwaetha'r blaidd, i'w fynwes fwyn.

785. Gobaith gwynfydedig.—M. 9.

GWIR grefydd ddeil i fynu
Ein hysbryd, tra bo'm ni
Yn dysgwyl am y gobaith
Tra gwynfydedig fry;—
Sef dysglaer ymddangosiad
Ein Harglwydd hael o'r nef;
A'n ffydd yn tawel bwyso
Ar ei addewid ef.

786. Esgyn i Sion.—M. 2.

GWIR lawenychu wnawn
Pan dd'wedent—Awn i fynu
I dŷ yr Arglwydd, mawr ei ras,
I'w addas ogoneddu.

Caersalem, dinas hedd,
Mewn sylwedd ga'dd ei seilio;
O fewn dy byrth, yn mysg dy blant,
Ein traed a safant yno.

Dymunwn heddwch hon,
Boed Sion yn ben moliant;
Cydseinied yr eglwysi glân
I'w Brenin gân gogoniant.

787. Noddfa gref.—M. 3.

GWIR noddfa gref, a nerth i ni,
Yw Duw o'i gariad hael;
Yn mhob cyfyngder clyw ein cri,
Mae'n gymhorth hawdd ei gael.

Pe siglai seiliau'r ddaear fawr,
A'i holl fynyddoedd hi,
I ganol môr pe treiglent lawr,
Er hyn nid ofnwn ni.

Mae Ior y lluoedd gyda ni
Yn amddiffynfa gref;
Duw Iago yw, pob mawl a bri
Fo byth i'w enw ef.

788. Cleddyf y Cadarn.—M. 21.

Gwisg dy gleddyf, gadarn Iesu,
A dos allan i orchfygu:
Myn bob cwr o'r byd i'th feddiant,
Er mwyn d'enw a'th ogoniant.

Cyn bo hir gwnaed pur wybodaeth
O Dduw lenwi'r ddaear helaeth;
Megys ag y töa'r dyfroedd
Eang gylch y dyfnion foroedd.

789. Gwlad dda heb wae.—M. 19.

Gwlad dda heb wae,
Gwlad wedi ei rhoi dan sêl,
Llifeirio mae
Ei ffrwyth o laeth a mêl;
Grawnsypiau gwiw
I'r anial dir sy'n d'od;
Gwlad nefol yw
Uwchlaw mynegu ei chlod.

Pa'm 'r ofnwn mwy
Rhag colyn angeu du,
Can's ef yw'r porth
I'r ddinas freiniol fry;
Gorchfygu hwn,
Fy Iesu gwn a wnaeth,
Yn llaw fy Naf
Nid ofnaf rym ei saeth.

790. Heb ffarwel.—M. 36.

Gwlad well wyf yn ymofyn,
Heb ffarwel, heb ffarwel,
Gwlad llawnder llon diderfyn,—Heb, &c.
Yr ochr draw i'r afon,
O gyrhaedd pob trallodion,
Gwlad saint ar fynydd Sion,—Heb, &c.
Gwlad myrdd o hen gyfeillion,—Heb, &c.

Cawn yno gwrdd a'n gilydd,—Heb, &c.
A bod yn berffaith ddedwydd,—Heb, &c.
Mae'r amser yn prysuro.
Na raid i ni byth ymado,
Cawn garu'n gilydd yno,—Heb, &c.
A gwledda yn ddiflino,—Heb, &c.

791. Gwlad y nefoedd.—M. 10.

Gwlad yw'r nefoedd heb gymmysgedd,
Gwlad lle na ddaw llygredd byth,
Gwlad yn llawn o wir ddyddanwch
A hyfrydwch pur dilyth;
Gwlad wyf finnau am fyn'd iddi,
Gwlad â'r teulu yn gytun,
Gwlad â phawb yn chwarae tànau
'R aur delynau i Fab y dyn.

Gwlad o gyrhaedd pob gofidiau,
Gwlad yr holl delynau aur,
Gwlad a'r teulu'n gorfoleddu,
A swn gwaredu yn mhob gair;
Gwlad a'i phalmant—aur heolydd,
Yn gyfarwydd i'r holl saint,
Gwlad seraphiaid ac angylion,
Telynorion uchel fraint.

792. Gwlad y nefoedd.—M. 10.

Gwlad yw'r nef o swn gofidiau,
Gwlad o ryfeddodau'n llawn;
Gwlad lle mae fy hen gyfeillion
Heddyw'n gwledda'n hyfryd iawn;
Gwlad o gyrhaedd llid gelynion,
Gwlad a chaiff pawb mewn hwyl;
Gwlad mae f'enaid am fod ynddi
Gyda Iesu'n cadw gwyl.

Ffown i'r wlad odidog odiaeth,
Mawl am obaith myn'd i hon;
Ffarwel bellach bob eilunod,
Pleser pechod oll o'r bron;
Oll diangwn tua'r noddfa
Gafwyd trwy'r Messia mâd;
O am gyrhaedd yn ddihangol
Hardd drigfanau'r nefol wlad.

793. Trugaredd Duw.—M. 11.

Gwnaeth Duw fwy trugaredd nâ gwared
Fy nghorff rhag ei fyned i fedd,
Gallasai fy ngadael i g'ledu,
Nid oeddwn yn haeddu ei hedd;
Mi glywaf ei fwyn-lais yn galw
Hyd heddyw—"Bechadur, tyr'd di;"
Atebaf i alwad fel hwnw,
Pechadur wrth f'enw wyf fi.

O Iesu cei feddiant o'm calon,
Dysg i mi yn foddlon i fyw,
Y gofid a'r gofal yn gryno
A roddaf i ddwylo fy Nuw:
Gwnaed ef a fo da yn ei olwg,
O'i flaen yr wy'n amlwg a noeth,
Da gŵyr beth i wneyd i blant dynion,
Mae'n gyfion, a thirion, a doeth.

794. Dymuno llwydd Sion.—M. 5.

Gwna fi'n fy myw o ddefnydd mawr,
O fewn dy eglwys ar y llawr;
Mawr iawn o hyd fo muriau hon;
Aed delwau'r byd i lawr o'r bron.

Gwna fawr ddaioni, O fy Nuw!
I'th eglwys gu, o'th gariad gwiw;
Gan roi dy wedd lle mae dy waith,
Trwy'r byd i gyd—pob gwlad ac iaith.

Aed gair yr iechydwriaeth wiw,
A'i sain yn dân, o Sion Duw;
I deulu hon gael llawenhau
Wrth dòri grym y duwiau gau.

795. Perffaith Iawn.—M. 1.

Gwnaeth Iesu berffaith iawn
Brydnawn ar Galfari;
Yn ei gyfiawnder pur dilyth,
Mae noddfa byth i ni.

Anfeidrol ydyw gwerth
A rhin ei aberth mawr,
I achub rhyw aneirif lu
O deulu gwael y llawr.

Y rhai yn berffaith lân,
A beraidd gân i gyd,
I'r bendigedig addfwyn Oen,
Yn iach o boen y byd.

796. Gwledd trugaredd.—M. 6.

GWNAETH mwyn Dywysog hedd
A llaw anfeidrol hael,
Do, lawn freninol wledd
I dlodion gweinion gwael;
Nid oedd fath wledd yn Eden ardd,
Na ffrwyth mor hyfryd ac mor hardd.

Er bod rhyw dyrfa fawr
Yn gwledda'n Salem fry,
Wrth fwrdd y neithior fawr,
Ni lanwyd etto'r tŷ;
Awn oll yn mlaen, gyfeillion cu,
Mae yno le i ddirfawr lu.

797. Concwest Calfaria.—M. 15.

GWNAWD concwest ar Galfaria fryn,
Am dano canodd myrdd cyn hyn,
Fe faeddwyd uffern faith i gyd:
Achubwyd gwael golledig ddyn,
A gwnawd y ddwyblaid ddig yn un,
A gwaed Iachawdwr mawr y byd.

Na thawed tafod o un rhyw,
Na dim o dan y nef sy'n byw,
Heb son am goncwest gwaed yr Oen;
Bydd oesoedd meithion fwy nâ mwy,
Heb rif, heb ddarfod arnynt hwy,
I ganu am ei ddirfawr boen.

798. Lles cystuddiau.—M. 5.

GWN mai fy meiau duon iawn
Wnaeth gwpan cystudd im' mor llawn;
Ond gado'r bai, fe gwymp y ffon
O'th santaidd law y fynud hon.

'Does yn dy galon ond llesâd,
Maddeuant, hedd, a gwir iachad;
Cymmer dy ffordd, can's credu 'rwyf
Mai dyna'r modd iacheir fy nghlwyf.

Ni ddaw im' ofid byth na phoen,
Na wasgodd ar yr addfwyn Oen;
Ac yn ei ofid ef a'i gri,
Mae holl esmwythder f'enaid i.

799. Udgorn efengyl.—M. 4.

GWRANDAWED clustiau pob dyn byw,
Llawened pob rhyw galon;
Mae udgorn yr efengyl fwyn
Yn galw'n addfwyn arnom.

Chwychwi sy'n dlawd a noethion iawn,
Yn poeni'n llawn gofidiau
I wneuthur gwisg o'ch eiddo'ch hun
Na chuddia 'run o'ch beiau.

De'wch, gwisgwch eich eneidiau byw
A'r wisg gan Dduw ddarparwyd;
Trwy ing a llafur Crist fe'i gwnaed,
Ac yn ei waed fe'i lliwiwyd.

800. Cwyn Duw i'n herbyn.—M. 5.

GWRANDAWED lluoedd nef a llawr,
Amddiffyn mae'r Jehofa mawr;
Ei achos a'i gyfreithiau glân
Gostega'r byd a chryn o'i flaen.

Israel, ymddangos, dwg dy ble
A'th gŵyn yn deg i'w wyneb E;
D'wed, os ei ddeddfau'n galed sy,
Neu'i ras yn brin,—cyhoedda'n hy'.

Duw mawr! fe ddarfu'n cŵyn yn lân,
Gan g'wilydd tewi 'ry'm o'th flaen;
Rhaid i ni adde'n brudd ein bai,
I ti ein barnu neu'n rhyddhau.

Deng mil o dystion ynt o'th du,
Dy roddion hael, a'n beiau sy
Fel ser y nef, aneirif swm,
Yn traethu ein heuogrwydd trwm.

O'th ras tosturia wrth ein bro,
A'th farnau, Arglwydd, ymaith tro;
Gwel Brydain heddyw'n brudd ei gwedd,
Yn plygu o'th flaen i geisio'th hedd.

801. Addysgu plant.—M. 4.

GWRANDAWED, plant, y gwyrthiau gwiw,
A wnaeth ein Duw'n y cynfyd;
Rhai welsom ni'n ein hie'nctyd brau,
A rhai fu'n tadau'n dd'wedyd.

Gorch'mynodd i ni draethu'i glod,
A'i hynod ras a'i allu;
A'i wyrthiau ddygwn ninnau i lawr
I'r oes sy'n awr yn codi.

Ein tafod a'u mhynega i'n plant,
A'n plant a'u traethant eilwaith;
Y tad i'r mab, a'r mab i'r ŵyr,
Olynol drwy'r genedlaeth.

Fel hyn y dysgir hwy bob rhyw
I garu Duw yn union;
Fel nac anghofiont byth mo'i waith,
Ond gwneyd ei berffaith eirchion.

802. Clod am y Gair.—M. 2.

GWRANDAWN ar air ein Duw,
Mor hyfryd yw y newydd—
Fod bywyd i bechadur dwys
Tan ddirfawr bwys euogrwydd.

Datguddiad dwyfol Ion,
A'i addewidion grasol,
Sy'n lloni'r seintiau ar y llawr,
Nes codo'u gwawr dragwyddol.

803. Dianc am yr einioes.—M. 13.

GWRANDAWN yn awr, mae llef
Yn gwaeddu o'r nef o hyd,
I fynu yma dring i'r lan
Heb loetran yn y byd;

Mae storom fawr gerllaw,
  Mae Soar draw o'n blaen,
O brysiwn, brysiwn, ffown i hon,
  Mae Sodom bron ar dân.

Ar ol diweddu'n taith
  Drwy'r anial maith ei hŷd,
O fewn i gaerau Salem bell,
  Bydd llawer gwell ein byd;
Lle na bydd achos ffoi,
  Nac ofni troi yn ol,
Ond gorphwys byth mewn hedd o hyd,
  Yn hyfryd yn ei gôl.

804. Llais ochenaid ffydd.—M. 3.

Gwrandewir llais ochenaid ffydd
  Dan gystudd o bob rhyw;
Gall gau neu agor y nef fry,
  Mae'n medru'r ffordd at Dduw.

Ehed, â'i golwg ar y gwaed,
  Drwy dew gymylau'r nen;
A dwg i'r euog lawn ryddhad,
  A modd i godi'i ben.

805. Gwrando, ferch.—M. 10.

Gwrando, ferch, ar dy Anwylyd
  Yn dy alw o dy wlad,
Tyr'd, anghofia'th hen gariadau,
  A phleserau tŷ dy dad;
Ffarwel rho i bob creadur
  Welir yma dan y nef,
Dos ar ol dy Briod Iesu,
  Cei bob gwynfyd gydag ef.

Ffarwel, bellach, hen gyfeillion,
  Af yn awr, na rwystrwch fi,
Mae fy nghyfoeth a'm llawenydd,
  A'm pleserau goreu fry;
Nid oes i mi fan yn gartre',
  Ond y fan mae'm Prynwr mawr;
Lle mae ef mae'm calon innau
  Am gartrefu uwch y llawr.

806. Amser cyfyngder.—M. 5.

Gwrando, O Dduw, ein llef yn awr
Dros Brydain, er ein beiau mawr;
Yn wyneb pob cyfyngder llym
Ni bwyswn ar dy ras a'th rym.

O, cwyd d'achubol fraich o'n plaid,
A dwg ymwared in' wrth raid;
A gad i'n gweddi droi i fod
Yn beraidd gerdd o wresog glod.

807. Llywodraeth Crist.—M. 4.

Gwregysa'th gledd, Dywysog glew,
  A marchog mewn awdurdod;
Trwy'th holl elynion tery'th fraw,
  A'r byd ddaw i ufydd-dod.

Tywalltwyd gras i'th enau gwiw,
  A melus yw d'ymadrodd;
Dy Dduw, â doniau mawr dros ben
  Dy santaidd ben goronodd.

Dy orsedd-fainc byth erys hon,
  A'th air i'th ddwylo'n wastad,
Fydd hedd-deyrnwialen fawr ei braint,
  I lywio'th saint drwy gariad.

808. Cristion yn marw.—M. 52.

Gwreichionen dân, anadliad Duw,
Ymâd o'r babell 'rwyt yn byw;
Er rhoddi'r corff drwy loes i lawr,
Marwolaeth sydd yn fendith fawr;
Na rwgnach, gnawd, drwy lewyg gad
I minnau 'hedeg i'r mwynhad.

Mae sain llawenydd uwch y llawr,
Trigolion nef yn galw'n awr;
I boen a gofid cân yn iach,
Cei newid byd, cu enaid bach:
Ni ddaw na phechod, cur, na phoen,
I fewn i lys y nefol Oen.

809. YR AIL RAN.

'Rwy'n d'od ar frys o'r babell frau,
'Rwy'n teimlo'r anadl yn byrhau,
Pa beth yw hwn sy'n dylu'r wawr?
Mae'n gwasgu f'ysbryd llesg i lawr;
Mae'n boddi'r synwyr, dwyn y clyw,
O enaid mau, ai angeu yw?

Yn iach i'r byd,—mi glywa'ch llef,
Seraphiaid heirdd, anwyliaid nef;
Wrth nerth eich eurwych edyn chwi,
I fyd anfarwol hedaf fi:
Nid ofnaf loesau angeu llym,
Mewn gafael llaw, mae'n gyfaill im'.

810. Concwest angeu Crist.—M. 17.

Gwych sain
Fydd etto am y goron ddrain,
Yr hoelion dur, a'r bicell fain,
Wrth gofio rhai'n, caiff uffern glwy';
  Carcharau tynion ant yn rhydd,
Fe gaed y dydd, Hosana mwy.

Af trwy
Fy nhemtasiynau mawrion mwy,
Tan aden cariad dwyfol glwy';
Mi a'u concraf hwy'n ei goncwest ef,
  A'i allu yw fy noddfa glyd,
A'm nerth o hyd nes myn'd i'r nef.

811. Anwylyd yr eglwys.—M. 25.

Gwyn a gwridog, hawddgar iawn
    Yw f'anwylyd;
Doniau'r nef sydd ynddo'n llawn,
    Peraidd hyfryd;
Daear faith ac uchder nef
    Byth ni wela'
Arall—tebyg iddo ef:
    Halaluia.

Denodd f'enaid ar ei ol,
Yn dra rhyfedd,
A gorphwysaf yn ei gôl,
Hyd y diwedd;
Ffowch eilunod o bob rhyw,
Mwy ni charaf
Wrthddrych arall ond fy Nuw;
Halaluia.

812. Trugarogion.—M. 5.

Gwyn fyd calonau drylliog sydd
Am bechod yn galaru'n brudd;
Gwaed Crist ddylifa iddynt hwy,
Fel balm i wella'u dyfnaf glwy'.

Gwyn fyd y trugarogion mwyn
Sydd yn tosturio a chyd-ddwyn,
Cânt hwythau mewn cyfyngder trist
Brawf melys o drugaredd Crist.

813. Ffordd Sion.—M. 5.

Gwyn fyd eneidiau sy'n cael lle
Yn nhemlau'th ras 'nawr îs y ne';
Cânt yno wel'd dy siriol wedd
A dysgu'th fawl, a cheisio'th hedd.

Gwyn fyd y rhai o'u calon sy
Yn ceisio'r ffordd tua Sion fry;
Duw yw eu nerth, trwy'r daith yn ddwys
Ar Grist eu priod rho'nt eu pwys.

O nerth i nerth yr ânt o hyd,
Nes cwrddont yn y nef i gyd;
Yn llon o'th flaen, er bod yn mhell,
I uno mewn addoliad gwell.

814. Ieuenctyd duwiol.—M. 10.

Gwyn eu byd yr ie'nctyd hawddgar
Na ddilynant wagedd ffol;
Ond mewn pryd yn ceisio Iesu,
Ac yn myned ar ei ol:
Hwy gânt nodded dan ei aden,
Lloches yn ei aberth drud,
A chânt wledda ar ei haeddiant
Yn lle cibau gwael y byd.

Hwy gânt ganddo wir anrhydedd
Yn y byd sy'n awr yn bod,
A chânt hefyd bur lawenydd
Gwell na dim geir îs y rhôd;
Profant Grist yn gyfaill ffyddlon
Yn y ddu Iorddonen gref,
A chânt orphwys yn ei fynwes
Yn dragywydd yn y nef.

815. Cariad teuluaidd.—M. 4.

Gwyn fyd y duwiol dŷ lle b'o
Sel ynddo a chytundeb:
Eu mhawl a'u haddunedau 'nghyd,
Wnant felus gyd-gymundeb.

Ar fryniau'r nefoedd, hon yw'r fraint
A fydd i'r saint yn wastad;
Lle mae llawenydd hoff dilyth,
A'u hawyr byth yw cariad.

816. Diogelwch y duwiol.—M. 4.

Gwyn fyd y dyn a gred yn Nuw
Efe gaiff fyw'n dragwyddol;
Ei hyder santaidd cadarn sydd
Fel mynydd Sion siriol.

Tragwyddol fraich trugaredd gu
Sy'n amgylchynu'i enaid;
A'r mwyn Iachawdwr mawr ni choll
Fyth un o'r holl ffyddloniaid.

Pe syrthiai braisg golofnau'r byd
A'r bryniau i gyd i'r eigion,
Saif eglwys Dduw, ni sigla darn
O gadarn sylfaen Sion.

817. Ffordd y cyfiawn.—M. 4.

Gwyn fyd y dyn ochelo'r fan
Lle'r ymgyrch annuwiolion;
Ni châr mo ffyrdd y rhai diras,
Na gwawdiaith gas ynfydion.

Ond yn nghyfreithiau'r Arglwydd nef,
Ei hoffder ef fydd bena';
Derllyn neu wrendy'r gair y dydd,
A'r nos yn brudd myfyria.

Fel pren rhywiogaidd peraidd plan
A dyf ar lan yr afon;
Rhag nerth y poethwynt, pan y dêl,
Bydd hwn yn ddiogel ddigon.

Fel dalen werdd, ei broffes wiw,
Fydd deg ei lliw a'i llewyrch;
A ffrwythau gras, unwedd â grawn,
Fydd arno'n llawn o gynnyrch.

818. Dedwyddwch teuluaidd.—M. 4.

Gwyn fyd y dyn sy'n ofni Duw
Tra dedwydd yw yn ddiau,
Rhagluniaeth ddyfal Duw o'r nen
A geidw'i ben rhag drygau.

Ei wraig fydd fel gwinwydden lon
A'i blant, planhigion hylwydd,
O gylch ei fwrdd yn fawr eu bri,
Yn dysgu ofni'r Arglwydd.

Duw a gyflawna'i obaith da,
Hyd eithaf ei flynyddau;
Ac iddo oddiar Sion fryn
Ei fendith enfyn adre'.

Hwn ydyw'r dyn, ïe'r dedwydd ddyn
A wel ei dŷ'n cynnyddu;
Ac eglwys Dduw'n adfywio'n iawn,
Ac mewn hedd llawn ymedy.

819. Tanau telyn cariad.—M. 4.

Gwyn fyd y galon bur lle mae
Grasusau yn teyrnasu;
Cariad yw'r penaf o'r rhai hyn,
A chariad sy'n ei nherthu.

Gwybodaeth faith, ni thâl hi ddim,
Nac ofn llym, na doniau;

Er ymladd, pechod garia'r dydd,
Os cariad fydd yn eisiau.

Hwn ydyw'r gras yn fyw a fydd
Pan dderfydd ffydd a gobaith;
A hwn a dery'r peraidd dant,
Yn ngwlad gogoniant eilwaith.

Cyn i ni ado'r priddlyd dŷ,—
Y babell sy' ar ogwydd;—
Adenydd cariad sy'n ein dwyn
I wel'd gwen fwyn ein Harglwydd.

820. Llais efengyl.—M. 4.

Gwyn fyd y rhai adwaenant lais
Efengyl fwyngais dirion,
Yn heddwch a goleuni Duw
Y rhodia'r cyfryw ddynion.

Llawenydd gwyd eu hysbryd trist
Trwy enw Crist eu Nhoddfa;
Yn ei gyfiawnder credant hwy,
Nid satan mwy a'u damnia.

821. Blas maddeuant.—M. 4.

Gwyn fyd y rhai dile'st eu bai,
Eu pechod a'u hanwiredd;
Gan roi iddynt nerth er cnawd a byd,
I bara hyd y diwedd.

Hir ddysgwyl 'rwyf, a hyn bob cam.
Fel gwyliwr am y borau,
Gael profi grym dy nefol ras,
Yn difa'm hatgas feiau.

Nid all un gelyn nac un bai
Byth ddamnio'r rhai crediniol;
Mae gwaed yr Oen, ag uchel lef,
O fewn y nef yn eiriol.

822. Gwynfyd y nef.—M. 34.

Gwyn fyd y rhai heb fraw
Sydd yn y Ganaan draw,
Yn iach heb glwy',
A gelyn mwy ni ddaw;—
Ond yn eu llaw bydd palmwydd hardd,
Pob cysur pur drwy'r fro a dardd,
O ras y tirion Iesu,
Fu'n chwysu yn yr ardd.

823. Diogelwch y duwiol.—M. 5.

Gwyn fyd y rhai sy'n byw drwy ffydd,
Cânt nerth o'r nef yn ol y dydd;
Mae Crist o'u plaid bob dydd a nos,
Fe'u deil i'r lan er dan y groes.

Er bod yn wan, ânt fawr a mân
I wlad yr hedd trwy ddw'r a thân;
Cânt fod dros byth heb boen na chur
O fewn y nef oll cyn bo hir.

824. Caru deddfau Duw.—M. 4.

Gwyn fyd y rhai sy'n hoffi'th air,
Dy ddeddfau dysglaer gadwant;
A'u holl galonau ceisiant di,
A'u dwylaw y'th was'naethant.

Mawr heddwch a chadernid sy
I'r rhai sy'n caru'th ddeddfau;
Nid profedigaeth gref all droi
Eu traed i 'sgoi o'th lwybrau.

825. Pren ffrwythlawn.—M. 5.

Gwyn fyd yr hwn nid â ar hyd
Ffordd lydan annuwiolion byd;
Ni châr gyfeillach gwŷr diras,
Ni sieryd fel gwatwarwyr cas.

Ond ei ddifyrwch penaf fydd
Yn nghyfraith Duw ar hyd y dydd;
A'r nos mewn oriau effro cair
E'n hoff fyfyrio yn y gair.

Bydd hwn fel pren wrth ddyfroedd byw,
Yn lâs ei ddail yn eglwys Dduw;
A bendith hylwydd fry o'r nef
Fydd ar holl waith ei ddwylaw ef.

826. Tangnefeddwyr.—M. 5.

Gwyn fyd y tangnefeddwyr glân,
Sy'n diffodd cynnydd cynnen dân;
Yn blant i Dduw y gelwir hwy,
A hedd a etifeddant mwy.

Gwyn fyd y rhai sy'n goddef poen,
A gw'radwydd er mwyn Crist yr Oen;
Cânt orfoleddu'n Nuw drwy ffydd.
Gogoniant nef eu gwobrwy fydd.

827. Ardal ddedwydd.—M. 4.

Gwyn fyd y wlad lle yr amlha
Eu praidd, a'u da, a'u llafur;
A'u gwyr yn fywiog yma a thraw
Heb ing, na braw anrheithwyr,

A'i merched hawddgar o bob gradd
Fel ceryg nadd o gwmpas;
A'u gwedd,a'u serch, a'u pwyll, a'u dawn
Yn harddwch llawn i'r deyrnas.

Dedwydd yw'r genedl felly sydd
A dyblyg ddedwydd ydynt;
Pan roddo Duw ei hedd ei hun
A'i ras diderfyn iddynt.

828. Hiraeth am adferiad.—M. 9.

Gynt gyda'r dyrfa cerddwn,
Esgynwn i dŷ Dduw,
Mewn melus adsain moliant,
I roi gogoniant gwiw:
Ond 'nawr rhyw chwyrn lifeiriaint,
Lifasant droswyf fi,
Nes wyf yn trist hiraethu
Am gwmni teulu'r tŷ.

O f'enaid na therfysga,
Ond ymddirieda'n iawn;
Ar frys o'r blin gaethiwed,
Daw it ymwared llawn;

Cei foli Brenin Sion,
  Yn dirion yn ei dŷ;
Ac etto mewn anwyldeb
  Wel'd gwedd ei wyneb cu.

829. Arweinydd nefol.—M. 5.

Hael Ysbryd yr Addewid wir
O tywys fi drwy'r anial dir,
A dysg im' gael dyddanwch mwy
O haeddiant Crist a'i farwol glwy'.

Pan f'wyf sychedig, llesg, a gwyw,
Diwalla fi â'r dyfroedd byw;
A thywys fi o ffydd i ffydd
A'm golwg ar y nôd bob dydd.

830. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 10.

Halaluia fo'n derchafu
  O bob genau yn ein gwlad,
Halaluia fyth heb dewi,
  Fo i ti ein nefol Dad;
O'th diriondeb hael eleni
  Cawsom helaeth gnwd y maes,
Porthiant iachus er ein maethu;
  Rhyfedd yw haelioni'th ras,

Am ein porthi a'n dilladu,
  Ti sy'n haeddu'r clod i gyd,
Diolch i ti Dad trugarog
  Am bob cysur yn y byd;
Ond yn benaf y'th fawrygwn
  Am yr iechydwriaeth rad,
A ennillodd Iesu i ni,
  Drwy ei werthfawrocaf waed.

831. Halaluia i Grist.—M. 10.

Halaluia yn dragwyddol,
  I Waredwr dynol-ryw;
Mae yn achub hyd yr eithaf,
  Ei hyfrydwch penaf yw:
Er ei fod mewn llys goruchel,
  Cofio mae yr isel rai;
Parod ydyw i dosturio,
  Ac i lwyr anghofio bai.

Am y gwaed bydd cânu cysson
  Gan y gwaredigion draw,
Gwedi gadael poen a blinder,
  Heb ddim prudd-der, na dim braw;
Ac yn lwysawl uchel leisiant
  Beraidd foliant iddo fe,
Yn y wlad na threiddia gofid,
  Byth na llid tufewn i'r lle.

832. Harddwch Iesu.—M. 5.

Hardd yw fy Arglwydd oll yn wir,
Ei garu raid a'i barchu'n bur;
Pe gwypai'r byd mor hawddgar yw,
Ei garu wnai holl ddynol-ryw.

Tosturi sy'n ei galon wiw
Gerllaw y fan lle ca'dd e'r briw;
Ei ystlys lân, ni oddef hon,
Mo'r fflangell mwy na'r waywffon.

Ei lygaid colomenaidd clir,
Llawn mawredd y'nt a chariad pur,
Ni red byth ddagrau tristwch trwy
Olygon mwyn fy Arglwydd mwy.

833. Buddioldeb gweddi.—M. 4.

Heb weddi, ofer tynu cledd,
  Mae llesgedd yn ein breichiau,
Ond cryna'r gelyn pan y'n gwel
  Yn isel ar ein gliniau.

Ai diffyg yn ein *geiriau* sydd,
  Nid felly bydd wrth rwgnach;
Ein geiriau *cwyno* sy'n ddiri';
  A pha'm mewn gweddi'n brinach?

Pe baem fwy rhwydd i godi'n llef
  At Dduw i'r nef yn ddibaid,
Caem fwy i'w ddweyd (ni byddem gaeth)
  O'r hyn a wnaeth i'n henaid.

834. Dydd yr Arglwydd.—M. 4.

Heddyw daeth Crist o'r bedd i'r lan,
  A theyrnas satan syrthiodd;
A heddyw gorfoledda'i saint,
  Ei wyrthiau maent yn adrodd.

Hosana 'nawr ag uchel lef,
  F'o iddo ef trwy'r ddae'ren;
Ac yn y nef, lle mae e'n bod,
  Rhoi'r iddo glod sydd amgen.

835. Noddwr tirion.—M. 42.

Heddyw rho'f fy mhwys ar ddwyfron
  Iesu gwiw, Noddwr yw,
Rhag pob rhyw elynion.

Uwch peryglon Iesu cadw
  F'enaid llon ger dy fron
Dirion nes fy marw.

Pan bwy'n sengu llwybrau angau,
  Rhag pob braw, rho dy law,
Yna ni ddaw ofnau.

836. Buddugoliaeth ffydd.—M. 10.

Heibio i deganau daear
  A'u hyfrydwch hudol brau,
Edrych ffydd draw i'r ardaloedd
  Lle mae trysor i barhau;
Ennyn yn yr ysbryd egwan,
  Pan yn griddfan dan y groes,
Ber ganiadau o orfoledd
  Am faith rinwedd marwol loes.

Ni chaiff clust gan ffydd ddim gwrando
  Unrhyw lais a'i hudo hi;
Gwell gan ffydd na dim caniadau
  Swn griddfanau Calfari:
Ni chaiff llygad ganddi edrych
  Ar un gwrthddrych yma sy',
Baro i'r serchiadau oeri
  At drysorau'r nefoedd fry.

837. Coroni Crist.—M. 5.

Henffych i enw Iesu gwiw!
Syrthied o'i flaen angylion Duw,
Rhowch iddo'r parch holl dyrfa'r nef,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

Chwychwi a brynwyd trwy ei waed,
Plygwch yn isel wrth ei draed,
Fe'ch tynodd â thrugaredd gref,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

Boed i bob llwyth a phob rhyw iaith,
Trwy holl derfynau'r ddaear faith,
Gyd-ganu'n llawen iawn eu llef,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

838. Mawl i'r Oen.—M. 5.

Henffych i'r Oen, i'r lladdfa'r aeth
A dyoddef yn ein lle a wnaeth;
Molianwn rinwedd ei waed gwiw
Sydd yn cymmodi dyn â Duw.

Teilwng yw'r Oen fu farw un waith
I godi a theyrnasu'n faith;
Ei fawl a red o oes i oes,
Am waith ei gariad ar y groes.

839. Abba Dad.—M. 14.

Hiraethu'r wyf bob dydd,
Am fod yn gwbl rydd,
O am gael ffydd yn nghlwyfau'r Oen,
I lefain Abba Dad,
A'm golwg ar y wlad,
Ac yna ymad fy nirfawr boen.

A chlywir finnau mwy,
Yn cânu am ei glwy',
'Nol myned drwy nghystuddiau' gyd;
Yn llaw fy Mugail rhad,
Fe'm dygir at fy Nhad,
I foli'r gwaed, mewn nefol fyd.

840. Addoliad y nefoedd.—M. 4.

Hiraethu'r wyf, O Dad o'r ne',
Am weled lle'th breswylfod;
Gadäwn dy ddaearol dŷ
I'th drigfan fry gael dyfod.

Gwel'd yma 'rwyf o bell dy bryd,
A hyfryd ydyw hyny;
Ond aros, Iesu, yn dy gol
Mil mwy dymunol ydy'.

A phob llawenydd cnawd 'madawn
Am olwg lawn o'th orsedd;
Pleserau byth oddiyno dardd,
Rai newydd, hardd, a rhyfedd.

Cawn yno wel'd nefolaidd lu,
Mewn dysglaer resi'n symud;
Rhyfeddu a charu byth yn siwr
Ac yfed dwr y bywyd.

841. Hiraeth am gynnydd.—M. 5.

Hir ddysgwyl, Arglwydd, y bûm i
Dan beraidd sain dy efengyl di;
Ond etto'm ffydd mor wan y cair,
A'm gwir wybodaeth yn dy Air!

I'th dŷ 'rwy'n tramwy er's llawer dydd
A gwrando'n fynych yn ddifudd;
Mor lleied rhan o'th Air bob tro
Wy'n allu gadw yn fy ngho'.

Duw mawr! cyfrana'th nerth a'th ddawn
I beri i'th air gael llwyddiant llawn:
Datguddia'th iechydwriaeth Ion,
I'm henaid i yn ngwaed yr Oen.

Cyf'rwydda'm traed i'r ffordd y sy'
Yn arwain i'r llawenydd fry;
Gwybodaeth yno o hyd amlha
A chariad oeri byth ni wna.

842. Buddugoliaeth Crist.—M. 10.

Hoeliodd ddeddf yr ordinhadau
Oedd i'n herbyn wrth ei groes;
Gan yspeilio'r awdurdodau
Pan yn goddef angeu loes;
Cododd faner wen trugaredd;
Drylliodd gedyrn byrth y bedd;
Seiniodd Jubil lawn i'r caethion;
Ac arlwyodd radlon wledd.

Agoriadau y llywodraeth
Wisgwyd ar ei ysgwydd ef;
Rhoddwyd iddo bob awdurdod,
Ar y ddae'r ac yn y nef;
Marchog mae yn ngherbyd cariad;
Troi o'i gylch mae engyl nef;
Sigla cedyrn byrth y fagddu,
Hyd eu sail, wrth rym ei lef.

843. Meichiau yn eiriol.—M. 22.

Hoeliwyd yr Aberth,
Iesu'r addfwynaf oedd fud;
'Rhwn sy'n taenu'r nef fel llen
Ar y groes ogwyddai' ben
I wneyd cymmod dros bechod y byd.

Dacw fy Meichiau!
Difai yw offrwm ein Pen;
Arno ef y rhoed fy nrwg,
Ac aeth dan y Dwyfol wg
Dug fy nghosp yn ei gorff ar y pren.

844. Yr Ail Ran.

Heddyw yn eiriol
Eiriol dros wael ddynolryw;
Gan ddywedyd, "O fy Nhad,
Gwel fy nwylaw a fy nhraed,
Mi a'u prynais, O gad iddynt fyw."

Cânt, os dychwelant,
Anwylaf Fab er dy fwyn,
Os wynebant ataf fi.
Ac os credant ynot ti,
I dragwyddol fwynhad cant eu dwyn.

845. Testament Crist.—M. 4.

Holl gymun-roddion Iesu cu,
Ond credu,—ni a'u piau;

Byth ynddo'r ymddiriedwn mwy,
  Caed digon drwy ei angau.

O cofiwn am ei enw cu,
  Fe'n cofiodd ni'n ei 'wyllys;
A Thestament ei gariad rhad
  Seliodd â'i waed uchel-bris.

846. Mawl y greadigaeth.—M. 6.

HOLL lwythau Adda dowch,
  Doed nef a daear faith,
Mawl i'ch Creawdwr rho'wch
  Yn eich priodol iaith:
Y dysglaer lu, angylaidd, glân,
Mewn bydoedd fry gwnewch ddechreu'r [gân.

Yr haul â'i lewyrch cry',
  Y lloer i'r nos sy'n llyw,
A'r ser gwreichionog fry,
  Yn unol molwch Dduw:
Eich defnydd wnaeth â'i air o'r nef,
O ddim y daeth i'w foli ef.

Holl lwythau tir a môr,
  Molienwch Ior y nef;
Gwynt, tarth, ac eira oer,
  Rho'wch barch i'w eirchion ef;
Daranau clau, pan ruoch draw,
A'r mellt wrth wau, rho'wch glod i'w law.

847. Mawl Prydain.—M. 5.

HOLL natur, caned, gweddus yw,
I'w Brenin a'u Creawdwr gwiw;
Doed pawb drwy'r byd ag unawl lef,
I ddatgan ei ogoniant ef,

Ein hynys gu, ddiogel yw
Dan nawdd yr hollalluog Dduw;
Gorseddfainc Prydain gadarnha,
A'i chadw fel ei eiddo wna.

Am hyn, drwy sel nefolaidd dân,
Dyrchafwn glod ag uchel gân;
Hosana seinied Prydain fawr,
O ddengmyrdd o galonau'n awr.

848. Tegwch Crist yn ymffrost.—M. 9.

HOLL sail fy ymffrost bellach
  Fydd haeddiant marwol loes,
A phur ufydd-dod hwnw
  Fu farw ar y groes;
Wrth edrych ar ei degwch,
  A'i ddigonolrwydd llawn,
Ei iau a'i groes fydd imi
  Yn esmwyth esmwyth iawn.

Wrth edrych ar ei degwch
  A'i ddyfnaf farwol glwyf,
Newidir fi i'w ddelw
  Er mor annhebyg wyf;
Wrth edrych ar ei degwch,
  Tyn holl rinweddau'r nef
Fy enaid gwan i farw
  A byw mwy gydag ef.

849. Genedigaeth Crist.—M. 34.

HOSANA, dyma'r dydd
Hoff iawn, coffawn mewn ffydd,
  Am un a ddaeth,
I roddi'r caeth yn rhydd;
Datguddiwyd cariad Tri yn Un,
Pan wisgodd Iesu natur dyn
  I'w achub o'i drueni,
A'i godi ato'i hun.

Rhyfeddwn oll yn awr
Ei ddarostyngiad mawr,
  Bu îs y ne',
Heb le i roi 'i ben i lawr;
Er hyny 'roedd ein grasol Ri,
Pan yn ein natur isel ni,
  Yn llenwi nef y nefoedd,
A'i holl amgylchoedd hi.

850. Brawd erbyn caledi.—M. 10.

HOSANA, Halaluia,
  Fy enaid, bellach cân,
Am frawd a ga'dd ei eni
  I'th achub rhag y tân:
Brawd yw a ddaeth o'i gariad
  O fynwes nef i lawr,
Agorodd ddrws y noddfa
  I eiddil lwch y llawr.

851. Pyrth agored.—M. 18.

HOSANA, Halaluia,
  I'r Oen fu ar Galfaria,
Gorphenodd iechydwriaeth dyn,
  Efe ei hun yw'r noddfa;
  Tragwyddol ddiolch iddo
  Am faddeu a thosturio,
Anfeidrol fraint i lwch y llawr,
  Fod croeso'n awr dd'od ato.

  Mae'n achub hyd yr eithaf
  Y pechaduriaid mwyaf,
Can's trefnwyd ffordd i gadw dyn
  Gan Dri yn un Jehofa:
  Mae'r pyrth yn llawn agored,
  Doed Israel o'u caethiwed;
Pob llesg a gwan, byth ger ei fron,
  Gânt wel'd yn llon ei wyneb.

852. Mawl i Grist.—M. 5.

HOSANA i Fab Dafydd, sy'n
Teyrnasu ar ei orsedd fry;
Bendithiwn Ef ar gân i gyd,
Dug iechydwriaeth lawn i'r byd.

Boed i bob gwlad, ac oes, ac iaith,
Ymuno'n hyn o hyfryd waith;
Yr hen a'r plant yn Sion sy,
Dyrchefwch glod eich Prynwr cu.

853. Mawl i Iesu.—M. 2.

HOSANA i Fab Duw,—
  Mab Dafydd yw a ddygodd

O'r nef i ni faddeuant rhad,
A hwn â'i waed a seliodd.

I Grist ein Brenin byth
Bendithion dilyth rhoddwch;
Seinier drwy'r byd ei foliant ef,
Fe wnaeth â'r nef ein heddwch.

854. Mawl i'r Gwaredwr.—M. 4.

HOSANA i Frenin gras heb gel,
O Sion, gwel dy Lywydd!
A dysg dy blant i'w foli'n ffraeth,
Daeth o hiliogaeth Dafydd.

Mawl fo i'r Gair yn gnawd a wnaed,
Oddiwrth y Tad daeth Iesu:
Cyduned lluoedd nef a llawr
O galon 'nawr i'w foli.

855. Concwest ar Satan.—M. 20.

HOSANA i'n Brenin,
Gorchfygodd yn lân,
Tywysog y fagddu
Ffodd ymaith o'i flaen;
I lawr, er ei ddichell,
Fe syrthiodd o'r nef;
Mae 'nawr yn ei garchar,
A'i lu gydag ef.

Hosana i'n Brenin,
Gorchfygodd ei hun,
Hosana am goncwest
Y Duw wnaed yn ddyn;
Deng mil o ganiadau
Roi'r iddo uwch nen,
A myrdd o goronau
Addurnant ei ben.

Ei fuddugoliaethau
A'i glodydd ar led,
Trwy'r ddaear heb ddiwedd
Yn rhyfedd a red:
A chanu dros oesoedd
Tragwyddol a fydd,
Am iddo ar Satan
Lwyr ennill y dydd.

856. Mawl Immanuel.—M. 6.

HOSANA i'n Brenin mwyn,
Un o waed Dafydd yw;
Fe ddaeth o'i fodd i ddwyn
Maddeuant oddiwrth Dduw:
Ieuanc a hen, dewch at ei draed,
Anrhydedd rhowch i'r gwir Fab rhad.

Gogoniant i'r Duw mawr,
Yr Oen roes droswy'i waed,
Cyhoedded nef a llawr,
Ei ryfedd gariad rhad;
Bendithion fyrdd fo ar ei ben,
A moled pawb yr Oen, Amen.

857. Rhodio gyda Duw.—M. 4.

HWYRHAU mae'n dydd, cysgodau'r nos,
Ymddangos maent o'n cwmpas;
O aros gyda ni, O Dduw,
Ein bywyd yw'th gymdeithas.

I ffyrdd y byd a'u llygredd hwy
Gochelwn mwy ddychwelyd;
Ar hyd ffordd arall tua'n gwlad,
Boed ein mynediad hyfryd.

Trig gyda ni, dy hedd rho in',
Ni geisiwn hyn drachefen;
Trig gyda ni, a hyn os cawn,
I'n ffordd ni awn yn llawen.

858. Galwad ar henaint.—M. 15.

HYD heddyw mae cyhoeddi mawr,
I alw holl drigolion llawr,
I dd'od yn awr, heb oedi'n hwy;
O tyr'd bechadur ymarhous,
Fe gymmer Duw weddillion d'oes,
A gwaed y groes, iacha dy glwy'.

859. Emyn brydnawnol.—M. 5.

HYD yma y'm cynnaliodd Duw,
Hyd yma rhoes im' oes i fyw;
Bob dydd a nos o hyd 'rwy'n cael
Prawf newydd o'i drugaredd hael.

O'm hamser gwariais lawer rhan,
A mi ar fyn'd im' bythol fan;
Ond maddau'r bai aeth heibio mae,
A rhoi rhagllaw nerth i barhau.

Tra b'o angylion Duw o hyd,
Yn gwylio gylch fy ngwely clyd;
Mi gaf yn ddiogel ddedwydd fyw,
Dan dawel nawdd adenydd Duw.

860. Iesu'n eiriol fry.—M. 9.

HYFRYDAF waith fy Mhriod
Fry ar ddeheulaw'r Tad,
Yw dwyn yn mlaen, drwy eiriol,
Fy iechydwriaeth rad:
Da im' oedd iddo esgyn,
Myrdd gwell yw'n awr i mi
Ei fod ef yn y nefoedd
Nag yma gyda ni.

Agorodd ddrws i'r caethion
I dd'od o'r cystudd mawr,
A'i werthfawr waed fe dalodd
Y dyled oll i lawr;
Nid oes dim damnedigaeth
I neb o'r duwiol had,
Y gwaredigion gânant
Am rinwedd maith y gwaed.

861. Croesaw Efengyl—M. 49.

HYFRYD lais efengyl hedd
Sydd yn galw pawb i'r wledd;
Mae gwahoddiad llawn at Grist,
Oes, i'r tlawd newynog trist;
Pob cyflawnder ynddo gewch;
Dewch a chroesaw, dlodion, dewch.

Iesu gaiff y clod i gyd,
Ymaith dug bechodau'r byd,
Rho'es ei hunan yn ein lle,
Bellach, beth na rydd efe?
Halaluia, llawenhewch,
Dewch, molianwch, byth na thewch.

862. Buddugoliaeth yr Oen.—M. 30.

Hyfrydwch f'enaid mwy
Fo son am farwol glwy'
Yr Oen, a'i ras:
Aed buddugoliaeth glir
Yr Oen dros fôr a thir:
Fe lyncodd angeu'n wir,
Mewn agwedd gwas.

O rho'ed pob perchen chwyth
Ogoniant iddo byth,
Mae'n Brynwr rhad;
Agorodd ddorau'r bedd,
Ac mae'n cyhoeddi hedd,
Mae bywyd yn ei wedd,
A gwir ryddhad.

863. Pris ein pardwn.—M. 5.

Hyn oedd tosturio megys Duw!
Sef—pan adnabu'n Prynwr byw
Mai gwaed oedd pris ein pardwn ni,
Ei galon ef ni chiliodd hi.

Er ei fod fry'n teyrnasu'n awr,
Mae'i gariad Ef o hyd mor fawr;
Mae'n cofio'n dda Galfaria fryn,
Na anghofied saint ef byth am hyn.

Ei ymysgaroedd etto ynt
Mor fwyn â phan fu farw gynt;
Caled yn wir yw'r enaid trist
Na chyffry byth ei serch at Grist.

864. Glynu am y gamp.—M. 4.

Hyn yw y gamp, ac uchel yw,
Drwy bob rhyw dywydd, glynu
Yn ngwaith yr Ion, a'i ddilyn ef,
Nes myn'd i'r nef i ganu.

A heibio boen yr anial dir,
A'i groesau 'n wir yn ebrwydd;
Yr ochr draw ceir gwel'd heb lèn
Ddoeth ddyben da ein Harglwydd.

865. Ffrwythau'r groes.—M. 30.

Iachawdwr dynol-ryw,
Tydi yn unig yw
Fy Mugail da:
Mae angeu'th groes yn llawn
O bob rhinweddol ddawn,
A ffrwythau melus iawn,
A'm llwyr iachâ.

Mi godaf atat gri,
'D oes arall ond tydi
All fy nglanhau:
Mwy ydyw rhîn dy waed
Nâ'r pechod mwyaf gaed,
A mwy yw'th gariad rhad
Nâ grym fy mai.

866. Claddfa pechod.—M. 10.

Iawn y groes yw'r drugareddfa,
Trigfa y gogoniant gwiw,
Dyma Iawn, fel môr diwaelod,
Gladd y pechod gwaetha'i ryw:
Dyma fan i guddio bywyd,
Dyma noddfa glyd i ffoi,
Dyma Graig pechadur egwan,
Gall pob truan yma droi.

867. Crist yn y preseb.—M. 1.

I Bethlem awn drwy ffydd
I weled dydd ein Duw;
Y dydd y ganwyd Iesu cu,
Dydd i'w fawrygu yw.

Pa le mae Crist i'w gael,
Iachawdwr hael y byd?
Yn llety yr anifail gwael,
A phreseb yw ei gryd.

O doed yn rhwydd bob rhai
A'u tannau yn gytun;
I'r Iesu'n glau rho'nt felus glod,
A'm dd'od yn Geidwad dyn.

868. Dryllio bàrau'r bedd.—M. 5.

I D'wysog y goleuni glân,
Fu'n gwisgo cnawd, dyrchefwch gân;
Trwy byrth baiarnaidd angeu'r aeth,
A dryllio'i gedyrn fàrau wnaeth.

Nid brenin braw yw angeu'n awr
Er pan gyfododd Iesu mawr,
Fe dynodd ef ei golyn llym,
A 'speiliodd uffern er ei grym.

Y dewr Gonewerwr, gwelwch ef
Yn esgyn at ei Dad i'r nef,
Ac yno mae'n teyrnasu'n awr,
Yn hardd ei wedd, ar orsedd fawr.

Angylion â'ch telynau dewch,
A'ch peraidd dannau uchaf t'rewch,
A doed holl luoedd dae'r a nef
I seinio'n fwyn ei foliant ef.

869. Pyrth Caersalem.—M. 34.

I Ddafydd llawen iawn
Oedd clywed d'wedyd, Awn
I dŷ Duw nef,
Gwledd gydag ef a gawn;
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
Llaw o alluog, enwog wyrth,
Sydd dan y gwaredigion,
O Sion un ni syrth.

Yr ochr draw i'r bedd,
Y saint fydd ar ei wedd,
Hwy gânt i gyd
Fyw yn ei hyfryd hedd;

A'u holl ganiadau yn gytun
Fyth, byth, am gariad Tri yn Un,
Ac am dragwyddol arfaeth
Yn iechydwriaeth dyn.

870. Coroni y Prynwr.—M. 4.

I DDUW ein Prynwr, goruwch neb,
Nerth a doethineb berthyn,
Coronau o ogoniant byth,
A mawl dilyth, diderfyn.

Cyflwyna ef ein henaid ni,
Yn berffaith ddifrycheulyd,
Gerbron ei Dad, yn llon ein gwedd,
Gyda gorfoledd hyfryd.

Ac yna'r hâd dewisol fry
Gânt gwrdd oddeutu'r orsedd,
I foli gras, ac i fawrhau
Ei dirion wyrthiau rhyfedd.

871. Heb Dduw, heb ddim.—M. 4.

IECHYD, a ffryns, a llawnder llwydd,
Dy roddion, Arglwydd, ydynt;
Boed am y rhai'n it' ddiolch gwiw,—
Ond nid fy Nuw mo honynt.

Mor wag yw cyfoeth, rhwysg, a bri,
Os hwy â thi gymharaf:
Cael nerth a chyfoeth, pa les yw?
Os heb fy Nuw y byddaf.

Pe bawn yn berchen yr holl fyd,
A'r nef i gyd pe meddwn,
Duw, heb dy ras, a thi dy hun,
Truenus ddyn a fyddwn.

Eu breichiau taened rhai fel môr
Am drysor y byd yma,
Rho i mi wên dy wyneb di,
A chwaneg ni ddymuna'.

872. Derchafu Iesu.—M. 6.

I ENW Crist a'i ras
Mae'n addas plygu'n awr,
O'n bodd coronwn Ef
Yn Arglwydd nef a llawr;
Ei barch a'i harddwch elo'n mlaen
Nes ennill serch y byd yn lân.

873. Rhagoroldeb Iesu.—M. 21.

IESU, fy anwylaf wrthddrych,
Gobaith enaid sy'n dy chwennych;
Ti mae'n dagrau yn ymofyn,
Cri ein meddwl sy'n dy erfyn.

Anwyl Iesu, dod in' brofiad
Helaeth, helaeth o dy gariad,
Byth ni cheisiwn i ni'n gyfran
Ddim tu hwnt i ti dy hunan.

Nid yw'r byd i gyd ond sothach,
Fflam dy gariad sy'n fil cryfach;
Wyt tu hwnt i rym ein caniad,
Wyt tu hwnt i bob dymuniad.

874. Noddfa yn y stormydd.—M. 10.

IESU, cyfaill pechaduriaid,
Dyro im' i'th fynwes ffoi,
Tra fo'r dyfroedd chwyrn yn llifo,
A'r tymhestloedd yn crynhoi;
Cuddia fi, O Geidwad, cuddia,
Nes êl heibio'r stormydd blin,
Tywys f'enaid tlawd i'r porthladd
Er mwyn d'enw mawr dy hun.

Noddfa arall nid oes genyf,
Pwysa'm henaid arnat ti;
Paid a'm gadael im' fy hunan,
Cymhorth â chysura fi:
Profi maith rinweddau'th aberth
Gaffwy'r ochor hyn i'r bedd,
Gwedi hyny dwg fi'n dawel
I'r Gaersalem lawn o hedd.

875. Emmanuel a gaed.—M. 26.

JEHOFA ddaeth i lawr
O blith nefolaidd lu;
Rhyfeddwn ninnau oll yn awr
Ei gariad cu!
Henffych i'r dedwydd ddydd
Emmanuel a gaed;
Caiff pechaduriaid fyn'd yn rhydd
Trwy rin ei waed.

Cymmerodd agwedd gwas
I guddio'i ddelw'i hun;
Anfeidrol yw dyfnderoedd gras,
Er achub dyn:
Henffych i'r dedwydd ddydd, &c.

876. Mawredd a gras Duw.—M. 6.

JEHOFA'n Frenin sy
A'i orsedd yn y nef;
Goleuni a mawredd fry
Sy'n wisgoedd iddo ef:
Ei ddysglaer wedd, mor danbaid yw,
Nas gall un dyn ei wel'd a byw.

A blyg fath Frenin mawr
O'i ogoneddus fri?
A rhoi ei enw'i lawr
Yn Dad a Ffrynd i mi?
'Rwy'n caru ei air a'i enw ef,
O f'enaid, mawl yr Arglwydd nef.

877. Mawredd a gras Duw.—M. 9.

JEHOFA sy'n teyrnasu,
Ei orsedd uchel yw,
Goleuni a mawrhydi
Yw gwisgoedd hardd ein Duw:
Dysgleirdeb ei ogoniant
Dywyna maes mor glir,
Nas dichon undyn oddef
Yr olwg arno'n wir.

A 'mostwng Ef mor isel,
Ior gogoneddus mawr,

A d'od yn Dad a Chyfaill
I bryfyn gwael y llawr!
Ei enw gydfolianaf
A'r holl angylion gwiw;
Mae'r nefoedd i mi'n sicr,
Os wyf yn eiddo Duw.

878. Duw'n haeddu ein mawl.—M. 4.

JEHOFA yw ein huchel Dduw,
Ein Brenin yw, clodforwch;
Dewch, seiniwch bawb ei fawl ar led,
A hymnau o deyrnged dygwch.

Y dyfnder oll a wnaeth ein Hior,
A rhoes i'r môr derfynau;
Y dyfroedd oll ynt eiddo fo,
A sychdir, bro, a bryniau.

Dewch at ei fainc i foli'n rhwydd,
O flaen yr Arglwydd plygwch;
Dewch, fel ei ddewisedig ryw,
Eich grasol Dduw addefwch.

879. Galwad ar ieuenctyd.—M. 10.

IE'NCTYD siriol, na segurwch,
Heddyw ceisiwch Iesu Glân,
Gwyliwch droi yn maglau Satan,
Dewch i'r winllan fawr a mân,
Mae'r efengyl â'i danteithion,
Gwleddoedd Sion i chwi'n rhad.
Deuwch bellach, pa'm yr oedwch?
Nac amheuwch rin y gwaed.

Pa'm y cefnwch ar y cymmod?
Pwy all wrthod Iesu Grist?
Pwysa crefydd bob pleserau
Dan ddyrnodiau angeu trist:
Gwell yw hau, er colli dagrau,
Hyfryd ffrwythau calon lân;
Gwell fydd medi byth mewn gwynfyd
Nag mewn adfyd yn y tân.

880. Y byd i Grist.—M. 7.

IESU, cadarn wyt mewn rhyfel;
Concra, ennill drwy dy waed,
Gwisg dy gleddyf a marchoga
Yn llwyddiannus drwy bob gwlad;
Cymmer d'allu,
A theyrnasa dros y byd.

Addewidion mawr a roddwyd
Daw rhyw ddyddiau mawr eu bri,
Bydd cyn hir deyrnasoedd daear,
Oll yn eiddo'n Harglwydd ni;
Sain caniadau
Iachawdwriaeth fydd drwy'r byd.

881. Cyfaill goreu.—M. 7.

IESU, Cyfaill pechaduriaid,
Cyfaill ffyddlawn byth a lŷn,
N'ad im' bwyso nac ymddiried
Ar un cyfaill ond dy hun;
Digon ydwyt,
Mwy nâ digon byth i mi.

D'wedaist air, mi gofiaf hwnw,
Cofio'th eiriau yw fy ngrym,
"Nis gadawaf chwi'n amddifaid,"
Dyma'r gair a dd'wedaist im':
Dyma ddigon,
Mwy nâ hyn nid oes i'w gael.

882. Aden dawel Crist.—M. 3.

IESU, difyrwch f'enaid drud,
Yw edrych ar dy wedd;
Ac mae llyth'renau d'enw pur,
Yn fywyd ac yn hedd.

A than dy aden dawel bur
Yr wy'n dymuno byw;
Heb ymbleseru fyth mewn dim
Ond cariad at fy Nuw.

Eisteddais dan ei gysgod ef,
A'i ffrwyth oedd felus iawn;
Ac yma treuliaf ddyddiau f'oes,
Fyth, fyth yn ddedwydd iawn.

883. Griddfanau Iesu.—M. 48.

IESU, dirmygedig un,
Ddyoddefodd angeu loes,
Gan ryw ddienyddwyr llym,
Yn wirion ar y groes,
Y griddfanau rodd i maes,
A wna drueiniaid fyrdd yn rhydd;
Bellach holl ganiadau'r nef,
Byth am Galfaria fydd.

884. Gwledd gorfoledd.—M. 4.

IESU ein Duw a'n gwawdd mewn hedd
I wledd o orfoledd yma;
I'r gwaredigion yn y lle
Bendithion fe'u cyfrana.

Mor ogoneddus yw ei wedd
A'i wenau mwynaidd tawel!
A'r geiriau addfwyn teg mae'n ddweyd
Wrth bob rhyw enaid isel.

Chwi blant fy nghariad drosoch chwi
Goddefais i fy ngwânu;
Fy nhraed a'm dwylo gwelwch hwy
A'm hystlys-glwyf fu'n gwaedu,

Y rhai'n yw'r clwyfau ge's i gynt,
Arwyddion y'nt o'm poenau,
Pan ddaethum wared i ryddhau
Eich enaid o'i gadwynau.

885. YR AIL RAN.

CYFIAWNDER dyna'i gledd bryd hyn,
Fe'i trochodd yn fy nghalon;
Anfeidrol boen a ddygais i
O'ch achos chwi, gyfeillion.

Pan ddaeth i'm herbyn uffern hŷ',
A'i herchyll lu ymleddais,
I gadw'ch bywyd anwyl chwi
Fy mywyd mi a'i collais.

Gyda gorfoledd mawr a hedd
  Dewch 'nawr im' gwledd ysbrydol,
A phrofwch gnawd a gwaed Mab Duw
  A byddwch fyw'n dragwyddol.

886. Ail-ddyfodiad Crist.—M. 10.

IESU etto, mewn gogoniant,
  Heb y groes a'r goron ddrain,
Ddisgyn gyda myrdd myrddiynau,
  Llawen floedd, ac uchel sain:
Cwyd ei orsedd, egyr lyfrau,
  Sigla seiliau dyfna'r bedd,
Lleda'r wyntyll, hwylia'r glorian,
  Ysgwyd fry ei farnol gledd.

Pan y ffy y nefoedd heibio,
  Pan y byddo'r byd yn dân,
A'r holl anwir fyd mewn cyffro,
  A llu'r saint yn seinio cân;
Pan y toddo'r euog ymaith
  Dan lewygon bythol fraw,—
Boed i ni gael tawel orphwys
  Ar ei dirion ddeheu-law.

887. Hawddgarwch Iesu.—M. 10.

IESU hawddgar, 'rwy'n dy ddewis,
  Nerth i ddilyn ol dy droed;
Yna caiff fy enaid 'hedeg,
  I'r hapusrwydd pena 'rioed;
Ni raid ymladd â gelynion,
  Ni raid teithio daear lawr;
Ond dysgleirio yn mysg myrddiynau,
  Gylch yr orsedd fel y wawr.

Yno derfydd i mi ofni
  Gwawd, a gwg, a chas y byd;
Pan y caffwyf gyflawn olwg
  Ar dy hawddgar wynebpryd;
Gwedd dy wyneb sy'n dwyn bywyd,
  Gwedd dy wyneb sy'n dwyn hedd,
Gwedd dy wyneb ydyw'r cwbl,
  Yma a thudraw i'r bedd.

888. Hollddigonedd Crist.—M. 10.

IESU, llawnder mawr y nefoedd,
  Gwrando lef un eiddil gwan,
Sydd yn gorwedd wrth dy orsedd,
  Ac yn codi llef i'r lan;
Yn dy iechydwriaeth gyflawn,
  Er mor egwan wyf yn awr,
Ceir fy ngweled ryw ddiwrnod,
  Yn dysgleirio fel y wawr.

Môr sydd ynot o fendithion,
  Heb waelodion iddo'n bod:
Y mae'n llanw byth o'th rinwedd,
  Nid oes diwedd ar dy glod;
Dy enw beunydd sy'n ymdaenu,
  Fel goleuni'r bore wawr;
Bydd telynau i ti'n cânu,
  Byth rifedi gwellt y llawr.

889. Aberth Calfaria.—M. 7.

IESU'n brydferth roddodd aberth
  O fawr werth ar Galfari,
Sylwedd cyflawn y cysgodau,
  Hwnw'n Feichiau drosof fi;
Un dihalog
  Ar y grog dan ddirfawr gri.

Mawr oedd gwaith ei ddarostyngiad
  O'r fath gariad pur didrai!
Un oedd yn preswylio'n uchel
  Gafwyd gyda'r isel rai,
Y difeius,
  Fu yn boenus dan ein bai.

Trwy ei waed y tarddodd cymmod,
  Heb un ammod i ni'n rhad;
O mor werthfawr i bechadur
  Mawr ac anmhur gael iachad!
Ar ei haeddiant
  Saif gogoniant deddf ei Dad.

890. Bod gyda Iesu.—M. 7.

IESU'r Prynwr a'm gwaredodd
  O'r caethiwed gwaetha 'rioed,
Gydag ef o heddyw allan
  Byth 'rwyf yn dymuno bod;
Fy neisyfiad,
  Iesu, yw bod gyda thi.

Geiriau grasol yw dy eiriau,
  Llawn o fywyd y'nt a hedd,
Ar dy ysgwydd y mae'n crogi
  Holl allweddau pyrth y bedd;
Fy neisyfiad,
  Iesu, yw bod gyda thi.

891. Ffynnon bywyd.—M. 10.

IESU, ti yw ffynnon bywyd,
  Bywyd dedwydd i barhau.
Pob gwir gysur îs y nefoedd,
  Ynot ti dy hun y mae;
Nis gall croes na gwae na chystudd,
  Wneuthur niwed iddynt hwy,
Gafodd nerth i wneyd eu noddfa
  Yn dy ddwyfol farwol glwy'.

892. Pereiddio gweddiau'r saint.—M. 4.

IESU yn unig a gaiff ddwyn,
  At Dduw fy nghwyn yn ddiau;
Efe bereiddia ar bob cam,
  Fy ngweddi a'm griddfanau.

Mi seiniaf gyda pharch a sel,
  Ei glod yn uchel allan;
Hosana i Dduw'r gras bob tro,
  Am roddi heibio'i daran.

Gogoniant byth i'r Brenin mawr,
  Hosana 'nawr drwy'r nefoedd;
I Dduw a Christ rhoed pob gwir sant,
  O'i galon foliant filoedd.

893. Traddodi Crist trosom.—M. 25.

Iesu yn ei chwys a'i waed,
A'i riddfanau,
A wynebodd gledd ei Dad
Dan ein beiau;
Yn ei gnawd, santeiddiol len,
Fe'i condemniwyd,
Pan y llefodd, ar y pren,
Ef,—gorphenwyd.

Adgyfododd ef i'r lan
Yn goncwerwr;
Dyma, O bechadur gwan,
Dy Iachawdwr;
Cyfiawn yw, mae'n cyfiawnhau
Y sawl gredo,
Iachawdwriaeth i barhau
Mwy sydd ynddo.

894. Pob llygad a'i gwel ef.—M. 20.

I Grist ein Hoffeiriad,
Wnaeth drosom ni hedd,
I'n Priod a'n Brenin,
A'n Prynwr mwyn wedd,
Y rhodder yn hollol
Bob gallu'n ddilyth,
A chaned pob genau'i
Ogoniant ef byth.

Fe gafodd ei wânu
Pan gynt ar y llawr,
Ond dangos ei gariad,
Yn maddeu mae'n awr;
Fry ar y cymylau,
Yn ddiau fe ddaw,
A'i wel'd ga pob llygad
Yn d'od maes o law.

895. Tosturi Crist.—M. 10.

I gu Geidwad gwael bechadur,
Gyda gwylder seiniwn gân;
Ac ennyner yn ein mynwes,
Fywiol fflam o nefol dân:
Canwn am ei ddarostyngiad,
Am ei gur a'i gariad ef;
Gan adseinio tônau mwynion,
Telynorion llys y nef.

Wrth wel'd adyn diymgeledd,
Tlawd yn gorwedd yn ei waed;
Dan ei fraich yn archolledig,
O'i ben ysig hyd ei draed;
Heb un cyfaill i dosturio,
Heb un balm i'w galon friw,—
Codai Iesu lef drugarog,—
Am i'r euog gwael gael byw.

896. Craig Israel.—M. 2.

I'n Craig ffoi 'nawr a wnawn,
Ac yno cawn ddiffynfa;
A thynwn iechydwriaeth gref
O'i enw ef—Jehofa.

Dy fraich, ein cadarn Ior,
A bia'r oruchafiaeth;
Dy fraw a ddeil y gelyn llym,
Nes tawdd ei rym ef ymaith.

Pa le mae Craig mor gref
Ag ydyw Ef, ein Harglwydd:
Ei gadarn rym, a'i gariad pur,
A folir yn dragywydd.

897. Manna wrth raid.—M. 35.

Ior, cynnal f'enaid gwan,
Trwy'r moroedd mawr i'r lan,
Yn mlaen o hyd, er cnawd a byd,
I forio i'r hyfryd fan:
Cael manna wrth raid a'r dwr dibaid,
Gwledd dda fy enaid yw;
A phrofi'th hedd a gwel'd dy wedd,
Yw'm melus wledd, tu yma i'r bedd,
A'm holl-ddigonedd gwiw.

898. Mawl y Crewr.—M. 5.

I'r Arglwydd cenwch lawen gân,
Pob gwlad rhoed fawl i'w enw glân,
Danfoned Prydain yn ddifraw,
Yr adsain dros y moroedd draw.

Gwas'naethed pobloedd ger ei fron
Mewn ofn a llawenydd llon,
Gwybydded pawb mai fe sydd Dduw,
Mai fe all ladd a gwneyd yn fyw.

Ei allu gyrhaedd dros y byd,
Tragwyddol yw ei gariad drud,
A saif ei wir byth heb ysgoi,
Pan beidio haul a lleuad droi.

899. Rhediad gair Duw.—M. 5.

I'r Arglwydd nef â'n llef yn llu,
Rhown fawl ar gu nefolaidd gân;
Ei air sydd uwch pob peth sy'n bod,
Aeth hyn yn glod i'w enw glân.

Tu draw i'r môr, am wir Fab Mair,
Pan swnio'r gair, bydd melus gân;
Clodfori bydd breninoedd byd,
O fewn ei glud gynteddoedd glân.

Er bod yr Arglwydd uwch y nef,
Fe genfydd ef yr isel rai:
Bydd yn y nefoedd lân ddilyth,
Ei foli byth am faddeu bai.

900. Gras y Brawd hynaf.—M. 14.

I'r bru a'r preseb tlawd
Fe ddaeth ein hynaf Frawd,
I geisio ac i gadw'r gwan;
O'i angeu ef cawn hedd,
A bywyd glân a gwledd,
O ddyfnder bedd fe ddaeth i'r lan.

A gorfoleddu fydd,
Mewn gwlad o fythol ddydd,
Gan ddeiliaid ffydd, heb groes na chri,

Mewn nefol hyfryd hoen,
A chân y dorf ddiboen
Fydd angeu'r Oen ar Galfari.

901. Diogelwch Israel.—M. 5.

I'R bryniau codai'm golwg brudd,
Y bryniau fry uwch wybren sydd,
Yno mae porth fy enaid byw,
Yno mae'm hollalluog Dduw.

Nawdd Israel yw, gwna'u ffordd yn rhydd
Y boreu fe fendithia'r dydd;
A'r hwyrol len a goda'i law,
I Israel orphwys yn ddifraw.

O Israel! enw breiniol yw,
Caiff gysgu a chodi dan nawdd Duw;
Dim hûn, na chwsg, na hepian sy
Ar lygaid effro'n Ceidwad fry.

902. Iesu yn Arweinydd.—M. 13.

I'R Iesu boed y clod,
Tra byddo bod a byd,
Efe oedd cyn y diluw mawr,
Efe sy'n awr o hyd;
Yn gyfaill ac yn Dduw
I bob rhyw lwyth ac iaith,
I arwain gweiniaid uwch y nen,
Yn gryno i ben eu taith.

Na foed im' garu mwy,
Un gwrthddrych is y ne',
Ond hwnw gynt fu'n plygu'i ben
Ar groesbren yn fy lle:
Nid oes neb ond efe
Mewn daear, nef, na llawr;
Ac arall byth ni chaiff y clod
Sy'n eiddo'm Iesu mawr.

903. Meusydd nefol.—M. 5.

I'R meusydd nefol fry, lle rhed
Y dyfroedd bywiol pur ar led,
Dymunai'm henaid 'hedeg 'nawr,
Ond pechod sy'n ei wasgu lawr.

Dy werthfawr waed, anwylaf Grist,
All dynu'm holl euogrwydd trist,
A thithau'r g'lomen nefol fwyn,
All ar d'adenydd yno'm dwyn.

Pe gallwn esgyn fynu'r ne',
A gwel'd gogoniant llawn y lle,
Mor fach, mor wael a fyddai'r byd
A'i bethau yn fy nghyfri'i gyd.

Y Brenin mawr, Duw oll yn oll,
Gâd wel'd dy wyneb teg heb goll;
A'm holl bwerau seiniai maes
D'anfeidrol fawredd di a'th ras.

904. I'r Drindod.—M. 15.

I'R santaidd Dri, 'nawr yr un tro,
Tad, Mab, ac Ysbryd Glân y bo,
Mawl bythol a gogoniant cu;
Trwy'r bydoedd oll lle 'dwaenir Ion
Gan yr angylion gylch y thrôn,
A seintiau'r ddae'r a'r nefoedd fry.

905. Mawl i'r Drindod.—M. 5.

I'R Tad a'i gariad rhoddwn glod—
O'r ffynnon nefol hon mae'n d'od
Afonydd o lawenydd fry,
A'r ffrydiau cysur yma sy.

Gogoniant i Fab Duw o'r nef,
O'i fynwes hoff friwedig ef
Daeth gwerthfawr ffrwd o fywiol waed,
Rydd i ni fywyd a rhyddhad.

Rhown glod i'r Ysbryd Glân bob pryd,
Hwn yn ein calon ddrwg a ddyd
Ei ras fel ffynnon fywiol hardd,
Ac i ogoniant byth y tardd.

906. I'r Drindod.—M. 5.

I'R Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Un Duw gogyfuwch diwahan,
Boed moliant ac addoliad cu
Gan bawb trwy'r byd a'r nefoedd fry.

907. Doethineb Duw.—M. 4.

I'R unig ddoeth a'r bywiol Dduw,
Rhoed dynol-ryw ogoniant,
Anrhydedd fo i'w enw glân,
Anfarwol gân a moliant.

Wrth edrych ar y nefoedd faith,
A gweled gwaith Jehofa,
Anfeidrol yw'r doethineb sydd
Yn ganfyddedig yma.

Trwy'r tir a'r môr dysgleirio mae
Ei allu a'i ddoethineb;
Ond yn y cymmod, gras, a'r Iawn,
Y mae mewn llawn ddysgleirdeb.

908. Anffyddlondeb Israel.—M. 4.

ISRAEL, heb gof o'r gwyrthiau rhwydd
Wnaeth Duw yn ngwydd eu llygaid;
A dorent ammod deg ei hedd
Heb brisio'i ddeddfau euraid.

Canfuant ef yn hollti'r môr,
Nes iddo agor iddyn';
I'w cadw gwnaeth y dwfr yn fur,
Nes ffoi rhag gwŷr y gelyn.

I'w cuddio'r dydd rho'i gwmwl glân,
A'r nos yn dân i'w tywys;
Drwy'r ffordd eu disychedu wnaeth,
O'r graig daeth ffrydiau iachus.

Fel cawod foreu manna gaed
O gylch eu traed yn gysson;
Yd nefol oedd, mor bur a da
A'r bara ga' angylion.

Fe a'u ceryddodd lawer gwaith,
Ac eilwaith fe faddeuodd;
Nes iddo eu gwaredu'n wir,
A'u dwyn i'r tir addawodd.

909. Cân Simeon.—M. 4.

I'TH deml, Arglwydd, 'nawr yn llon,
Yr awn, fel Simeon ddedwydd;
Mewn gobaith cwrdd â Christ ei hun,
A chael yr un llawenydd.

Mae golwg ar dy wyneb mwyn,
O Iesu! 'n dwyn calonau;
Prin teimlwn afael angeu prudd,
Os Crist fydd yn ein breichiau.

Pan dôro gwisg y galon fau,
A'i holl linynau gweiniaid;
Bydd glesni marwol ar fy ngrudd,
Ond tawel fydd fy enaid.

910. Gardd Crist.—M. 5.

I'w ardd fe ddaw ein hanwyl Ner,
Hoff ganddo yw ein harogl per;
A'n gwawdd y mae i'w wledd ei hun,
Melusach yw nâ llaeth a gwin.

Bwytewch, medd ef, bwytewch yn rhad,
Mae groesaw i chwi, blant fy Nhad;
Dewch, f'anwyl rai, ac yfwch chwi
Yn helaeth lawn o'm cariad i.

At fwrdd ei ras yn fynych awn,
A chanmol ei haelioni wnawn;
Mae'r nefol fwyd 'ry'm arno'n byw
Yn galw arnom foli'n Duw.

911. Atebiad gweddi.—M. 5.

LIW nos, O Dduw, am danat ti,
Ymofyn mae'n heneidiau ni;
A'n hysbryd am dy gyfarch sydd,
Mewn gweddi cyn y gwawrio'r dydd.

Ac hefyd yn dy ffyrdd yr y'm
Yn dysgwyl am dy wel'd dy hun;
A hiraeth ein heneidiau prudd
Am gadw'th goffadwriaeth sydd.

Dewch blant, medd Duw, o'r byd i maes
I lechu yn 'stafelloedd gras;
Cewch nefol hedd a nawdd bob dydd,
Can's f'aden dawel drosoch fydd,

912. Holi am Grist.—M. 5.

LIW nos, pan oedd hi'n dywyll ddu
Yn fynych ceisiais f'Arglwydd cu;
A chalon drist, er chwilio'r dref
A cheisio'n hir, ni's cefais ef.

Wrth holi'r gwylwyr—Welsoch chwi
Yr hwn sydd hoff gan f'enaid i,
Mi'i cefais ef, a daeth bob cam,
O'i gariad cu, i dŷ fy mam.

Rhoes yno im' ei galon fwyn,
Yr hon a wanwyd er fy mwyn;
Na foed i'm pechod ei gyffroi,
A pheri i'm Ceidwad ffyddlon ffoi.

913. Llais yr Anwylyd.—M. 5.

LLAIS siriol fy Anwylyd sy',
Yn seinio ar y bryniau fry,
Dros foroedd a mynyddoedd mae,
Yn dod i'm gwared i o'm gwae.

Trwy'r llen o gnawd y gwelaf ef,
Yn edrych arnai'n fwyn o'r nef,
Ac yn ei Air, y dysglaer ddrych,
Mae'n dangos gwedd ei wyneb gwych.

Fy nghalon mae yn ddirgel ddwyn,
A'i degwch mawr, a'i dafod mwyn;
Dymunai'm henaid ffoi i'w gol,
Gan ado'r byd i gyd ar ol.

914. Sion yn ben moliant.—M. 10.

LLAMA, Arglwydd, dros y bryniau,
Doed y dyddiau gwiw i ben,
Pan b'o Sion drwy fawr lwyddiant,
Yn ben moliant îs y nen;
Enw'r Iesu gaffo'i barchu,
A'i dderchafu drwy bob gwlad,
Miloedd ddelo i gofleidio
Iechydwriaeth yn y gwaed.

915. Ysbryd gweddi.—M. 10.

LLANWER pawb ag ysbryd gweddi,
Ysbryd llawn o daerni dwys,
Ysbryd gofyn hyd nes derbyn
Y bendithion mwya'u pwys;
Ysbryd llawn o deimlad bywiog
Lanwo galon pawb o'r byw;
Boed yn amlwg ar eneidiau
Weithrediadau Ysbryd Duw.

916. Ffrwyth angeu Crist.—M. 4.

LLAWENYDD cyflawn gyda'i Dad
Gaiff Crist yn ngwlad goleuni;
Wrth eiriol dros droseddwyr gwael
A'u gwel'd yn cael eu golchi.

Caiff weled ffrwyth ei angeu drud,
A'u dwyn yn nghyd o'r gwledydd;
A chlywed sain eu mawl heb daw
Drwy'r oesau ddaw'n dragywydd.

917. Anghrediniaeth.—M. 7.

LLAWN o drallod, llawn o ddychryn,
Llawn o boen yw'm henaid gwan;
Anghrediniaeth sydd yn haeru,
Na ddof byth o'r llwch i'r lan;
Gwna im' gredu, &c.,
Dyna'm henaid wrth ei fodd.

Mae dyfnderoedd anghrediniaeth,
Wedi'm gwneyd yn llesg a gwan;
Pechod sydd yn gwneyd im' ofni,
Ofni sy'n fy rhwystro i'r làn;
Gwna im' gredu, &c.,
Dyna'm henaid wrth ei fodd.

918. Etto mae lle.—M. 5.

LLEFWCH genadon Duw o hyd,
O wele waed Iachawdwr byd;
Cymhellwch bawb ddod ato fe,
Mae'r Iesu'n dweyd fod etto le.

Chwi rai newynog, tlawd, nesewch
O amgylch drws Messia dewch;
Gwrandewch ei lais a'i alwad E',
Mae'r Iesu'n dweyd fod etto le.

Pwy bynag gredo yn Mab Duw
Yr enaid hwnw byth fydd byw;
Caiff ernes 'nawr o deyrnas ne'
Mae'r Iesu'n dweyd fod etto le.

919. Dinystr Anghrist.—M. 4.

Lle trigodd anghrist, medd Duw Ner,
Fy maner a gyfodir;
Can's dydd fy ngwaredigion ddaeth
A'u dagrau ymaith sychir.

Dy ddeheu law goncwerwr cry',
A ddwg i ti anrhydedd;
Rhown i ti glod, Waredwr gwiw,
Ofnadwy yw'th ddialedd.

Dinystrio wneir y bobloedd sy'n
Rhyfygu sathru'r seintiau:
I ddial cam mae braich gan Dduw
A chlust a glyw ochneidiau.

920. Trefn cariad.—M. 3.

Lluniaethwyd trefn gan y Tad
Er mwyn arbediad byd;
Trwy hon caiff dynolryw lesâd,
Mae'n gariad oll i gyd.

Fe gaed boddlonrwydd yn yr Iawn,
Yr Aberth cyfiawn drud,
Mae'r iechydwriaeth fawr ei dawn
Yn gariad llawn i gyd.

Fe gân preswylwyr Salem dref
O fewn eu cartref clyd,
Byth am yr iechydwriaeth rad
Sy'n gariad oll i gyd.

921. Llwybr croes i natur.—M. 10.

Llwybr cwbl groes i natur
Yw fy llafur yn y byd;
Ei deithio wnaf, er hyn, yn dawel,
Ond im' gael dy wyneb-pryd:
Codi'r groes a'i chyfri'n goron,
Mewn gorthrymderau, llawen fyw,
Y ffordd unionaf, er mor arw,
I'r ddinas gyfaneddol yw.

Rhyfeddu wnaf, a mawr ryfeddod
Fydd, pan ddel y ddedwydd awr
I'm meddwl llesg, sy'n awr yn gwibio
Ar ol teganau gwael y llawr,
Gael ei lwyr sefydlu'n wastad,
Ar ei hawddgar berson ef,
A'i ddiysgog gydymffurfio
A holl santaidd ddeddfau'r nef.

922. Llwyddiant teyrnas Crist.—M. 8.

Llwyddded teyrnas y Messias
Dros holl gwmpas daear fawr;
Tanllyd wres yr athrawiaethau
Fo'n malurio'r delwau i lawr:
Llef Mab Duw godo'n fyw,
Fyrdd trwy ras, o ddynol-ryw.

Teulu Sion lawenychant,
Wrth wel'd llwyddiant yn cryfhau;
Gweled hen Genedloedd duon,
Ac Iuddewon dan 'r un iau:
Eglwys ddrud ddaw yn nghyd,
I fod yn ben gogoniant byd.

923. Teyrnasiad Iesu.—M. 10.

Llwydd i'r Gwr fu yn y preseb,
Lywio wyneb daear gron;
Deuwch, weiniaid, yn ddiaros,
Rhowch eich achos ger ei fron:
Oddiwrth uchel sedd ei fawredd,
Rhed trugaredd yn ffrwd gref;
Ni wna gam a gwr mewn mater,
Ceir cyfiawnder ganddo ef.

Eistedd mae ar uchel orsedd,
Brenin y Tangnefedd yw;
Efe yw union Aer y goron,
I deyrnasu yn Sion wiw,
Undeb, cariad, a chydgordiad,
I'w deyrnasiad fo is nen;
Llanwer daear o'i ogoniant,
Myrdd a'i molant draw i'r llen.

924. Gadael pob ffordd ddrwg.—M. 7.

Llwyr adawn ein ffyrdd drygionus,
A'n meddyliau drwg bob rhyw;
A dychwelwn at yr Arglwydd,
Llawn o drugarawgrwydd yw:
Hael Arbedwr,
Rhyfedd dyner ydyw Duw.

Awn yn mlaen i geisio Iesu,
Tra y mae yn awr i'w gael;
I rodfeydd ei ras mae'n dyfod,
Lle mae'n hynod iawn o hael:
Diolch iddo,
Mae yn gwrando cwyn y gwael.

925. Ymgnawdoliad Crist.—M. 11.

Mab Duw a gymmerodd y dyndod,
Yn gysgod i'w hanfod ei hun,
Er achub a chadw pechadur
Fe wnaed y ddwy natur yn un;
Agorodd borth dinas y bywyd,
A thrwyddo mae gwynfyd i'w gael;
O ryfedd diriondeb trugaredd!
Mae'n gwneuthur ymgeledd i'r gwael.

Fe ddrylliwyd cadwynau'r tywyllwch,
Mae'r ffordd at Dduw'r heddwch yn rhydd,
A'r Brenin yn llawn o hawddgarwch,
Yn dangos ei degwch bob dydd;

Ar fyr daw Tywysog y Bywyd
  I ddwyn ei anwylyd i'r nef;
A gwna, trwy beryglon, ei eglwys,
  Yn gymhwys i fyw gydag ef.

926. Y Bugail da.—M. 6.

Mab Duw sydd Fugail da,
  Ei braidd a bortha'n bur;
Fe wrendy ar eu llais,
  A'u cais o dan bob cur:
Duw oll yn oll, diwallu wna
Ei braidd, ni cha na brad na choll.

Arlwya ford yn llon,
  Yn ngwydd gelynion lu,
Pob brasder fydd ger bron,
  Danteithion gorau'r tŷ;
A phiol lawn yr enaint gwiw,
Sef Ysbryd Duw, a'i Ddwyfol ddawn.

927. YR AIL RAN.

Yn nghysgod angeu du,
  Fe dŷr goleuni dydd;
Ei wialen ef a'i ffon
  Yn rhoi cysuron sydd:
Ceryddu bai wna Brenin nef,
Fe gynnal ef ei anwyl rai.

928. Llais yr edifeiriol.—M. 5.

Maddeu a thrugarha, O Dduw,
A gad i'r edifeiriol fyw:
On'd helaeth yw dy ras, a rhydd
I'r euog bwyso arno'i ffydd?

Fy nrwg sydd fawr, er hyn nid yw
Tu hwnt i allu gras fy Nuw;
Fy enaid ylch oddiwrth bob bai,
A'm calon drist gaiff lawenhau.

929. Maddeuant.—M. 15.

Maddeuant rydd im' wir iachad,
Maddeuant sy'n dwyn gwir lanhad,
  Maddeuant rhad—O ddwyfol ddawn!
Maddeuant gwyd fy nhraed i'r Graig,
Maddeuant faedda ddrygau'r ddraig,
  Maddeuant drwy anfeidrol Iawn.

Am Iawn faddeuant, f'enaid, cân
Ag uchel lef i'th Iesu glân,
  Nid oes dim damnedigaeth mwy;
Ond hedd a chymmod i barhau,
A bythol achos llawenhau,
  Caed iechydwriaeth i dy glwy'.

930. Addewidion y cyfammod.—M. 3.

Mae addewidion melus wledd
  Yn gyflawn ac yn rhad,
Yn y cyfammod pur o hedd,
  Tragwyddol ei barhad.

O, rhwyma fi wrth byst dy byrth,
  I aros tra b'wyf byw,—
I edrych ar dy wedd a'th wyrth,
  A'th foli di, fy Nuw.

Tydi fo'm cymmorth parod iawn
  I'm cynnal ar fy nhaith;
A thi dy hun fo'm trysor llawn,
  I dragwyddoldeb maith.

931. Gwared o'r bedd.—M. 7.

Mae addewid nef yn eglur,
  Geiriau Duw yn sicr sydd,
O law angeu mi'ch gwaredaf,
  Felly d'wedodd, felly bydd:
    Cred, fy enaid,
Credu ladd dy ofnau'i gyd.

Groesaw angeu, taro'th ergyd,
  Taro, er mor drymed yw;
Gan yn gyntaf i mi wybod
  Fod fy Mhrynwr mawr yn fyw;
    Cred, fy enaid,
Credu ladd dy ofnau'i gyd.

932. Afon dinas Duw.—M. 3.

Mae afon bur o ddyfroedd byw,
  A'i gloyw ffrydiau hi
A lawenhant hardd ddinas Duw,
  Mor uchel yw ei bri!

Preswylfa y Goruchaf Un
  Yw Salem, enwog dre',
Hon yw ei gyssegr ef ei hun,
  Ei hoff ddewisol le.

Ac yn ei chanol mae Duw'r nef,
  Nid ysgog Sion lawn;
Ei chynnorthwyo a wna ef,
  A hyny'n foreu iawn.

933. Llif amser.—M. 4.

Mae amser, fel llif gwyllt neu dôn,
  Yn dwyn ei feibion ganddo;
Mewn anghof darfod maent i gyd,
  Fel breuddwyd wrth ddihuno.

Y bobloedd sydd fel blodau'r maes,
  Y boreu gwyrddlas fyddant;
Tan law'r pladurwr, cyn prydnawn,
  Yn gynnar iawn y gwywant.

Ein Duw a'n Porth mewn oesoedd maith,
  A'n Gobaith yn ganlynol;
Mewn ing bydd i ni'n Noddfa gref,
  A'n cartref yn dragwyddol.

934. Teyrnasiad Crist.—M. 5.

Mae amser hyfryd yn nesâu,
Diflana pob crefyddau gau,
Teyrnasa Crist yn Frenin gras
Ar holl dylwythau daear las.

Ceir gwel'd, a hyny cyn bo hir,
Tystiolaeth y Proffwydi'n wir;
Yr esgyrn sychion, dilys yw,
A hardd gyfodant etto'n fyw.

Hiraethu mae pob perchen ffydd,
Gan ddysgwyl beunydd am y dydd,

Pan welir Sion bêr yn llawn
O bob rhyw bur ysbrydol ddawn.

935. Claddedigaeth.—M. 59.

Mae angeu yn awr
A'i finiog oer gledd,
Yn tòri i lawr
Ryw luoedd i'r bedd;
Heb arbed nac oedran,
Na rhyw, nac ystad,
Henafgwr, na baban,
Na mamaeth, na thad.

Mae'r ddu gyfyng awr
Yn prysur nesâu,
Pan dynir i lawr
Fy mhabell wan frau;
O Dduw dod drugaredd,
A maddeu i mi
Yn rhad fy anwiredd,
Atolwg i ti.

936. Grym ei adgyfodiad ef.—M. 10.

Mae angylion yn ein cymhell,
Deuwch, meddant, dyma'r fan,
Fan bu'ch Arglwydd cu yn gorwedd,
Nid yw yma, daeth i'r lan;
Dyma'r napcyn, a'r llieiniau
Fu am dano, gwelwch hwy,
Yma'n gryno, gwnaeth eu gado
Ni raid iddo wrthynt mwy.

Gyda Christ os cyfodasom
Ninnau trwy ei ryfedd ras,
Rhodiwn mewn newydd-deb buchedd
Gydag ef o hyn i maes;
Daliwn afael yn ein rhyddid,
Dyfal lŷnwn yn y ffydd,
Nac awn mwy dan iau caethiwed
Gan i ras ein gwneyd yn rhydd.

937. Arwyddocad bedydd.—M. 5.

Mae bedydd Crist yn ordinhad
Ag sy'n arwyddo'r dŵr a'r gwaed,
A drefnodd Duw i olchi dyn
Oddiwrth ei holl halogrwydd blin.

O oes i oes bu'r saint a'u hâd
Yn ddeiliaid y cyfammod rhad;
Babanod ieuainc llesg eu llef
Sy'n ddeiliaid 'nawr o deyrnas nef.

938. Bedydd.—M. 5.

Mae bedydd i ni'n awr yn sêl
Fod Crist yn achub pawb a ddêl;
Am hyny llon gyhoeddwn hyn,
Am aberth mawr Calfaria fryn.

Nid rhaid enwaedu baban mwy,
Daeth dŵr a gwaed o'i farwol glwy';
Mae'r ffordd yn rhydd i deyrnas nef
Drwy haeddiant glân ei angeu ef.

939. Cuddio beiau.—M. 6.

Mae beiau duon dyn,
A'i holl drueni ef,
Fel bryniau cribog mawr,
A'u penau cuwch â'r nef;
Ond dyfnder môr trugaredd Duw
A guddia'r bai er cymmaint yw.

O iechydwriaeth râd,
Holl olud mawr y byd,
'Does mesur ar ei lled,
Na therfyn ar ei hyd;
Mae'n uwch yn mhell nâ'r nef ei hun
A dyfnach nâ thrueni dyn.

940. Udgorn Jubili.—M. 3.

Mae blwyddyn gymmeradwy'r Ion
Yn dirion wedi dod;
Sain udgorn hedd sydd drwy bob gwlad,
Mae llawn ryddhâd yn bod.

Cyhoedder bellach drwy bob gwlad
Fod hedd yn rhad yn Nghrist,
A chysur byth i Sion wan
A nerth i'r truan trist.

Daeth dydd i'r holl ynysoedd pell
I glywed am y gwaed;
A chlywir cân o'r tir a'r môr
Am iechydwaiaeth râd.

941. Breichiau trugaredd.—M. 20.

Mae breichiau trugaredd.
O ryfedd rad ras,
Ar led am ein derbyn
Rai cyndyn a chas;
I wledda 'mhreswylfod
Iôr hynod ei hun,
Ar gariad tragwyddol
Y nefol Dri'n Un.

O am gael adnabod
Yr hynod Iôr hael,
Drwy hyn y mae bywyd
A gwynfyd i'w gael;
A chael ein haddasu,
A hyny'n ein hoes,
I hedd, drwy rinweddol
Iawn grasol y groes.

942. Arwydd Mab y dyn.—M. 5.

Mae Brenin nef ar fyr i ddod,
Mewn rhwysg o'r fath na fu erioed;
Mae angau, uffern fawr, a'r bedd.
Yn ofni edrych yn ei wedd.

Gorfoledd pur i'r saint bob un,
Fydd gweled arwydd Mab y dyn;
Fel bore wawr o'r dwyrain draw,
Yn dangos fod yr haul gerllaw.

Llon etifeddion nefol hedd,
Ni welant ddigter yn ei wedd,

Esgynant oll yn lluoedd llon,
I wledda'n siriol ger ei fron.

943. Gwlad well.—M. 19.

MAE brodyr im'
A thadau aeth o'm blaen,
Fu yn y byd
Yn nghanol dŵr a thân,
Oll heddyw'n iach,
Heb ofni plâ na phoen
Yn Salem fry,
Yn moli'r addfwyn Oen.

Gwlad hyfryd iawn,
Gwlad helaeth odiaeth yw
Y wlad lle maent
'Nawr gyda'r Ner yn byw;
Pa bryd daw'r dydd
Caf finnau esgyn fry,
A'm gwisg yn wen,
I fysg y santaidd lu!

944. Gwrolder y credadyn.—M. 15.

MAE brodyr i mi aeth yn mlaen,
Trwy ddyfnach dŵr a phoethach tân,
Ac etto gorchfygasant hwy:
Er nad wyf fi ond llesg a gwan,
Mae Iesu'n un a'm deil i'r làn,
Paham yr ofna'm henaid mwy.

Yn ymchwydd yr Iorddonen gref,
Deil f'enaid afael ynddo ef,
Er bod y tònau'n fawr eu grym,
Af trwyddynt er nad wyf ond gwan,
Os cynnal ef fy mhen i'r làn,
Ni bydd y tònau mawrion ddim.

945. Undeb y gwaredigion.—M. 3.

MAE brodyr i mi aeth yn mlaen,
Yn holliach a chytun;
Deng mil o filoedd yw eu cân
Er hyn nid yw ond un.

Mae pawb o'r brodyr yno'n un
Heb neb yn tynu'n groes;
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angeu loes.

Ni theimlir yno unrhyw boen
Na chwyno gan un clwy',
Ond pawb mewn hwyl yn moli'r Oen
I dragwyddoldeb mwy.

Daw'r holl dduwiolion yno 'nghyd,
Yn dyrfa hardd heb ri',
A'u holl gadwynau'n ddarnau mân,
A'u cân am Galfari.

946. Bwrdd llawn.—M. 36.

MAE bwrdd yn llawn danteithion,
Awn yn mlaen, awn yn mlaen,
Gan santaidd Frenin Sion,—Awn, &c.
Cawn wledda oll yn ddiddig,
Fry ar y llo pasgedig,
Ac yfed gwin puredig,—Awn, &c.
Gwir haeddiant Iesu'n unig,—Awn, &c.

Yn wyneb gorthrymderau,—Awn, &c.
A thywyll ragluniaethau,—Awn, &c.
Os yw y tònau'n ddyfnion,
A dyfroedd Mara'n chwerwon,
Er gwaethaf y gelynion,—Awn, &c.
Gorphwysfa gawn yn Sion,—Awn, &c.

947. Elw duwioldeb.—M. 5.

MAE bywyd ffydd, a'i thrysor gwiw
Yn nghadw gyda Christ yn Nuw;
Nid oes gan angau golyn mwy
All roddi i dduwioldeb glwy'.

Ni ddichon cysgod angeu caeth
Byth wneyd duwioldeb ddim yn waeth,
Mawr fydd ei helw yn y glŷn,
Mil gwell nâ'r byd bydd hon bryd hyn.

948. Milwyr Sion.—M. 56.

MAE cadben iechydwriaeth gras
O flaen ei filwyr ar y maes,
A'r gwylwyr ar y muriau 'nawr,
Syrth Babylon o'r bron i lawr;
Ni saif un gelyn mwy,
O flaen eu Brenin hwy,
Daw, daw y seithfed tro,
Bydd Iesu'n ben mewn bryn a bro.

949. Diwedd cynhauaf.—M. 13.

MAE cariad rhad Duw'r hedd
Yn rhyfedd ar ein rhan,
Ac O, na feddem iddo fawl
O ryw ragorawl gân;
Mae'r ddaear yn ei hiaith
A'i chynnyrch helaeth hi,
Fel wedi rhoi testynau fyrdd
O newydd 'nawr i ni.

Rhoes i ni'r flwyddyn hon,
Er llwydd fendithion llawn;
I ffrwytho'r meusydd yn ddilys
Rhoed hîn gysurus iawn;
A threfnodd nefol wledd,
A hedd i ddynolryw;
Fe roes ei *hun*, O'r Iesu hael!
Fel byddai i ni gael byw.

950. Llwydd efengyl.—M. 9.

MAE clych yr Arch-offeiriad
Yn siarad yn eu sain,
Y denfyn Duw efengyl,
Llef anwyl, ddystaw, fain,
I ddweyd am waed digonol,
Derbyniol yn ei barch,
Gwir sylwedd y taenelliad
Ar gauad aur yr arch.

Aed son am Grist ar gyhoedd,
Dros dir a moroedd maith,

A bydded mawr sirioldeb
Ei wyneb ar ei waith;
I'n cynnorthwyo cyfod,
Ior hynod! pleidia'r gwan;
Son am dy waith yn arbed,
Fo'n myned drwy bob man.

951. Newydd am y gwaed.—M. 3.

Mae clywed newydd am y gwaed,
Fu'n llifo ar Galfari;
Yn un o'r breintiau mwyaf gaed
Ar hyd ein daear ni.

Hiraethu 'ry'm am weled gwawr
Boreu-ddydd Jubili;
Pan ddelo holl derfynau'r llawr
I garu'n Harglwydd ni.

Fe gân y Negro tywyll du
Yn hyfryd maes o law;
Pan dywyno gwawr efengyl gras
Ar dir yr India draw.

Ac, O! na ddeuai'r ddaear faith
I gredu yn y gwaed!
O doed ar frys bob llwyth ac iaith
I blygu wrth ei draed.

952. Cofio poenau Crist.—M. 6.

Mae cofio poenau mawr
A rhinwedd angeu Crist,
Yn rym tra ar y llawr
I'r pererinion trist:
Ni awn yn mlaen o loes i loes,
Wrth gofio'r Gwr fu ar y groes.

953. Alpha ac Omega.—M. 33.

Mae cofio yma am y gwaed,
Yn felus wledd ddidrai;
Ac yn dwyn heddwch dwyfol pur,
I'r holl grediniol rai;
Clod i'r Brenin fo'n ddiderfyn
Ddaeth o Jesse, hardd Flaguryn,
Alpha, Omega, Dwyfol wreiddyn,
Ffynnon bywyd, ffynnon bywyd,
I rai'n teithio 'n ngwres y dydd.

954. Pwys crefydd.—M. 29.

Mae crefydd o anrhaethol bwys
Ac yn teilyngu pryder dwys;
Cyn cael ein gosod dan y gwys
Taer geisiwn hon o hyd;
Y penaf o bob trysor yw
Cael crefydd bur o blaniad Duw;
Trwy feddu hon cawn fyn'd i fyw
Ar fyr i'r Ganaan glyd.

Mae ganddi fwyn addewid fawr,
O'r bywyd sydd yn bod yn awr,
Ac o'r hwn fydd fry uwch y llawr;
I bob peth buddiol yw;
Tragwyddol goron iddi sydd,
Yn ngwlad y mawl a'r bythol ddydd,
Lle mae trysorau teulu'r ffydd
Yn hoff gymdeithas Duw.

955. Efengyl wrth fy modd.—M. 36.

Mae Crist a'i athrawiaethau
Wrth fy modd, wrth fy modd,
Efengyl a'i rheolau,—Wrth, &c.
Y groes a'i llwybrau garwaf,
Trwy gymhorth gras mi dystiaf,
Na ch'es i well peth yma,—Wrth, &c.
Dan gario'r groes mi ganaf,—Wrth, &c.

956. Crist yr un o hyd.—M. 5.

Mae Crist y Ceidwad byth yn fyw
Yr un o hyd ei gariad yw;
Yn nghanol pob rhyw ing a gwae
Gall cofio hyn ein hesmwythâu.

Ei law ef seiliodd ddaear lawr,
Ei law ef wnaeth y nefoedd fawr;
Heneiddia'r byd, diflana'r nef,
Ant heibio wrth ei archiad ef.

Serenog leni'r wybren fry,
A droi'r fel hen-wisg o'r naill du,
Ond saif ei orsedd e'n ddilyth
A'i eglwys bur a erys byth.

957. Crist yn oll i'r saint.—M. 5.

Mae Crist yn bobpeth i'r holl saint:
Pa le mae neb mor fawr eu braint?
Crist yw eu rhan, Crist yw eu brawd,
Nid all y rhai'n fod byth yn dlawd.

Crist drwy ei waed a'u gwnaeth yn rhydd,
Crist yw yr haul sy'n gwneyd eu dydd,
Crist drwy ei air a'u gwnaeth yn fyw,
Crist yw eu drws a'u ffordd at Dduw.

Crist yw y graig a'u deil i'r lan,
Er nad ynt hwy ond llesg a gwan,
I'r nef hwy ânt er llid y ddraig,
Gan fod eu pwys ar Had y wraig.

958. YR AIL RAN.

Crist yw y Gair a wnaed yn gnawd,
Crist er eu mwyn a ddaeth yn dlawd,
Nid oes fath wledd â'i gnawd a'i waed,
I'r tlawd mae'r wledd i gyd yn rhad.

Crist er eu mwyn aeth lawr i'r bedd,
Trwy Grist a'i waed maent yn cael hedd,
Crist ar eu rhan sy'n byw'n y nef,
Ar fyr cânt fod oll gydag ef.

959. Cwmwl tystion.—M. 9.

Mae cwmwl mawr o dystion
Yn iach yr ochr draw,
I'w Harglwydd fuont ffyddlon
Yn myd y poen a'r braw;
Yn ôl eu traed dilynwn
Trwy yrfa'r anial maith,
Ar air ein Duw hyderwn,
Nes d'od i ben y daith.

960. Llusern yw'r Gair.—M. 4.

Mae cyfraith Ion yn berffaith lân,
Un heb wahan yw hòno;

Er rhoddi'r gair mewn llawer oes,
Dim gwyrni nid oes ynddo.
Mae'n llusern i oleuo'r gwan
Yn gysson, gan ei dywys
Trwy orthrymderau'r anial dir
Yn gywir i baradwys.
Myrdd mwy dymunol yw nag aur
Llesâd y gair i'r gweiniaid;
Mae'n drysor mwy a chanmil gwell
Nâ'r India bell i'r enaid.

961. Cymdeithas angeu Crist.—M. 10.

Mae cymdeithas dyoddefiadau,
Cyfyngderau angeu Crist,
Yn rhoi cymhorth rhag diffygio,
Lawer tro i'm henaid trist:
Pa'm y cwynaf dan fy nghroesau?
Fe fu Ef yn dyoddef mwy;
Gŵyr pa fodd i gydymdeimlo,
Ac i lwyr iachau fy nghlwy'.

962. Tawelu euogrwydd.—M. 5.

Mae deddf y nef yn berffaith lân,
A Duw ei hun yn ysol dân,
A minnau'n euog ger ei fron
Heb nodded ar y ddaear hon.
Ond yn y tywydd garw hyn,
Mae golwg ar Galfaria fryn,
A'r Aberth yno un prydnawn,
Yn dwyn tawelwch hyfryd iawn.
Mae yn y gwaed rinweddau gwiw
I olchi'm henaid du ei liw;
A phan y dof yn berffaith lân,
Yr Iesu gaiff dros byth fy nghân.

963. Swper yr Arglwydd.—M. 1.

Mae Duw'n arlwyo bwrdd
Yn yr anialwch blin,
I'w blant y mae, lle b'ont yn cwrdd,
Daw yntau yno'i hun.
Y llo pasgedig rhad,
Gwledd y newynog rai,
Y manna ddaeth o dŷ ein Tad,
Yw'r Iesu yn ddilai.
Gyfeillion, O bwytewch,
Mae i chwi ffordd sydd faith,
Can's gwledd o gariad yma gewch,
I'ch llòni ar eich taith.

964. Cymmod drwy'r gwaed.—M. 16.

Mae Duw'n cymmodi'r gelyn cas,
Mae'n dwyn y caeth yn rhydd drwy ras,
Fe'i molir byth am hyn:
Mae'n dwyn y pell yn agos iawn,
Drwy rinwedd yr annhraethol ddawn,
Gaed ar Galfaria fryn.
Mae'n puro'r enaid gwael ei ryw,
Mae'n golchi'n lân y dua'i liw,
Drwy rinwedd maith y gwaed:
Am hyn, dyrchefir yn ddilyth,
Gan fyrdd, ogoniant iddo byth,
Am waredigaeth rad.

965. Cân teulu Sion.—M. 29.

Mae Duw y lluoedd gyda ni,
Medd teulu Sion, santaidd fri;
Ein golwg fo ar Galfari,
Ac felly doi'r yn rhydd:
Ein hamddiffynfa gadarn byth
Yw'n Harglwydd Ior, a'n tawel nyth;
Ac am ei gariad yn ddilyth
Diddiwedd fawl a fydd.

966. Digonedd yn Nuw.—M. 43.

Mae Duw yn awr â thyner lef
Yn galw pawb dd'od ato ef;
Mae'n wisg i'r noeth, mae'n nerth i'r gwan
Mae'n Dad i'r unig yn mhob man;
Mae'n fara i'r newynog rai,
Mae'n feddyg rhad i lwyr iachau,
Mae'n dysgu'r ffol i ffoi mewn pryd
Am drysor gwell nâ phethau'r byd.
Ni raid im' ddigaloni dim
Wrth wel'd ystormydd yn eu grym,
Ond cadw'm golwg drwy bob tòn,
Ar Iesu fy Eiriolwr llòn:
Rho'f arno'm pwys tra yn y byd,
Mae'n abl dwyn fy maich i gyd,
Trwy rwystrau fyrdd âf yn y blaen,
Mae'n ddigon yn y dw'r a'r tân.

967. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 9.

Mae Duw yn rhoi bendithion,
Cysuron aml iawn,
Gan lenwi ein 'sguboriau
A thrugareddau llawn;
Mae'n dysgwyl genym ninnau
Galonau llawn o dân,
I seinio ei ogoniant
Mewn moliant diwahan.
Pe buasai ef yn attal
Ei drugareddau gwiw,
Fe fuasai taer weddio
Cyn hyn gan ddynol-ryw:
Na foed i ni gan hyny
Anghofio talu parch
I'r hwn mae'r holl gre'digaeth
Yn ufydd wrth ei arch.

968. Bywyd byr brau.—M. 14.

Mae dydd fy mywyd brau
Yn raddol yn hwyrhau,
Mae angeu'n agosâu o hyd;
'Rwy'n brysio o awr i awr,
Tua'r tragwyddoldeb mawr,
Ar fyr mi af i'r bythol fyd.
Fe dderfydd galar rhai,
Daw'r dydd i lawenhau,
Pan ddelo'r seintiau oll i'r ne';

Hwy roddant yn ddiboen
Ogoniant byth i'r Oen
A aeth i'r lladdfa yn eu lle.

969. Presennoldeb Iesu.—M. 7.

Mae dy wedd yn drech nâ byddin
O elynion mawr eu grym;
Nid oes yn y nef na'r ddaear
Saif o flaen dy wyneb ddim:
Gair o'th enau, &c.,
Wna y dywell nos yn ddydd.

Y mae gwedd dy wyneb grasol
Yn rhagori llawer iawn,
Ar bob peth a welodd llygad
O drysorau daear lawn:
O mor hawddgar, &c.
Ti yw tegwch nef y nef.

970. Ymostyngiad am fai.—M. 10.

Mae elfenau'r greadigaeth
Oll o dan reolaeth Duw;
Gwynt a gwlaw sy iddo'n weision
At anghenion dynol-ryw:
Ymostyngwn am ein beiau,
Cyn i ddialeddau dd'od;
Crist yw unig sail ein gobaith
Am fendithion is y rhod.

971. "Dinas wych."—M. 4.

Mae eglwys Dduw fel dinas wych,
Yn deg i edrych arni;
Ei sail sydd berl godidog iawn,
A'i mur o ddawnus feini.

Rhodiwn o gylch Caersalem bur,
Gan draethu'i heglur degwch;
Ystyriwn ei rhagfuriau drud,
Hardd, nerthol, a'i phrydferthwch.

Awn drwy'r heolydd aur ar frys
I'r hynod lys breninol,
Lle gwelir mewn gogoniant mawr
Yr Iesu gwerthfawr grasol.

972. YR AIL RAN.

Llawenydd yr holl ddaear hon
Yw mynydd Sion santaidd;
Preswylfa anwyl Brenin nef
Yw Salem efengylaidd.

Ni glywsom ogoneddus air
I'r ddinas ddysglaer lonydd;
A phethau mawrion yn ddïos
Wnaeth Duw dros Sion ddedwydd.

Gwynfyd ei dinasyddion sydd
Yn rhodio'n rhydd ar hyd-ddi;
Y nefol fraint i minnau rho,
O Dduw, i drigo ynddi.

973. Eglwys Dduw'n un.—M. 19.

Mae eglwys Dduw,
Trwy'r ddae'r a'r nef yn un,
Y meirw a'r byw,
A'u cydsain yn gytun;
Teilwng yw'r Oen,
Medd seintiau sy'n y nef,
Teilwng yw'r Oen,
Yw'n llafar ninnau a'n llef.

Cyfammod rhad,
Cyfammod cadarn Duw,
Ni syfl o'i le,
Nid ïe a nage yw;
Cyfammod gwir
Ni chyfnewidir chwaith,
Er maint eu pla,
Daw tyrfa i ben eu taith.

974. Gorphwysdra enaid.—M. 5.

Mae enaid chwanog iawn gan ddyn,
Yn dân o anesmwythder blin;
Ei nwydau 'hedeg wnant heb ball,
O un oferedd gwag i'r llall.

Nid oes i'w gael o fewn y byd
Ddim gwir ddaioni leinw'i fryd;
Am bleser newydd ymgais mae,
Er hyn ei syched sy'n trymhau.

Fel pan bo'r claf mewn twymyn gre',
Am droi o hyd i newid lle;
Ond tlawd ei gysur a dihoen,
Er newid lle mae'n cadw'r poen.

Duw mawr! gorchfyga'n syched cas,
A'n serch at wagedd trwy dy ras;
Iachâ holl heintiau'n henaid byw,
A gwledda ni â chariad Duw.

975. Enw Iesu.—M. 20.

Mae enw f'anwylyd
Mor uchel, mor fawr,
Nes seinio yn beraidd
Drwy'r nefoedd a'r llawr,
Ni dderfydd ei gariad,
Ni dderfydd ei glod,
Bydd myrdd yn ei ganmol
Tra'r nefoedd yn bod.

Fe safodd yn wrol,
Fe 'nillodd y dydd,
Fe gonc'rodd y gelyn,
Daw'r caethion yn rhydd:
Efe gaiff y goron,
Efe gaiff y clod,
Bydd myrdd yn ei ganmol
Tra'r nefoedd yn bod.

976. Stor y Gwaredwr.—M. 3.

Mae enw Iesu byth yn stor
Sy'n llawn o drysor drud,
Ac ni thalasai gras oedd lai
I dynu beiau'r byd.

Gwaredwr yn y preseb tlawd,
A than y gwawd i gyd;

Gwaredwr ar y groes oedd ef,
Wrth oddef dwyfol lid.

Er llwyr waredu torf ddirif,
Ar Galfari fe rodd
Anfeidrol iawn, nes gwneuthur byth
Gyfiawnder wrth ei fodd.

977. Enw Iesu.—M. 4.

Mae enw'r Oen i bawb o'r saint
Fel enaint tywalltedig;
Mae yn adfywiol iawn ei rin
I'r enaid blin lluddedig.

Pan fyddo f'enaid yn y llwch,
Dan d'w'llwch fel y fagddu,
Mae dawn a nerth i'm dwyn yn ol,
Yn enw grasol Iesu.

Gobeithiwch ynddo bawb o'i saint,
Er cymmaint yw eich gofid,
Gan wybod fod eich Priod gwiw
Yn ffyddlawn i'w addewid.

978. Anghrediniaeth.—M. 13.

Mae f'anghrediniaeth cas
Yn amheu gras fy Nuw,
Mae bron fy llethu! Beth a wnaf?
Mae'n dweyd na byddaf byw,
A bod fy meiau mawr
I gyd i lawr ar gael,
Ac na fwriadodd Duw ei hun
Fyth godi'r fath un gwael.

Euogrwydd mawr ei rym,
A'i gleddyf llym sy'n lladd,
Heb ddim i esmwythâu fy mron,
Drwy'r ddaear gron un gradd:
O na chawn godi'm pen
Goruwch y llen o'r llawr,
Nes gwel'd y ffynnon sy'n glanhau
Yn nghlwyfau'r Meichiau mawr.

979. Pechodau fel porphor.—M. 8.

Mae fy meiau fel y porphor,
Ac fel scarled coch ei liw;
Ac nid oes a all fy ngolchi,
Dim ond gwaed yr Iesu gwiw:
Dyna'r fan gwnelir fi'n lân
Fel yr eira ac fel y gwlan.

Uchel ganu yn oes oesoedd
Fydd gan luoedd nefol wlad,
Am eu caru, am eu prynu,
Am eu golchi yn y gwaed;
Gyda hwy, minnau mwy,
Ganaf byth am farwol glwy'.

980. Angeu'n agos.—M. 7.

Mae fy nyddiau yma'n darfod,
Tynu tua'r beddrod 'rwy';
Buan rhodiai'r llwybr hwnw
Na ddychwelai hyd-ddo mwy:
Tuag adre'
'Rwyf bob awr yn agosâu.

'Rwyf bron gadael byd gweledig,
'Rwyf bron myn'd i'r ochr draw,
Angeu, Brenin dychryniadau,
Sydd â'i farwol saeth gerllaw:
Tragwyddoldeb
Fydd fy nghartref cyn bo hir.

981. Cymdeithas Iesu.—M. 10.

Mae fy nghalon am ehedeg
Unwaith etto uwch y lli';
I gael profi'r hen gymdeithas
Gynt fu rhyngwyf â thydi:
Hir gyrwydrais anial garw,
Heb un gradd o oleu'r dydd;
Un wreichionen o dy gariad
Wna fy rhwymau oll yn rhydd.

Os gwaredi fi o'm cyfyngder,
Ac os sefi ar fy rhan,
Os gostegi rym y tònau,
Os cynneli fi i'r lan;—
Ti gei'm tafod, ti gei'm calon,
Ti gei feddaf yn y byd,
Ti gei'r clod, a thi gei'r moliant,
Ti gei'r enw i ti gyd.

982. Afon gras.—M. 29.

Mae ffrydiau afon gras a'u rhin
O flas sydd lawer gwell nâ'r gwin,
Er adnewyddu'r enaid blin,
A'i gynnal dan ei groes;
Mae'n dwyn tangnefedd fel y lli',
Trwy haeddiant Aberth Calfari,
I ran yr enaid gwan ei gri,
I'w lòni dan bob loes.

983. O anadl, tyred.—M. 25.

Mae galaru uwch y glyn
Esgyrn sychion;
Hiraeth am fywhau'r rhai hyn
Sydd yn Sion;
Deued anadliadau'r nef
Ar y dyffryn;
Nerthoedd pur ei Ysbryd ef
Fo'n eu canlyn.

Egyr udgyrn Calfari
Ddrysau'r carchar;
Brysied gwawr y Jubili
Dros y ddaear;
Rheded yr efengyl rad
Dan ei llwyddiant,
Nes bo Sion yn mhob gwlad
Yn ben moliant.

984. Galwad i'r wledd.—M. 59.

Mae galwad yn awr,
Gwahoddiad o hedd,
Ar waelion y llawr—
O deuwch i'r wledd;
Gwledd Aberth Calfaria;
Mae'n dda i ni dd'od,

Cawn bob rhyw oludoedd
Tra bydoedd yn bod.

Cawn yma bob nerth,
Cawn yma bob dawn,
Heb arian na gwerth,
Yn rhad ac yn llawn;
Tragwyddol ddarpariaeth
Hen arfaeth y nef,
I'r enaid anghenus,
Wylofus ei lef.

### 985. Corff yr adgyfodiad.—M. 46.

MAE gogoneddus gorff i'w gael
Drwy'r adgyfodiad mawr,
Na theimla lesgedd gwendid gwael,
Hardd fydd mewn nefol wawr:
Mae hyn yn cynnal f'ysbryd gwan
Dan holl flinderau f'oes,
O, f'Arglwydd, dod i'm henaid ran
Yn nghymmod gwaed y groes.

### 986. Llusern y gair.—M. 5.

MAE gair fy Nuw fel llusern gref
I arwain f'enaid tua'r nef;
Yn ngoleu hwn, ben gronyn bach,
Cyrhaedda'i 'nghartre'n gwbl iach.

'Nol cyrhaedd drwy'r anialwch maith
Yn ddiogel draw i ben y daith;
Mewn nefol gân am oleu'r gair,
Cawn foli'r Oen â'r delyn aur.

### 987. Grym gafael gweddi.—M. 20.

MAE gweddi'n ymaflyd
Yn ngair ac yn nerth,
Yr Ydwyf tragwyddol,
Preswylydd y Berth;
Ni wel ar y ddaear,
Na chwaith uwch y rhôd,
Ond Duw yn yr Aberth,
Ddim digon yn bod.

Ond yma mae gweddi
A'i thraed ar y graig,
Yn chwalu cadernid
Holl gestyll y ddraig;
Mae yma'n gorchfygu,
Ni chymmer nacâd,
Ni ollwng ei gafael
Nes cael y mwynhâd.

### 988. Llwydd geiriau gras.—M. 56.

MAE gwirioneddau gwerthfawr gras,
Yn llwyddo yn yr India fras,
Maent yno'n awr yn taflu i'r tân
Y duwiau mud, a'r delwau mân;
Lle bynag caffo'r arch,
Ei derbyn gyda pharch,
Daw, daw fel dafnau gwlith,
Fendithion mawrion rhad i'w plith.

### 989. YR AIL RAN.

AT waed y groes, mae'r Negroes du
Yn troi eu llygaid 'nawr yn llu;
Wynebu briwiau'r Oen a'i glwy',
Am iechydwriaeth y maent hwy,
Ar frys er profi blas
Dwr gloyw afon gras;
Per, per y seinia rhai'n
Byth fry am ffrwyth y goron ddrain.

### 990. Gwlad heb elyn.—M. 17.

MAE gwlad,
I'r hon 'rwy'n dysgwyl cael rhyddhad,
O law gelynion mawr eu brad,
Trwy rinwedd gwaed yr Iesu gwiw;
'Does gelyn byth a ddaw i lan
Yr hyfryd fan ar fyr caf fyw.

O doed,
Yr hyfryd fore gorau erioed,
I'r sawl sy'n dilyn ôl ei droed,
Pob ofnau ffoed, darfydded braw;
Rho'th gariad im', addfwynaf Oen,
Mi garaf son am ddydd a ddaw.

### 991. Etifeddiaeth y saint.—M. 3.

MAE gwlad o etifeddiaeth deg
Yn aros pawb o'r saint,
Ni ddichon dyn nac angel byth
Amgyffred gwerth eu braint.

Cyd-etifeddu gaiff y plant
A Christ etifedd nen,
Cânt balmwydd gwyrddion yn eu llaw
A choron ar eu pen.

O fewn y baradwysaidd fro,
O gyrhaedd angeu glas,
Tragwyddol bwys gogoniant fydd
Ar etifedddion gras.

### 992. Angeu fel mor cul.—M. 5.

MAE gwlad o wynfyd pur heb haint,
Byth yno y teyrnasa'r saint;
Lle nid oes tywyll nos ond dydd
A phleser heb ddim blinder sydd.

Yr ochr draw i angeu a'r bedd
Mae meusydd gwyrddion hardd eu gwedd
Mae yno yn dragwyddol haf,
Ni wywa byth eu blodau braf.

Ond angeu fel mor cul y sy'
Rhyngom a'r wlad nefolaidd fry;
I Israel felly Canaan fu
I'w gwel'd tudraw'r Iorddonen ddu.

### 993. Gwybod yr ysgrythyr lân.—M. 5.

MAE gwybod yr ysgrythyr lân
Yn dwyn pentewyn du o'r tân;
Eu gwybod yn eu nerth a'u rhin
Sydd ganmil gwell nag ŷd a gwin.

Eu gwybod yn eu gras a'u hedd
Sydd gyfoeth mwy nag oll a fedd
Y byd a'i degwch hardd, yn un,
A holl ddymuniad calon dyn.

Eu gwybod hwy a'u nefol ddawn,
A gwneyd eu dysg yn fore iawn,
A ddwg yr enaid ddydd a nos
I droi at Dduw dan bob rhyw groes.

994. Hedd y credadyn.—M. 47.

MAE gwynfyd didrai
Yn perthyn i'r rhai
Mae seiliau eu cysur yn Nuw;
Mewn cariad a hedd,
Bydd dysglaer eu gwedd,
Gan rym eu gorfoledd, gwir yw.

995. Llais y Dwyfol waed.—M. 6.

MAE haeddiant dwyfol waed,
Yn drymach yn y nef,
Nâ'r pechod mwyaf gaed.
A'i holl euogrwydd ef;
Gwrandewir llais y dwyfol glwy',
O flaen eu damniol floeddiad hwy.

Gelynion creulawn lu,
A gawsant farwol glwy',
Ar fynydd Calfari,
Paham yr ofnaf mwy?
Mae llais y gwaed yn uwch ei gri,
Nâ'm beiau oll, er maint eu rhi'.

996. Nac oeda, bechadur.—M. 30.

MAE iechydwriaeth rad
I gleifion yn mhob gwlad
Yn Nghrist a'i glwy';
Bechadur gwael ei wedd,
Sydd bron ar fin y bedd,
Ymofyn am ei hedd,
Nac oeda'n hwy.

Agorwyd ffordd i'r nef
Drwy rin ei haeddiant ef
I ddynol-ryw;
Daw tyrfa cyn bo hir,
Yn hardd eu gwedd yn wir,
I fynu o'r anial dir
Ar ddelw Duw.

997. Eiriolaeth effeithiol.—M. 33.

MAE Iesu ar ei orsedd fawr
Yn awr goruwch y nef;
Mae'n byw i eiriol ar ein rhan,
A gwrendy'r gwan ei lef:
Lluoedd uffern sydd yn crynu
Oll, gan arswyd enw'r Iesu,
Hyd yr eithaf mae'n gwaredu;
Halaluia, Halaluia,
Byth am iechydwriaeth râd.

998. Trysor angeu Crist.—M. 3.

MAE Iesu Grist yn drysor mwy
Nâ holl drysorau'r byd;
Daeth hedd a bywyd i ni trwy
Ei angeu gwerthfawr drud.

Mae'r iechydwriaeth râd mor fawr,
Mae'n achub a glanhau
Troseddwyr duaf daear lawr;
Gwnawn ynddi lawenhau.

999. Cofio am Grist.—M. 5.

MAE Iesu gwedi myn'd i'r nef
Lle ni all cnawd ei weled ef;
A'n denu mae gwrthddrychau'r byd
I'w daflu ef o'n cof o hyd.

Ond hysbys o'n calonau yw,
Mor barod y'nt i anghofio Duw;
Er adnewyddu'n cof yn llon,
Darparodd ef y wledd hael hon.

Pob melys chwant o'n calon ffoed,
A'r byd yn llai i'n cyfrif boed;
A Christ a'i gariad lanwo'u lle
A'n ffydd orphwyso arno fe.

1000. Gwrando gweddi.—M. 4.

MAE Iesu'n awr ar orsedd nef;
Mae ynddo ef dosturi;
Clyw riddfan y carcharor blin,
A gwel ei weddi'n codi.

Rhyddhau plant angeu wna yn fwyn,
A gwrendy gŵyn ei seintiau:
Ni chaiff neb ddweyd mai "ofer yw
Gweddio Duw yn ddiau."

Pan drengom ni, bydd hyn o beth
Mewn coffadwriaeth etto;
Fel dysgo hyn yr oes sy'n ol
Roi bythol glodydd iddo.

1001. Bendith Abraham.—M. 5.

MAE Iesu'n cadarnhau'r hen ffydd
A roed i Abram yn ei ddydd;
Plant bach i'w gol a gymmerth ef,
I'w galw'n etifeddion nef.

Mor ffyddlawn ydyw ffyrdd ein Duw,
Ei gariad digyfnewid yw;
A'i addewidion mwynion mwy
O oes i oes y parant hwy.

1002. Meddyg da medrus.—M. 37.

MAE Iesu Grist yn Feddyg da,
Ar lais y cla' mae'n gwrando;
Nid oes afiechyd o un rhyw
Na ŵyr Mab Duw am dano;
Ni roes i fynu'r un erioed—
Er fod pob oed yn dyfod
I gael iachad o'u clwyfau mawr,
Mae ef bob awr yn barod.

Pa fodd yr ymdawelwn mwy
Dan hen wahanglwy' pechod?
Gan fyn'd o'r Meddyg i'r fath draul
Fel gallem gael gollyngdod;

Ar bob meddygon yn mhob lle,
  Mae E' yn mawr ragori;
Mae'n rhad ac ewyllysgar iawn,
  Mae'n llawn o bob tosturi.

1003. Cymundeb â Christ.—M. 4.

Mae Iesu'n gwawdd ei saint i gwrdd
  O gylch ei fwrdd mewn undeb:
Caiff pob cymunwr teilwng gwiw,
  Ddal yma â'i Dduw gymundeb.

Ei gnawd mae'n roi yn fwyd i ni,
  A'i waed rydd i ni yfed;
O anghydmarol ras ein Ior!—
  Ymostwng mor iseled!

Y Bara santaidd hwn a'r Gwin
  Sy'n meithrin ein heneidiau;
Trwy undeb ffydd â'n Harglwydd cu
  Daw maeth i ni o'i angau.

1004. Pen yr eglwys.—M. 26.

Mae Iesu'n maddeu'r bai,
  Mae'n golchi'r Ethiop du,
Ni thal'sai archoffeiriad llai
  I eiriol fry;
Anfeidrol iawn a rodd,
  Wrth farw ar y bryn,
Fe wnaeth gyfiawnder wrth ei fodd,
  Rhyfeddir hyn.

Fe'i temtiwyd fel nyni,
  Fe wrendy ar ein cŵyn,
Croeshoeliwyd ef ar Galfari,
  Do, er ein mwyn:
Mae'n awr tu draw i'r llen
  Yn Llywydd nef y nef,
Ni fedd yr eglwys neb yn Ben,
  Neb byth ond Ef.

1005. Llais y durtur.—M. 34.

Mae llais y durtur fwyn,
Ei chân yn nghyd â'i chwyn,
  Yn seinio'n bêr,
Nes ennill llawer llwyn:
Y gauaf oeraidd heibio'r aeth,
Ac ar y ddaear blodau ddaeth,
  Mae'r adar yn cydbyncio
Eu mawl heb gwyno'n gaeth.

1006. Moroedd gras.—M. 12.

Mae llais y gwirionedd o hyd,
  Yn gwaeddi fod pobpeth yn rhad,
Gan ddweyd wrth drigolion y byd
  Mai Cariad diderfyn yw'r Tad;
Yn llifo fel moroedd i maes,
  Drwy Grist yr Immanuel mawr,
Mewn harddwch, gogoniant, a gras,
  O'r dwyrain hyd fachlud y wawr.

1007. Gras maddeuol.—M. 4.

Mae llawn faddeuant gyda Duw,
  Am ddrwg o bob rhyw raddau;
I'n tynu atat ti, O Dad,
  Dy Fab, drwy waed, a'n prynai.

Fel gwyliwr, pan yn effro'r nos,
  Wrth aros am y boreu,
Gan edrych a hiraethu'n fawr
  Am wel'd y wawr yn goleu;—

Am wel'd dy iechydwriaeth, Ion,
  'Rwy'n dysgwyl oni ddelo;
Cymhellwyd f'enaid gan dy air;
  Wrth d'orsedd cair fi'n gwylio.

1008. Trefn achub.—M. 10.

Mae llinellau trefn achub
  A'u canolbwynt yn y gwaed;
Yn ei hathrawiaethau melus
  Mae'r trysorau goreu gaed;
Dyma gariad haeddai'i ganmol,
  Dyma addas drefn i ni;
Mae'r angylion yn chwennychu
  Edrych i'w gogoniant hi.

Am gyfammod, cyn bod amser,
  I waredu dynol-ryw,
Y cydganodd ser y boreu,
  Gorfoleddodd meibion Duw;
Pan daw teulu'r gynau gwynion
  Oll o'r cystudd mawr yn lân,
Ni bydd diwedd byth ar chwareu
  Mwyn delynau gwlad y gân.

1009. Dilyn y pererinion.—M. 6.

Mae lluoedd maith yn mlaen,
  'Nawr o'u carcharau'n rhydd,
A gorfoleddu maent,
  Oll wedi cael y dydd:
I'r lan, i'r lan, diangasant hwy,
Yn ôl eu traed y sangwn mwy.

Cawn lanio mewn i fysg
  Y rhai y clywsom son,
Gànasant bawb ei wisg
  Yn nwyfol waed yr Oen;
A gwledda'n llon, heb ddiwedd mwy,
Yn bur yn eu cymdeithas hwy.

1010. Achub y cystuddiedig.—M. 11.

Mae llygaid yr Arglwydd yn raslawn
  Ar ffyrdd y rhai cyfiawn i gyd;
Ochenaid eu calon mae'n glywed,
  A medr eu gwared mewn pryd:
Mae'n agos i'r galon ddrylliedig,
  A'r ysbryd briwedig bob dydd;
Yn gysson â'i dirion addewid
  Fe'u dwg o'u holl adfyd yn rhydd.

1011. Dydd y waredigaeth.—M. 17.

Mae, mae,
Y dydd yn d'od i'r duwiol rai
I felus foli Duw'n ddidrai;
Yn mhlith y rhai sydd fry mewn hedd,
  I'r addfwyn Oen yn canu'n rhwydd,
Ac yn ei wydd, yn hardd eu gwedd.

Daw dydd,
Y cân y dinasyddion sydd,
Gan rym y dòn, â'u bron yn brudd:
Y boreu tawel sydd gerllaw,
  Ac yna bydd soniarus dôn
O fawl i'r Oen, heb boen na braw.

1012. Gorphwysfa fry.—M. 17.

Mae, mae,
Yr amser hyfryd yn nesâu,
Pan gaffo'm henaid ei ryddhau
O'm tŷ o glai, i fyn'd tua'm gwlad;
  Nid yma mae'm gorphwysfa i,
Mae hòno fry yn nhŷ fy Nhad.

Daw, daw,
Fy Iesu i'm harwain yn ei law,
O'r anial drwg i'r ardal draw,
I'r bywyd dystaw pur diboen:
  Caf ganu'n llafar gyda'r llu,
Gân Moses fry, a chân yr Oen.

1013. Ystyried ein diwedd.—M. 4.

Mae marw'n beth o ddirfawr bwys,
  Yn gofyn dwys ystyriaeth;
Duwioldeb fydd yn elw mawr
  Ar gyfyng awr marwolaeth.

Nid yw yr einioes hŵyaf sydd
  At grefydd ddim yn ormod;
Tra b'om yn teithio drwy'r byd hwn,
  Ymburwn, byddwn barod.

1014. Meddwl am y nef.—M. 5.

Mae meddwl am y nefol fro
I mi'n hyfrydwch lawer tro;
O am gael mynud o'r mwynhad
Sy'n oesoedd mewn tragwyddol wlad.

'Rwyf am gael profi dan fy mron
Dystiolaeth o fy hawl yn hon;
Cael profi'r gwynfyd pur dilyth,
Digonedd, heb ddigoni byth!

'Dyw oesoedd byd mo'r mynud awr
Wrth oesoedd tragwyddoldeb mawr:
O fewn y diderfynol dir
Bydd cartref f'enaid cyn bo hir.

1015. Offeiriad i eiriol.—M. 26.

Mae'm Harchoffeiriad mawr
  Yn gweini yn ei le;
Mae'n byw i eiriol droswy'n awr,
  Fry yn y ne';
Mae ar ddeheulawr'r Tad,
  Ar uchel orsedd wen;
Gwrandewir llef ei ddwyfol waed,
  Tu draw i'r llen.

Pan âf i ben y daith
  At dywyll làn y glyn,—
Y dydd a ofnais lawer gwaith
  Ei wel'd cyn hyn;
Fe gaiff fy enaid gwan
  Hardd olwg ar y Gwr,
  Yn sefyll yno ar ei glàn
    I hollti'r dw'r.

1016. Nefoedd berffaith.—M. 33.

Mae mil o filoedd yn y nef
  Yn cofio marwol glwy';
A chofio wnant am gariad Crist
  I dragwyddoldeb mwy;
Mae ynddo drysor fel y cefnfor,
Byth ni cheisiant ddim yn rhagor,
Hedd a bywyd yw ei ffafor,
Nefoedd berffaith, nefoedd berffaith,
Yw cael yfed dwyfol hedd.

1017. Twyll pechod.—M. 5.

Mae mil o ffyrdd gan bechod blin
I weithio ar feddyliau dyn;
A'i wen fe huda'n calon ffol,
Ond gedy golyn llym ar ol.

Ag enwau o rinwedd twyllo mae
Yr hen a'r ieuainc er eu gwae;
Tra b'om yn credu'r hyn mae'n ddweyd
Tynhau'r cadwynau mae e'n wneyd.

Dros ei ddigrifwch dadleu bydd,
A rhith o esgus teg a rydd:
Ein denu i foddio'r cnawd mae ef,
A'n twyllo felly i golli'r nef.

1018. Yr Iawn.—M. 36.

Mae modd i faddeu pechod
  Yn yr Iawn, yn yr Iawn,
Mae iechydwriaeth barod
  Yn yr Iawn;
Mae'r ddeddf o dan ei choron,
Cyfiawnder yn dweyd—"Digon,"
A'r Tad yn gwaeddi—"Boddlon"
  Yn yr Iawn;
A diolch byth, medd Sion,
  Am yr Iawn.

Yn awr, hen deulu'r gollfarn,
  Llawenhawn, llawenhawn;
Mae'n cymhorth ar un cadarn,
  Llawenhawn;
Mae galwad heddyw ato,
Mae bythol fywyd ynddo,
Ni chollir neb a gredo,
  Llawenhawn;
Gan lwyr ymroddi iddo,
  Llawenhawn.

1019. Bedydd plant.—M. 5.

Mae modd i olchi yn y gwaed,
A rhoi i faban gwan iachâd;
Am hyn dyrchefir melus gân
Gan dorf ddirif yn Salem lân.

Am hyn nesawn, mae Crist yn gwa'dd,
Awn at ei borth bob oed a gradd;
Awn â'n babanod gyda ni
I'r ffynnon gaed ar Galfari.

1020. Hedd drwy waed yr Oen.—M. 6.

Mae modd i'r gwaela'i wedd
Gael hedd yn ngwaed yr Oen;
Gall y blinderog rai
Gael esmwythâu eu poen:
Pa'm sefi draw fy enaid mwy,
Mae hedd i'w gael mewn marwol glwy'.

Am hyny awn yn mlaen
Gan isel ddweyd ein cwyn,
Rhydd Crist ei gadarn fraich
O dan ein baich i'w ddwyn:
Ac yn ei fynwes gynes ef
Cawn fyn'd i mewn i deyrnas nef.

1021. Diwedd yr yrfa.—M. 35.

Mae'm rhedfa îs y rhôd
Yn nesu at y nôd;
I'm hymdaith hon, îs awyr gron,
Mae diwedd bron a d'od;
Fy mhabell frau, sydd yn llesgâu,
Ac yn gwanhau o hyd;
Ac yn y man, daw'r amser, pan
Bydd f'enaid gwan, yn fywiol ran
Mewn annherfynol fyd.

1022. Crefydd foreu.—M. 9.

Mae'n achos mawr o alar
I weled ienctyd glân,
Wrth ddilyn llwybrau pechod,
Yn myn'd tuag uffern dân;
Gweddiwn ar i'r Arglwydd
Ar fyr ymwel'd â hwy,
Cyn delo'r dydd cyhoeddi
Na byddo galwad mwy.

Gwyn fyd y rhai sy'n gwrando
Lleferydd Iesu gwiw,
Ac yn rhoi blodau 'u dyddiau
Yn ufydd iawn i Dduw;
Cânt yma rai defnynau
O'i felus hyfryd hedd;
A nofio yn ei gariad
Yr ochor draw i'r bedd.

1023. Gwaredigaeth.—M. 6.

Mae'n awr tudraw i'r llen
Fyrddiynau maith diri',
A'u cân sydd beraidd iawn
Am aberth Calfari;
I gyd yn iach o'u cûr a'u poen,
Yn gwaeddi—"Teilwng ydyw'r Oen."

Fel finnau buont hwy,
Dan lawer clwy' ar lawr,
Eu cwyn a'u bron yn brudd
Mewn pair o gystudd mawr;
Mawr allu Duw a'u daliodd hwy,
Paham yr ofna'm henaid mwy.

1024. Gorphen yr yrfa.—M. 12.

Mae'n brawd wedi gorphen ei daith,
A'i lafur a'i waith yr un wedd,
A Christ wedi talu ei ddyled
Mae'n addfed i fyned i'w fedd;
Caiff gysgu hûn dawel nes dod
Ryw ddiwrnod heb bechod yn bur,
O'r beddrod yn hynod mewn hedd,
Heb ffaeledd na chamwedd na chur.

Ymdrechodd hardd ymdrech y ffydd,
Er uffern fawr beunydd a'r byd;
Gorphenodd ei yrfa, mae'n rhydd;
Gadawodd ei gystudd i gyd;
Mae bellach yn holliach mewn hedd,
O gyrhaedd ei lygredd yn lân,
Dim tristwch i'w feddwl ni fydd,
Hosana'n dragywydd a gân.

1025. Rhyfel y saint.—M. 20.

Mae'n bryd i ni ganu
Ni gawsom y fraint,
Mae'r rhyfel yn cerdded
O ochr y saint;
Am hyny dechreuwn
Mae bellach yn bryd,
I ganu caniadau
I Brynwr y byd.

Cawn gyda'n Hanwylyd
Deyrnasu mewn hedd,
Yn mhell uwchlaw cyrhaedd
Holl ddychryn y bedd;
Cawn wisgo coronau,
A gorphwys yn nghyd,
A chanmol byth bythoedd
Iachawdwr y byd.

1026. Arwydd i'r Cenedloedd.—M. 4.

Mae'n eglur iawn i'r Oen dinam
I farw am ein beiau,—
Efengyl gras, ar dir a môr,
Sy'n agor hen garcharau.

Er arwydd dyfod Crist i'r byd
Ei lef a gyfyd feirwon,
Ceir gweled myrdd dan seinio'i glod,
Yn dyfod tua Sion,

Mynegant ei ogoniant Ef
Tra pery nef y nefoedd;
I'r Hwn y mae ei enw'n Sant
Y canant yn oes oesoedd.

1027. Goglud y pererin.—M. 3.

Mae'n eistedd rhwng cerubiaid fry,
Marchoga nef y nef;
Seraphiaid iddo'n plygu sy',
Gerbron ei droedfainc ef.

Hwn yw fy Rhan, medd f'enaid mwy,
Fy Mhroffwyd a fy Mhen,
Fy Archoffeiriad gynt gadd glwy',
Fy Mhriod is y nen.

Fy Seren foreu eglur yw,
Fy Heulwen oleu dêr,

Fy Nghraig, fy Nhŵr, fe'm ceidw'n fyw,
Fy Nodded yw fy Ner.
Fy unig Wisg i guddio'm gwarth,
Fy Aberth ar y pren,
Fy hoff Arweinydd drwy bob parth,
Nes 'hedwyf uwch y llen.

1028. Adgyfodiad y meirw.—M. 22.

Mae'n Harglwydd gerllaw,
O trwsiwn ein lampau;
Yn fuan fe ddaw,
Gwregyswn ein lwynau?
Mae'n dyfod, mae'n dyfod,
Addawodd ef ini,
Olwynion ei gerbyd,
Nid ydynt yn oedi.
O hyfryd fydd swn
Yr udgorn diwedda',
Pan elwir y seintiau
O'r carchar i wledda.

Yr udgorn a gân,
A'r meirw gyfodir,
Heb lygredd yn lân,
A ninnau newidir;
Fe gwyd y llygradwy,
Mewn anllygredigaeth;
A gwisgoedd anfarwol
O garchar marwolaeth;
O hyfryd fydd swn
Yr udgorn diwedda',
Pan elwir y seintiau
O'r carchar i wledda.

1029. Byrdra bywyd.—M. 2.

Mae'n hoes yn ffoi ar frys
Nid erys 'run fynudyn;
Ein dyddiau'n chwyrn, fel llifddwr maith,
A'n dwg ni ymaith ganddyn'.

Os rhaid i'n dyddiau ffoi,
I'n golwg byddo'u terfyn;
Yn ffyrdd doethineb treuliwn hwy,
A brysient fwy-fwy gwedi'n.

Trosglwyddant ni yn gynt,
Dros fôr ein helynt stormus;
Cawn dirio'n glau mewn tawel fyd
Tragwyddol fywyd hapus.

1030. Gorphwysfa y nef.—M. 3.

Mae'n hyfryd meddwl ambell dro,
Wrth deithio anial le,
Ar ol ein holl flinderau dwys,
Cawn orphwys yn y ne'.

Pan ar ddiffygio gan y daith,
A lludded maith y lle,
Mor hoff yw gwybod wedi hyn
Cawn orphwys yn y ne'.

Mae'n gysur meddwl pan fo'n d'od
Len dros ei wyddfod Ef,
Cawn gynnal ei dragwyddol bwys,
Wrth orphwys yn y nef.

1031. Achub rhag uffern.—M. 9.

Mae'n gweddi i mi ddiolch
Dros byth i Iesu Grist,
Am achub f'enaid euog
Rhag dyfnder uffern drist;
Dymuno 'rwyf am dreulio
Fy amser yn y byd,
Bob dydd, bob awr, bob mynud,
I'w ganmol ef o hyd.

Mae ynddo nerth diderfyn,
Mae ynddo gyfoeth rhad,
Deng miliwn o rinweddau
Sydd yn ei briod waed;
Gall lenwi pob rhyw angen
Sydd ar bechadur gwan;
Tan filoedd o amheuon,
Gall ddal ei ben i'r lan.

1032. Ty Dduw.—M. 19.

Mae'n nhŷ fy Nuw
Le tawel llawn o hedd,
Dymunwn fyw
Yn hwn nes myn'd i'm bedd;
Yn mhlith y plant,
Argeisiant dduwiol ddysg,
Rheolau'r gair
A gerir yn eu mysg.

Mae yma laeth
A gwin yn faeth i'r gwan,
A'r dyfroedd byw
Wna'r dua'i liw yn lân;
O deued pawb
I 'mofyn am eu lle
Yn Sion wiw
I ddysgu gwaith y ne'.

1033. Marwolaeth cymdeithion.—M. 10.

Mae 'nghyfeillion adre'n myned
O fy mlaen o un i un,
Gan fy ngadael yn amddifad,
Fel pererin wrtho'i hun;
Wedi bod yn hir gyd-deithio
Yn yr anial dyrus maith,
Gormod iddynt oedd fy ngado
Bron ar derfyn eitha'r daith.

Wedi dianc uwch gelynion,
Croesau a gofidiau fyrdd,
Maent hwy 'nawr yn gwisgo'r goron
Ac yn cario'r palmwydd gwyrdd;
Ond mae'r amser bron a dyfod
Y caf uno gyda hwy,
Yn un peraidd gôr diddarfod,
Uwchlaw ofn ymadael mwy.

1034. Ebenezer.—M. 46.

Mae'n taith yn awr dan awyr lâs
Drwy ganol dyffryn gwae,
Mae'n boreu'n llesg, bron colli'r maes,
Ac weithiau'n llwfrhau;

Er hyn tra gallom seinio iaith
Clodforwn ras ein Duw,
A chodwn beunydd ar ein taith
Ein Hebenezer gwiw.

Tra ar y ffordd cawn gymhorth gras
Ein mwyn Waredwr cu,
Yn nyffryn cysgod angau glâs,
Bydd oll yn oll i ni;
Cawn eistedd ar ei ddeheu law
Am byth yn nheyrnas nef,
Ar fryniau anfarwoldeb draw,
Cawn ganu—Iddo Ef.

1035. Sylfaen Sion.—M. 10.

MAEN yn Sion a sylfaenwyd
Dyma'r sail gadarna 'rioed,
Gall yr eiddil mwyaf ofnus,
Yma'n ëon roddi ei droed:
Crist yw'r maen, profedig ydyw,
Sylfaen arall, 'does yn bod,
Ni w'radwyddwyd, ni w'radwyddir,
Neb a gredo ynddo 'rioed.

Minnau'r truan gwan amheuus,
Er bod ofnau rif y dail,
Bron bob mynud drwy fy mywyd,
Am ryw gloddio dan fy sail;
Ond nid oes dim iechydwriaeth,
Nac un enw dan y nef,
Geny'n sylfaen cadwedigaeth,
Ond ei enw anwyl ef.

1036. Edrych mewn drych.—M. 4.

MAE ordinhadau Duw fel drych,
A ffydd a edrych drwyddynt,
Ar Grist y gwerthfawr Wrthddrych glân
A ddelir allan ynddynt.

Mae gweled gwedd fy Anwylyd gwych
Yn awr drwy ddrych yn hyfryd,
Ond, O, mor felus fydd y nef,
I'w ganfod ef mewn gwynfyd.

1037. Gwaith yr Ysbryd.—M. 5.

MAE plant y byd, ac uffern gas,
Yn grwgnach gwel'd mor fwyn yw'th [ras;
Yn hulio 'mwrdd mor wych, a'i drin
A bywiol fara a siriol win.

O fel 'rwyf finnau'n llawenhau,
Pan f'o dy Ysbryd yn nesâu,
A'i wlith yn disgyn lawr o'r nen
Fel olew peraidd ar fy mhen.

Trugaredd a daioni Duw
Sy'n gweini i'w saint tra byddont byw;
Ac yn eu plith caf finnau fod
I geisio'i wedd, a seinio'i glod.

1038. Tegwch Iesu.—M. 5.

MAE plant y byd yn holi'n hy,
Paham 'rwy'n caru Crist mor gu,
" Pa degwch, meddant, sy'n ei bryd
Uwch tegwch holl gariadau'r byd?"

Fy anwylyd sydd i'm golwg syn
O gymmysg gwych o goch a gwyn;
Gwyn yw ei enaid dinam pur,
Coch yw ar gyfri'i waed a'i gur.

Holl degwch Duw, a thegwch dyn,
Sy'n ddysglaer yn ei liw a'i lun;
Y teca o ddengmil yw fy Ner,
A haul yn mhlith deng mil o ser.

Mae 'i ben yn decach nâ'r aur coeth,
A'i 'madrodd sydd yn berffaith ddoeth;
A choron hardd o ogoniant gwych,
Sy lle bu'r drain yn arw'u drych.

1039. Pren y bywyd.—M. 3.

MAE pren y bywyd wedi'i gael
Wrth law mewn anial dir,
Yn plygu'i frig er cymhell pawb
I fwyta'i ffrwythau pur.

Pan ddelo misoedd cystudd oer
Ceir ffrwyth ar hwn o hyd;
A dail y pren all lwyr iachâu
Ein holl ddoluriau gyd.

Tu yma'r afon os mor dda
Yw'r ffrwyth ar Iesu gawn,
Yr ochr draw fe fydd yn well,
Yn well o lawer iawn.

1040. Addewidion.—M. 48.

MAE'r addewidion bob yr un,
A'u cyfoeth mawr i gyd,
Yn awr yn Iesu Mab y dyn,
Dan sêl ei angeu drud;
Bellach f'enaid gwan, drwy ffydd,
Anadla tua'r orsedd fawr;
Porth y nef sy'n awr yn rhydd,
Tro yno'th gŵyn yn awr.

1041. Duw Elias.—M. 6.

MAE'r afon fawr gerllaw,
Mi welaf frig y dòn,
Pa fodd anturiaf drwy
Dymhestlog dònau hon,
O Dduw Elias tyr'd i lawr
I hollti llif yr afon fawr.

Mae awel oer y bedd
Yn chwythu er hir brydnawn,
Fel arwydd amlwg im'
Fod angeu'n agos iawn;
Nid oes i'w gael, ond prawf o'th hedd
A ŷr i ffoi holl ofnau'r bedd.

Cryfhâ fy egwan ffydd,
Rwy'n teimlo'i bod yn wan,
Mi bwysaf ar dy air
Nes dod o'r tònau i'r lan.
Yr Adgyfodiad mawr ei hun
A'r Bywyd ydyw Mab y dyn.

**1042.** Gwerth y gair.—M. 20.

Mae'r anwyl wirionedd
I'r enaid heb gel,
Yn llawer melusach
A mwynach nâ'r mêl;
A mil mwy dewisol
I'r duwiol a'r doeth,
Na meddu rhifedi
I'w cyfri'n aur coeth.

Llyth'renau dy gyfraith
Sydd berffaith bob un,
Gosodaist hi'n rheol,
Dda ddoniol i ddyn;
Pan ddel yn llaw'r Ysbryd,
Yn danllyd a dwys,
Daw'r enaid i ganfod,
Ei bechod yn bwys.

**1043.** Byddin Brenin nef.—M. 6.

Mae'r Brenin yn y blaen,
A ninnau oll yn hy',
Ni saif na dw'r na thân
O flaen fath arfog lu:
Ni awn, ni awn, dan ganu i'r lan,
Cawn floeddio concwest yn y man.

Ni welir un yn llesg
Yn myddin Brenin nef,
Can's derbyn maent o hyd
O'i nerthoedd hyfryd ef;
Cânt hyfryd wledd a gloyw win
O felus ryw santeiddiol rin.

**1044.** Byd yn myned heibio.—M. 21.

Mae'r byd hwn yn myned heibio,
Cân yn iach fy enaid iddo;
Rho dy serch tra byddot isod
Ar y pethau gwych sydd uchod.

Hwylia'th gamrau tua'r bywyd
Ar ardaloedd perffaith wynfyd,
Fry mae'r gân, a'r wledd, a'r goron,
Fry mae'r Gwr fu dan yr hoelion.

Yno mae y rhai a brynwyd
Drwy waed pur yr Oen a laddwyd,
Canu maent â'u mwyn delynau
Hoff nefolaidd ber ganiadau.

**1045.** Anwadalwch y byd.—M. 9.

Mae'r byd yn gyfnewidiol,
Anwadal yw ei wedd,
Ni welaf ddim arosol
Yn mhlith yr oll a fedd;
Ond sylfaen Duw ni syflir,
A gras fydd byth yn fyw;
Rhan ydyw hon na ddygir,
A pherl na chollir yw.

Y Cristion fydd diangol,
Er drygau o bob rhyw;
Mae'i bwys ar Graig dragwyddol—
Y digyfnewid Dduw:
Ni ddryllia gorsen ysig,
Ond fe'i newydda'n iawn;
Ni ddiffydd lin mygedig,
Ond fe'i cynneua'n llawn.

**1046.** Rhagori ar ddeng mil.—M. 10.

Mae'r Cyfryngwr mewn rhagoriaeth
Yn deg odiaeth uwch deng mil;
Pan aberthwyd perffaith ddyndod,
Pob rhyw gysgod aeth ar gil;
O flaen Iesu diflanasant,
Nid oedd haeddiant yn y rhai'n,
Ond cyfiawnder nef sy'n foddlon
Yn y Gwr ga'dd goron ddrain.

**1047.** Cynhauaf addfed.—M. 10.

Mae'r cynhauaf yn addfedu
Yn mhob ardal is y nef,
Ac fe gesglir llafur Iesu,
Gwerthfawr ffrwyth ei angeu ef:
Arglwydd, anfon weithwyr allan
I bob cŵr o'r ddaear faith,
A chei'r enw oll dy hunan
Am bob llwyddiant yn y gwaith.

**1048.** Digrifwch y nef.—M. 29.

Mae'r dyddiau hir i lawenhau,
O awr i awr yn agosâu,
Fe dderfydd hyn o fywyd brau,
Dianga' i'm dedwydd nyth:
Lle ni ddaw pechod, byd, na chnawd,
I aflonyddu f'enaid tlawd,
Yn ngwedd f'anwylaf hynaf frawd,
Caf ymddigrifo byth.

Pan ymddattodir tŷ o bridd,
Bydd f'enaid llesg yn hollol rydd,
O'r holl gadwynau trymion sydd
Yn dal yn awr yn dỳn:
Caf deimlo pleser uwch y rhod,
Na ddaeth i galon dyn erioed
I feddwl na dych'mygu fod
Y fath fwynhad â hyn.

**1049.** Haul heb gwmwl.—M. 10.

Mae'r dydd yn d'od i'r hâd breninol
I gael mordwyo tua'u gwlad,
O gaethiwed y priddfeini
I deyrnasu gyda'u Tad:
Eu ffydd yno a dry'n olwg,
A'u gwan obaith yn fwynhad;
Annherfynol fydd yr anthem
Am rinweddau maith y gwaed.

Byw heb bechod, byw heb ludded,
Byw heb ofni marw mwy;
Pob rhyw alar wedi darfod,
Dim ond canu am farwol glwy';
Nofio byth yn afon bywyd,
Hedd a gras y santaidd Dri,
Tan d'w'niadau digymylau
Gwerthfawr angeu Calfari.

1050. Dydd yn gwawrio.—M. 6.

Mae'r dydd yn gwawrio 'nawr,
'Mhen adeg fêr ei hŷd,
Fe fydd goleuni mawr
Yn llenwi conglau'r byd;
Fe dreiddia sain efengyl gras
Trwy dywyll leoedd daear las.

Cenadon hedd o hyd
Sy'n hwylio dros y dòn,
I barthau pella'r byd,
A'r fwyn efengyl hon;
Mae'r gwynt a'r llif o'u tu yn troi,
Mae'r nos o flaen y wawr yn ffoi.

Teyrnased Iesu mâd
Dros derfyn môr a thir,
A doed ei deyrnas rad,
A deled cyn bo hir:
Y delwau gau a gwympo'u gyd,
Boed Iesu'n Frenin dros y byd.

1051. Deddf ac efengyl.—M. 5.

Mae'r ddeddf yn eglur dd'weyd beth yw
Ein dyledswyddau ni i Dduw;
Ond yr efengyl dd'wed pa le
Cawn nerth i wneyd ei 'wyllys E'.

Y ddeddf datguddiad i ni ddwg
O lygredd ein calonau drwg;
Ond yr efengyl dd'wed lle mae
Gras i'n pardynu a'n glanhau.

Ni chais fy enaid dynu'n hwy
O'r ddeddf, na hedd na bywyd mwy:
At Grist y ffo'f am obaith gwiw;
A gredo ynddo hwn fydd byw.

1052. Uffern yn crynu.—M. 6.

Mae'r faner fawr yn mlaen,
Gan fyddin nef o hyd,
Mae uffern lawn o dân,
Yn crynu 'nawr yn nghyd;
Hi gwymp, hi gwymp, er maint ei grym,
O flaen fy Nuw, ni saif hi ddim.

Wel, bellach, dos yn mlaen,
Nac ofna f'enaid mwy,
Llai grym sy'n uffern dân,
Na haeddiant marwol glwy';
Telynau fyrdd gânt ganu'n un,
Effeithiol goncwest Mab y dyn.

1053. Ffynnon heb ei chau.—M. 35.

Mae'r ffynnon heb ei chau,
Sy'n golchi'r ffiaidd rai,
Mae lle yn hon, i bawb yn llon
I gael eu llwyr lânhau;
Ceir gweled llu o'r Negroes du,
Oll wedi eu cànu'n lân:
Mewn ffynnon lawn, o ddwyfol ddawn,
Ein golchi gawn, yn hyfryd iawn,
Fil myrdd fel eira mân.

1054. Dewch i'r Ffynnon.—M. 9.

Mae'r ffynnon yn agored,
Dewch edifeiriol rai,
Dewch chwithau i'r un ffynnon
Sy'n methu edifarhau;
Dewch chwi ga'dd galon newydd,
Dewch chwithau na cha'dd yr un,
I olchi'ch ffiaidd feiau
Yn haeddiant Mab y dyn.

Dewch bechaduriaid bellach,
I weled goleu ddydd;
Dewch allan o'r carcharau,
Mae'r pyrth yn awr yn rhydd;
Mae groesaw i chwi ddyfod
Yn mlaen at fwrdd y wledd,
I dawel gyfranogi
O nefol fythol hedd.

1055. Y ganiad newydd.—M. 4.

Mae'r gwaed a redodd ar y groes
O oes i oes i'w gofio;
Rhy fyr yw tragwyddoldeb llawn
I ddweyd yn iawn am dano.

Prif destun holl ganiadau'r nef
Yw "Iddo Ef" a'i haeddiant;
A dyna sain telynau glân
A'r uchaf gân gogoniant.

1056. GORPHWYSIAD.

Mae hynod rinwedd gwaed yr Oen
A'i boen wrth achub enaid,
Yn seinio'n uwch ar dànau'r nef
Na hyfryd lef seraphiaid.

'Mhen oesoedd rif y tywod mân,
Ni bydd y gân ond dechreu;
Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud,
A ddaw o hyd i'r goleu.

Ni thraethir maint anfeidrol werth
Ei aberth yn dragywydd,
Er treulio myrdd o oesoedd glân
Ni bydd y gân ond newydd.

1057. GORPHWYSIAD.

Nid yw caniadau'r nef yn awr
Ond megys gwawr yn tòri,
Yr hon fel amnaid fechan iawn,
Arddengys lawn oleuni.

Pan ddelo torf y cystudd mawr
O'r anial dirfawr yno,
Dylenwir croth pob dwyfol dant
Ag uwch gogoniant iddo.

Er adrodd sain pob dosbarth glân
O'r ddirfawr gân ddiddarfod,
Ni bydd eu dawn ond isel fri
Am waed i olchi pechod.

1058. Marwolaeth cyfoedion.—M. 4.

Mae rhai ieuengach na myfi
Yn tewi yn y tywod;

Rhai oeddynt deg o bryd, sy'n awr
Yn pydru'n llawr y beddrod.

Yr angeu glâs i'r tŷ o glai
A fedodd rai cyfoedion;
Rhyfeddod fawr fy mod i'n fyw,
Mawrygaf Dduw o'm calon.

1059. Gwawr gollyngdod.—M. 56.

Mae'r hyfryd wawr yn awr yn wir
Yn tori ar bob llaw yn glir,
Mae gras y nef yn gyru'r nos
I ffoi o flaen goleuni'r groes;
Mae'r Jubili gerllaw,
Heb oedi'n fuan daw;
Llawn, llawn ollyngdod fydd,
A moli mawr pan ddelo'r dydd.

Tu draw i'r bedd heb un len gudd,
Cawn foli'r Oen ag enaid rhydd,
Mewn gynau gwynion fel yr Haul,
'Run ddelw lân ag Adda'r Ail;
Oll â thelynau Duw
Yn moli'r Iesu gwiw,
Byth, byth heb dewi son,
A'r testun cu fydd Cân yr Oen.

1060. Bri ein hynaf Frawd.—M. 6.

Mae'r hynaf Frawd i ni
Yn eiriol ar ein rhan,
Gan ddarpar uchel fri
I bawb o'i deulu gwan;
Awn ar ei ol i wely'r bedd,
Cawn godi'n iach, a hardd ein gwedd.

Cyfododd ef yn wir,
Meddiannodd orsedd nef;
Trysorau'r Ganaan dir
Sydd yn ei feddiant ef;
Mae heddyw'n fyw uwch poen a gwae,
Awn ar ei ol i'r man lle mae.

1061. Arch y Drugareddfa.—M. 10.

Mae rhyw degwch nefol tanbaid
Rhwng cerubiaid ar yr arch;
Deddf cyfiawnder yno'n llawen
Gan ei Pherchen sy'n ei pharch:
A'r pechadur euog aflan,
Oedd yn druan, ar ei draed,
Yn cael hwylio i'r Ganaan nefol,
Yn nigonol Iawn y gwaed.

1062. Anthem Pen Calfaria.—M. 21.

Mae rhyw dorf ddirif o seintiau,
Yn awr yn canu eu telynau;
Ac yn seinio Halaluia,
Dechreu anthem Pen Calfaria.

Dengmil o delynau'n canlyn;
Cân nefolaidd, bur, ddiderfyn;
Yr angylion gyda'r seintiau,
Yr un sylwedd eu caniadau.

Pan wrth làn yr hen Iorddonen,
Fy enaid athrist gân yn llawen,
Af ar fyr i'r wlad na dderfydd
Pur orfoledd yn dragywydd.

1063. Ffrydiau afon gras.—M. 10.

Mae rhyw fyrdd o ryfeddodau
Yn yr iechydwriaeth rad,
Hon yw'r afon fawr a lifodd
O dan riniog tŷ fy Nhad;
Yn ei ffrydiau dwg fi adref
Gyda'r dyrfa hardd eu gwedd,
Ac mi ganaf am ei rhinwedd
Byth yr ochr draw i'r bedd.

Bydd angylion yn rhyfeddu
Draw i oesoedd rif y dail,
Gweled myrdd o bechaduriaid
Yn dysgleirio fel yr haul;
Wedi d'od o wlad y cystudd,
Wedi gadael byd o boen,
Ac yn gwisgo'r gynau gwynion
Wedi'u cànu yn ngwaed yr Oen.

1064. Afon iechydwriaeth.—M. 9.

Mae'r iechydwriaeth dirion
Fel afon fawr ei nerth,
O orsedd nef daeth allan;
Ni thraethir byth ei gwerth;
Hi gàna fel yr eira,
Hi bura ddrwg y bai,
Hi nertha'r enaid egwan,
A gylch yr aflan rai.

1065. Nerth a phurdeb drwy'r gwaed.—M. 3.

Mae'r iechydwriaeth fawr drwy'r gwaed,
Yn puro'r enaid trist,
I'r gwan perffeithir dwyfol nerth
Drwy aberth Iesu Grist.
Anadla, f'enaid llesg, trwy ffydd,
Mae'r ffordd yn rhydd at Dduw;
Mae gras yn gymhorth hawdd ei gael
A modd i'r gwael gael byw.

1066. Llawnder iechydwriaeth.—M. 3.

Mae'r iechydwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan;
Mae ynddi ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.

'Does yma eisieu byth yn bod,
Trysorau gras sy'n llawn,
Er maint yr yfed a'r glanhau,
O foreu hyd brydnawn.

Ni cheisiaf haeddiant byth, na nerth,
Na gwenau neb, na'u hedd;
Ond hwnw'n unig gwyd fy llwch,
Yn fyw i'r lan o'r bedd.

1067. Digon i'r euog.—M. 1.

Mae'r iechydwriaeth rad
Yn ddigon i bob rhai;

Agorwyd ffynnon er glanhad
Pob pechod cas a bai.

Dan bwys euogrwydd du
Edrychaf tua'r groes;
Lle llifodd gwaed fy Mhriod cu,
Anfeidrol iawn a roes.

1068. Rhyfedd ras.—M. 36.

MAE'r Iesu mwyn yn maddeu,
Rhyfedd ras, rhyfedd ras,
Aneirif anwireddau,—Rhyfedd ras,
Mae gallu ganddo'i wella
Afiechyd yr afiacha,
Mae'n golchi fel yr eira,—Rhyfedd ras,
Ryw dorf o'r dynion dua,—Rhyfedd ras.

Yn addfwyn mae yn erfyn,—Rhyfedd ras
Am i ni dd'od i'w ddilyn,—Rhyfedd ras,
Ei iau sy'n esmwyth hyfryd,
A'i faich sy'n ysgafn hefyd,
Y caeth a ddwg i ryddid,—Rhyfedd ras,
Mae'n hael o'i nefol olud,—Rhyfedd ras.

1069. Canlyn di fi.—M. 5.

MAE'r Iesu'n galw—Canlyn fi;
Dos ar ei ol, fy enaid cu;
Dos 'nawr, a gad i'r meirw mwy
Ofalu am eu meirw hwy.

Pa'm caiff na maes na masnach mwy,
Na sorod byd fy hudo'n hŵy?
Gwell, can mil gwell yw myn'd yn awr,
Wrth alwad Crist, i'r swper fawr.

1070. Cysgod Iesu.—M. 36.

MAE'r Iesu wedi gorphen,
Moliant mwy, moliant mwy,
Wrth farw ar y croesbren,—Moliant, &c.
Holl ofyniadau'r gyfraith
Yn gyflawn ac yn berffaith;
Fy angor yw a'm gobaith,—Moliant, &c.
Caf drwyddo fuddugoliaeth,--Moliant, &c.

Mae'n ffynnon o lawenydd,--Moliant, &c.
Ei ras sy'n fôr tragywydd,—Moliant, &c.
Mae'n beraidd bren afalau
A lle dan ei ganghenau [&c.
I lechu, à bwyta'i ffrwythau,—Moliant,
Ac yno bydd fy nghartre',—Moliant, &c.

1071. Jubil dragywyddol.—M. 20.

MAE'r Jubil dragwyddol
Yn awr wrth y drws,
Fe gododd yr haulwen,
Ni gawsom y tlws;
Doed gogledd a dwyrain,
Gorllewin a de,
Yn lluoedd i foli
Tywysog y ne'.

Cydganed y ddaear
A'r nefoedd yn nghyd,
Ogoniant tragwyddol
I Brynwr y byd;
Molianned pob enaid
Fy Arglwydd ar gân,
Am achub anhydyn
Bentewyn o'r tân.

1072. Manna yn yr anial.—M. 13.

MAE'r manna wedi ei gael
Mewn dyrus anial dir,
Ymborthi gaf ond myn'd yn mlaen,
Ar ffrwythau'r Ganaan bur;
Mae yno sypiau grawn
Yn llawn o fewn y lle;
O Ffrynd troseddwyr, moes dy law,
A thyn fi draw i dre.

Mi ges arwyddion gwir,
O gariad pur fy Nuw,
Ei ras a'i dawel hyfryd hedd,
I'm henaid rhyfedd yw;
Yn mhell o'r babell hon,
Mae nghalon gydag ef.
O Ffrynd troseddwyr, tyn fi'n llon
Yn union tua'r nef.

1073. Moddion a dybenion.—M. 9.

MAE'r moddion a'r dybenion,
Mewn cwlwm sicr iawn,
Nid all fod gwell sefydliad,
Mae'n ddoeth, o ras yn llawn;
Prif ddyben ethol ydoedd,
Derchafu gras fy Nuw,
Ac wrth wneyd hyny achub
Myrddiynau o ddynol ryw.

Eu codi i feddiannu
Y rhagorfreintiau drud,
A'r moroedd o fendithion
Sy'n ngwaed Iachawdwr byd;
Eu gwisgo â santeiddrwydd
A'u gogoneddu'n llawn,
Rhad, rhad, fydd anthem Sion,
Am fath anrhaethol ddawn.

1074. Digon yn yr Iawn.—M. 9.

MAE'r nef yn gwaeddi—"Digon,"
Gan wenu ar yr Iawn;
Ca'dd Duw ei lwyr foddloni,
A'r ddeddf foddlonrwydd llawn;
Trugaredd a gwirionedd,
Cyfiawnder pur a hedd,
Mewn undeb ar Galfaria
Bar'toisant i ni wledd.

O dringwn ninnau yno
Dan gofio Dwyfol loes;
Cawn wel'd fod Duw a phechod
Byth byth yn hollol groes;
O'r hyn ceir gwel'd troseddwyr,
Trwy effaith bywiol ffydd
Yn Aberth mawr y cymmod,
Yn d'od yn berffaith rydd.

**1075.** Gwleddoedd Sion.—M. 4.

MAE'r wledd yn barod, O bwytewch,
A llawenhewch yn Sion,
Daeth bythol hedd i blant y llwch,
Dewch, yfwch o'i mhelysion.

Bwytawn, mae'r aberth wedi'i ladd,
Y ddeddf a ga'dd anrhydedd;
Ac i bechadur euog gwael
Mae modd i gael ymgeledd.

Cawn wisg, a modrwy ar ein llaw,
Ac er pob braw, cawn wledda;
A nerth i deithio dan y groes
Wrth gofio loes Calfaria.

**1076.** Satan, cnawd, a byd.—M. 30.

MAE satan, cnawd, a byd,
Oll am fy nghael yn nghyd,
I amheu'm rhan;
'Rwy'n nghanol arfog lu,
Sy'n taro o bob tu,
O cymhorth Arglwydd cu,
Fy enaid gwan.

Er gwaethaf cnawd a byd,
Ac uffern oll yn nghyd,
Mi ddof i'r làn;
Addawodd Duw'n ddigudd,
Roi nerth yn ol y dydd,
Ac adnewyddol ffydd,
I'm henaid gwan.

**1077.** Toriad hyfryd wawr.—M. 6.

MAE tew gymylau'r nos,
Barhaodd amser mawr,
Yn agor ac yn ffoi,
O flaen yr hyfryd wawr;
Fe gwyd yr haul, cawn wel'd yn glir,
Ein hetifeddiaeth cyn bo hir.

Mae'r oriau maith yn wir,
Yn dirwyn yn y blaen;
Er bod nosweithiau'n hir,
O'r diwedd darfod wnan';
Cymylau'r nen, er maint eu grym,
O flaen y wawr ni safant ddim.

**1078.** Dedwyddwch y gwaredigion.—M. 30.

MAE torf anneirif fawr,
Yn ddysglaer fel y wawr,
Fry yn y nef;
Er gwaethaf gwawd a llid,
A gorthrymderau'r byd,
A Brenin braw yn nghyd
Ac uffern gref.

Yn gwisgo'r gynau gwyn,
Y bydd y saint 'nol hyn,
Ddydd sy'n nesâu;
Caniadau marwol glwy',
Fydd eu caniadau hwy,
Caniadau glywir mwy,
Byth yn parhau.

**1079.** Gwenu trwy'r cwmwl.—M. 3.

MAE t'w'llwch a chymylau'n toi
Dybenion doeth ein Rhi;
A dirgel rôd mewn rhôd yn troi,
Uwchlaw ein deall ni.

Ond er myn'd heibio yn y tân,
Y gwynt a'r ddaear-gryn,
Fe glyw ei blant ei ddystaw lef
Yn traethu hedd, er hyn.

Y tew gymylau duon sy
Yn awr yn toi eu nen,
Yn lle ystorm, dyhidlo wnant
Wlith bendith ar eu pen.

Am hyn nac ofnant unrhyw bryd,
Er maint eu blinfyd mwy;
Drwy'r rhagluniaethau chwerwaf oll
Mae'n gwenu arnynt hwy.

**1080.** Cadernid yr eglwys.—M. 22.

MAE tŷ Adda'r ail,
A'i sail ar fynyddoedd,
Cadernid y Drindod,
Cyfammod cyn oesoedd;
Pyrth Sion a gâr—
Cânt fod yn agored
I weiniaid ddod yno,
Dan wylo a cherdded.
Pob cenedl drwy'r byd,
Yn nghyd wnant ddylifo,
Bydd cyflym 'sgrifenu,
Am eni rhai yno.

Cânt nerth ar ol nerth,
Yn brydferth a brawdol,
Nes eglur ymddangos,
Mewn ardal ddiangol;
Gerbron Duw yn Sion,
Yn llon mewn llawenydd,
O swn annuwiolion,
Yn Nghaersalem newydd;
Lle gorphwys y plant,
Mewn llwyddiant i wledda,
'Nol gorphen eu taith,
Trwy'r anial maith yma.

**1081.** Peryglon yr anial.—M. 13.

MAE tywyll anial nos,
Peryglon o bob rhyw,
Holl ofnau'r bedd, a'r meddwl gwan
Yn ffoi o'r fan bo'm Duw:
Ond tegwch dwyfol pur,
A chariad gwir, a hedd,
Yw melus wleddoedd llawn, didrai,
Y rhai sy'n gwel'd ei wedd.

'Rwy'n gwel'd yr oriau'n hir,
I fod o dir fy ngwlad;
Bryd deuaf at fy mrodyr fry,
Sy'n canu yn nhŷ fy Nhad!—
A gorphen ar fy ngwaith,
A'm dyrus daith is nen;

Yn Salem fry par'to fy lle
Mewn llys o fewn i'r llen.

1082. Cestyll yn syrthio.—M. 11.

Mae Tywysog tangnefedd am ledu
Terfynau llywodraeth ei ras;
Mae'n gwisgo ei gleddyf dau-finiog,
Mae'n galw ei filwyr i'r maes;
Galluoedd y fagddu sy'n crynu,
Mae miloedd yn plygu i'r ffydd,
Mae'r diafol yn colli ei ddeiliaid,
Caffaeliaid sy'n dyfod yn rhydd.

Mae arfau'r efengyl yn llwyddo,
Mae'r cestyll yn syrthio i'r llawr,
Tywyllwch y nos sydd yn cilio
Myn'd rhagddi yn gyflym mae'r wawr;
Ar bur weinidogaeth y cymmod
Drwy ddwyfol awdurdod mae llwydd,
Mae'r bobloedd yn taflu 'u heilunod
I'r wâdd a'r ystlumod yn rhwydd.

1083. Swper yr Arglwydd.—M. 5.

Mae'th gariad Iesu'n well nâ'r gwin,
Ni'th gofiwn di a'th dristwch blin.
Anghofio'th groes, po'dd gallwn ni!
Yr hon a'n gwnaeth yn un â thi.

I'th ordinhad y rhoddwn barch,
Gan gofio'th angeu 'nol dy arch;
Hyd oni chaffom yn ddiboen,
Gydgwrdd yn neithior fawr yr Oen.

1084. Udgorn Jubili.—M. 34.

Mae udgorn Jubili,
Am haeddiant Calfari,
Yn seinio'n llon,
Newyddion goreu i ni;
Gwir lawenha fy enaid prudd,
Ennillodd Iesu mawr y dydd,
Daw carcharorion angau
O'u rhwymau oll yn rhydd.

Rhyw dyrfa fawr heb ri'
Fu ar ein daear ni,
Tan lawer loes,
A llid, a chroes, a chri;
Maent 'nawr mewn bywyd hyfryd hoen
Ger bron gorseddfainc Duw a'r Oen,
Heb deimlo mwy flinderau,
Effeithiau llid na phoen.

1085. "Achub yn awr."—M. 40.

Mae y ddeddf yn brysio i esgor,
Achub yn awr;
Ac mae Tophet yn ymagor,
Achub yn awr:
Chwery rhai â'u damnedigaeth,
A gwrthodant iechydwriaeth,
Gan wynebu'r ail farwolaeth,
Achub yn awr.

Gwel y byd yn gwyllt-gyflymu,
Achub yn awr,
Tua dystryw heb ddychrynu,
Achub yn awr;
Mae yn gorwedd mewn tawelwch
Dan ryw fagddu o dywyllwch,
Yn amddifad o dy heddwch,
Achub yn awr.

1086. YR AIL RAN.

Arglwydd, cofia blant dy deyrnas,
Achub yn awr;
O grafangau'r gelyn atgas,
Achub yn awr;
Cofia'r rhai sy'n poenus gloffi
Rhwng dau feddwl, gan hir oedi,
Heb ymroddi i'th was'naethu,
Achub yn awr.

Cofia wledydd pell y ddaear,
Achub yn awr;
Hen Baganiaid tywyll anwar,
Achub yn awr;
Anfon iddynt air y cymmod,
I'w goleuo am eu pechod,
Ac am iechydwriaeth barod,
Achub yn awr.

Arglwydd grasol, d'od orchymyn,
Achub yn awr,
Nes y codo teulu'r dyffryn,
Achub yn awr;
Gweler etto'r esgyrn sychion
Yn anadlu awyr Sion,
Gan fwynhau ei hoff ddanteithion,
Achub yn awr.

1087. Diogelwch y duwiol.—M. 25.

Mae y rhai sy'n byw drwy ffydd
Oll yn ddiogel,
Er bod bron a cholli'r dydd
Yn y rhyfel;
Er eu curo lawer tro
'Nhrigfa dreigiau,
Byddant mewn heddychol fro
Draw i angeu.

Er eu bod o'u pen i'w traed
Mewn halogrwydd;
Cânt eu golchi'n lân yn ngwaed
Crist eu Harglwydd;
Er bod weithiau bron dan draed
Eu gelynion,
Ant ar fyr i'r nefol wlad,
Cânt y goron.

1088. Goleuni'r byd.—M. 4.

Mae yn y Gair oleuni glân,
Fy enaid, cân am dano,
I'r euog tlawd mewn anial fyd,
Wel'd noddfa glyd i'w guddio.

Tangnefedd Duw, fel afon gref,
O orsedd nef yn llifo,

A fydd i'r sawl a garo'r gwir,
Gan rodio'n gywir wrtho.

1089. Rhybuddion y Bibl.—M. 4.

Mae yn y gair rybuddion da
A lawenha yr union;
Y sawl a'u cadwo—uchel fraint
Gaiff gyda'r saint yn Sion.

Yn niwedd taith yr anial dir,
A garo'r gwir gaiff goron;
Try llafur ffydd, wrth air y llw,
Yn elw i'r duwiolion.

Mae cysur ar y ddaear hon
Dan groesau gweision Iesu;
A byddant ar ei ddeheu law
Ryw ddydd a ddaw'n teyrnasu.

1090. Goleuni yn y nos.—M. 7.

Maith yw'r nos, a mawr y t'w'llwch,
Mawr yw twrf gelynion cas:
Arglwydd, dyro dy gymdeithas,
Nerth dy anorchfygol ras:
Gwaredigaeth, &c.
Boed fy nghân tra ar y llawr.

Dattod y cadwynau tynion,
Rho fy enaid llesg yn rhydd;
Tyn fi o'r pydewau dyfnion,
I gael gweled goleu ddydd:
Seren foreu, &c.
Cyfod dros y bryniau draw.

1091. Marwolaeth cyfeillion.—M. 7.

Marw mae'm cyfeillion goreu,
Blaenu maent i'r ochr draw,
Draw ar diroedd rhyw wlad arall,
Byddaf finnau maes o law;
Tragwyddoldeb
Fydd fy nghartref yn y man.

Pan bo'r ddaear arnai'n cauad,
Gâd i mi, O Iesu, gâd
Im' wel'd y nef o'm blaen yn agor,
Gwel'd dy wên ar ddehau'r Tad;
Fe wna hyny
Ddyffryn angeu'n oleu ddydd.

1092. Marwolaeth.—M. 5.

Marwolaeth sydd fel dirfawr li',
Yn dwyn i ffwrdd ein bywyd ni;
Fel chwedl wag neu freuddwyd brau,
Blodeuyn gwan a wywa'n glau.

I'n dyddiau saith deng mlwydd a roed,
Mor frau yw'r oes, mor fyr yw'r oed;
Ac os i'r wyth deng mlwydd yr awn,
Och'neidio'n fwy nâ byw a wnawn.

Duw, dysg in' wel'd mor wael yw dyn,
Ac estyn etto'n hoes a'n ffûn,
Hyd nes cymhwyso gras nyni
I farw—a byw gyda thi.

1093. Crist yn neddfle dyn.—M. 3.

Mawr achos llawenhau, gwir yw,
I ddynol-ryw a roed;
Daeth Crist i lawr o'i uchel lys,
Ei enw'n barchus boed.

Mae Crist i ddyfod, meddid gynt,
A dyrchafedig fydd:—
Fe ddaeth, fe ddaeth, mae'n Feddyg da,
Hosana heddyw sydd.

Fe ddaeth i'n deddfle ni'n ddiau,
Yn ol bwriadau'r nef;
O am wir ffydd i wneyd coffhad
Am ei ddyoddefiad ef.

1094. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 7.

Mawr ddiolchwn, caed cynhauaf
Cnwd toreithiog drwy y wlad;
Uchel ganwn, Halaluia,
Moliant am y rhoddion rhad:
Mawr yw gofal
Duw am wael wrthnysig ddyn.

Nis gall dyn ond hau y gronyn,
Gyda'i guddio dan y gŵys,
Duw rydd gynnydd i'r eginyn,
Nes daw'n lawn dywysen lwys:
Rhydd y cynnydd
Mewn dull doeth uwch deall dyn.

Gwaith yr Arglwydd yw addfedu
Ar y maes yr egin gwiw:
Ynddo ef yr y'm bob ennyd
Oll yn symud, bod, a byw:
O boed i ni
Byth ei foli am ei ras.

1095. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 6.

Mawr ddyled arnom sydd
I foli Ior y nef,
Wrth wel'd o ddydd i ddydd
Mor dirion ydyw ef:
Ein Tad yw ef, mae'n rhoi in' faeth,
Y flwyddyn hon ein cofio wnaeth.

Teilyngu'r leiaf rodd
Ni wnaethom unrhyw bryd,
Ond ef mewn tirion fodd
Sy'n rhoi yn hael o hyd:
Er byw yn groes i ddeddfau'r nef,
Cynhauaf da i ni roes ef.

O cyd-foliannwn Dduw
Am bob trugaredd rad,
Wrth wel'd dirioned yw
Ei ofal am ein gwlad:
Boed yn ein henaid dduwiol ddawn
I foli Duw ag ysbryd iawn.

1096. Nerth efengyl.—M. 13.

Mawr iawn yw nerth y nef,
Mae'i arfaeth ef yn dân,

Yn llosgi drwy bob bryn a bro
  Y rhwystrau fo o'i blaen;
Mae gallu'r nef yn fwy
  Nâ'u dyfais hwy i gyd,
Gorchfyga'r dwyfol nefol sain
  Fyrddiynau o'r rhai'n yn nghyd.

Oddiyma i Peru
  Mae efengyl Duw'n rhoi bloedd;
Cyhoeddi mae i'r dua'i liw;
  Drugaredd Duw ar g'oedd:
Bydd canu braf am hyn
  Yn Salem, cyn bo hir,
Pan ddelo'r ddaear fawr a'r nef
  I seinio'r anthem bur.

1097. Crist yn Dduw a dyn.—M. 11.

Mawr ydyw ein henwog Waredwr
  Mae'r Ior i ni'n Brynwr a Brawd!
Jehofa â'n natur ymunodd,
  Y Gair wnaed o'i wirfodd yn gnawd;
Nid ydyw i'r gwan yn rhy uchel,
  Ac nid yw'n rhy isel i'r nef,
Mae'n addas Gyfryngwr i'r ddwyblaid,
  Ein Dyddiwr bendigaid yw ef.

Rhaid ydoedd cael Duwdod i'n cadw,
  A dyndod i farw'n ein lle;
Caed Iesu i'r gwagle i'w lanw;
  Gwir Dduw a gwir ddyn yw efe:
Ein natur ddyrchafwyd i'r orsedd,
  Daeth rhyfedd anrhydedd i'n rhan!
Ffordd rydd sydd rhwng daear a nefoedd,
  Dyrchefir rhyw luoedd i'r lan.

1098. Mawr nerth yr Ion.—M. 4.

Mawr ydyw'r Ion, ei nerth sydd fawr,
  Ei foliant dirfawr traethaf;
Dy fawr anrhydedd rho'f i maes,
  A gwaith dy ras ddatganaf.

Dy ddoniau ar fy nhafod fydd
  Mewn hoff lawenydd calon;
A'r saint a glyw fy nuwiol gân,
  Ac uno wnan' yn union.

Y tadau ddysg i feibion fyrdd,
  Dy ffyrdd i'w plant a ddysgant;
Cyhoeddi'th air wna'r oes a ddel,
  A'th fawl drwy sel a seiniant.

Dy ogoneddus wyrth a'th waith
  Drwy'r ddaear faith hyspysir;
A'th deyrnas nefol, â'th fraich gref
  Yn llewyrch nef amlygir.

1099. Perffeithrwydd Duw.—M. 4.

Mawr ydyw'r Ion! ei wyrthiau glân
  Sy'n gofyn cân ragorol;
Boed i gymanfa'r saint drwy'r byd
  Lon uno'i gyd i'w ganmol.

Mawr yw trugaredd ein Duw da,
  Ei blant a bortha'n ddiwyd;
Yn wastad cofio'i air y mae,
  Cyflawna ei addewid.

Ei Fab, o'i fodd, yn Brynwr ddaeth,
  A diogel gwnaeth ei ammod;
Ei enw sydd yn santaidd iawn,
  A'i ffyrdd yn gyfiawn hynod.

1100. Tiriondeb Rhagluniaeth.—M. 5.

Mawr yw yr Ion, mawr yw ei waith,
Anfeidrol yw ei foliant maith;
Y llariaidd a wobrwya'n fawr,
Ond gostwng mae y balch i lawr.

I'r tlawd rhydd fara yn ddilai,
A gweryd orthrymedig rai;
Rhydd borth i'r weddw wan wrth raid,
Ac i'r amddifaid bydd yn blaid.

Y flin gydwybod esmwythâ,
A'r carcharion fe'u rhyddha;
Edwyn eu saint, fe'u câr yn gu,
A dwg hwy'n iach i'w lysoedd fry.

1101. Ffynnon y groes.—M. 5.

Meddygon gwael fy ngwlad fy hun,
Ni'm gwellent byth, 'rwy'n gwybod hyn;
Ar ol yn hir eu profi hwy,
Mae f'archoll mawr yn myn'd yn fwy.

Agorwyd ffynnon ar y groes,
Hi olchodd luoedd yn mhob oes;
Heb oedi'n hŵy, mi dafla'm hun
I ddwyfol haeddiant Mab y dyn.

1102. Melusion y Cristion.—M. 21.

Melus cofio y cyfammod,
Draw ragluniwyd gan y Drindod;
Am gyflawnder ei fendithion
Gallaf ganu—"Wele ddigon."

Melus iawn y canaf foliant,
Pan b'wy'n profi blas maddeuant;
Melus cael, drwy waed y cymmod,
Hedd i lenwi fy nghydwybod.

1103. YR AIL RAN.

Melus yw yr addewidion,
Hen ffynnonau fy nghysuron,
Melus cofio'r boreu rhyfedd
Y caf ado pob rhyw lygredd.

A phan byddwyf dan law angau,
A'i chwys oeraidd ar fy ngruddiau,
Melus brofaf, er fy ngwynfyd,
Heddwch Duw yn well nâ'r bywyd.

1104. Gwledd na heneiddia.—M. 7.

Melus wledd a bery'n newydd
  Beunydd heb heneiddio mwy,
I eneidiau llesg fydd cofio,
  Cofio Crist a'i farwol glwy',
    Arlwyadau,
Gwerthfawr angau Calfari.

Bara gaed i'r llesg newynog,
Gwisg i guddio'r euog rai;
Gwin i lòni'r enaid egwan,
Iawn digonol dros bob bai;
Gwaed a lifodd
Ar Galfaria ddyry hedd.

1105. Sabboth.—M. 5.

Melus yw dydd y Sabboth llon,
Na flined gofal byd fy mron;
Ond boed fy nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr ŵyl.

Gwaith hyfryd iawn a melus yw
Moliannu d'enw di, O Dduw;
Son am dy gariad fore glas,
A'r nos am wirioneddau'th ras.

Yn Nuw fy nghalon llawenha,
Bendithio'i waith a'i air a wna';
Mor hardd yw gwaith dy ras, O Dduw,
A'th gynghor, O mor ddyfned yw!

Tydi yw'r bythol fywiol Dduw,
Erioed yr oedd dy orsedd wiw;
Santeiddrwydd weddai yn ddilyth
I'th dŷ a'th waith, O Arglwydd, byth.

1106. "Mil Blynyddoedd."—M. 22.

Merch Sion, bydd lon,
Dy Dduw sy'n teyrnasu,
Daw'r ddaear ger bron
Dy Frenin i blygu;
Fe droir y cleddyfau,
A'r gwywffyn hefyd,
Hen arfau dinystriol
Yn arfau mwy hyfryd;
Mae'r amser gerllaw
Caiff Satan ei rwymo,
Byd newydd a ddaw,
Cyfiawnder geir ynddo.

Mae'r amser yn d'od
Y derfydd pob adfyd,
Ni welwyd erioed
Amseroedd mor hyfryd
Cyfiawnder fel afon,
A heddwch fel tònau,
A gyflym ymleda
Dros froydd a bryniau;
Mae'r amser gerllaw
Caiff Satan ei g'lymu,
Byd newydd a ddaw
I'r saint gael teyrnasu.

1107. Sacrament y cymun.—M. 4.

Mewn anial dir boed i'n goffâu
Y loesau llawn meluswin;
A byw ar ffrwyth y cariad rhad,
O bryniad Mab y Brenin.

Arlwyodd i ni swper pur
I gofio'i gur a'i gariad,
Efe yw gwrthddrych ffydd ddi-au
Mewn temlau, manna teimlad.

Molianwn ef ar beraidd dôn
Wrth son am ei drugaredd;
A thyngwn lŵ o gywir fryd
I'w ddilyn hyd y diwedd.

1108. "Gwlad well."—M. 10.

Mewn anialwch maith 'rwyf etto,
Crwydro fwy-fwy 'rwyf o hyd,
Afon angeu sydd yn agos,
Chwant ac ofn gado'r byd;
Draw mi wela'r tir dymunol,
Gwlad o hedd a bythol hâf
Gwlad lle nad oes neb yn marw,
Gwlad lle nad oes neb yn glaf.

Gwlad sydd well ddangoswyd imi,
Sylwedd bythol yno sy,
Digonolrwydd o lawenydd
Yn dragywydd a geir fry;
Mae'm cyfeillion a'm gorphwysfa,
Yn y tragwyddoldeb pell;
Mae'm daearol dŷ'n adfeilio,
Da fod i'm adeilad gwell.

1109. Dydd gras a gobaith.—M. 5.

Mewn bywyd mae gwas'naethu Duw,
Dydd gras ac iechydwriaeth yw;
Tra dalio'r lamp i losgi maes,
Yr adyn gwaethaf all gael gras.

Bywyd yw'r awr a roddes ef,
I ochel uffern, ffoi i'r nef;
Dydd yw gall pechaduriaid gwael
Fendithion i'w heneidiau gael.

Am hyny'r hyn sydd yn fy mryd,
Boed im' ei wneyd â'm hegni i gyd,
Gan nad oes dyfais, gwaith na'i wedd
Na ffydd, na gobaith, yn y bedd.

1110. Marwolaeth Crist, Oen Duw.—M. 19.

Mewn dirfawr loes,
Draw ar y groes gwel Ef,
Oedd destun clau
Caniadau per y nef!
Yn gwyro'i ben
Dan d'wllwch nen yn awr,
A'i bur waed o
Yn llifo'n ffrwd i'r llawr.

Dianaf Oen!
Dan boen!—Iachawdwr byd!
Ond cafwyd stor,
O drysor angeu drud;
Fy enaid cred,
A chei afrifed fraint,
Cei wledda'n llon
Yn Sion gyda'r saint!

1111. Edrych ar wanu Crist.—M. 26.

Mewn edifeiriol gri,
A'n golwg tua'r groes,
Derchafwn Aberth Calfari,
A'r ddwyfol loes:

Edrychwn arno ef,
Galarwn 'nawr yn nghyd,
Wrth gofio am Dywysog nef,
A'i angeu drud.

Yn ngolwg Dwyfol waed
Rhyfeddwn ddrwg ein bai,
Ni chawsem byth hedd nac iachâd
Drwy Aberth llai;
Wrth syllu ar ei glwy',
Daw'n holl gadwynau'n rhydd,
A'n holl ganiadau ninnau mwy
I'w enw fydd.

1112. Lles gweddi.—M. 20.

Mewn gweddi mae'r enaid
Yn tywallt ei gwyn,
Trwy rinwedd yr Aberth
'Rodd Crist er ei fwyn;
O'r dyfnder mae'n anfon
Yn union ei gri,
Trugaredd a'i gwrendy
O ganol y lli'.

Mewn gweddi mae'r enaid
Yn codi ei lef,
Mewn gweddi y dringa
O'r ddaear i'r nef;
At orsedd trugaredd
O ddyfnder ei loes,
A'i olwg ar Aberth
Anfeidrol y groes.

1113. Crist yn dod i'r farn.—M. 5.

Mewn gwisgoedd barn daw Mab y dyn
Hyllt beddau'r byd, y ddaear gryn,
O'i flaen y llysg tân ysol cry',
Pob bryn a dawdd, a'r môr a ffy.

Mewn dychryn ei elynion fydd,
Yn ffoi o'i wydd wrth ofni'r dydd;
Ond cwyd y saint eu penau'n glau
Mae eu hymwared hwy'n nesâu.

1114. Urddiad gweinidog.—M. 5.

Mewn gwisgoedd gras, a gwregys gwir,
Fy ngweision pur dysgleirio wnan';
Nid Aaron, yn ei wisgiad gwych,
A'i swydd fu'n edrych gynt mor lân.

A bloeddio cân y bydd y saint,
Gan gymmaint eu llawenydd llon;
A Sion gorfoleddu wna,
Mab Dafydd byth deyrnasa'n hon.

I ddal i fynu ei enw cu
Hâd dirif iddo yma fydd;
Blagura'i goron arno ef,
O'r ddae'r i'r nef caiff fawl diludd.

1115. Llynclyn anobaith.—M. 4.

Mewn llynclyn o anobaith du,
Yr oeddym ni, drueiniaid,
Heb lewyrch yn ein cyflwr gwael,
Na gobaith cael ymwared.

Ond Iesu, gwych, Tywysog gras,
O'i nefol balas, ganfu
Ein cyflwr digynnorthwy ni,
A rhedodd i'n gwaredu.

Disgynodd o'i ddysgleiriaf lŷs
I'n codi ar frys a'n cadw;
A'i waed a gollodd ef yn lli'
I'n gwared ni rhag marw.

Eich aur-delynau, angylion, t'rewch,
Cyd-lawenhewch mewn caniad;
Ond wedi'r cyfan alloch wneyd
Nis gellir dweyd ei gariad.

1116. Cofio pwy sydd Dduw.—M. 10.

Mewn trallodion na rwgnachwn,
Cofiwn beunydd pwy sydd Dduw;
Ymfoddlonwn i'w ewyllys,
Hyn yn ddilys gweddus yw;
Ymostyngwn i'w drefniadau
Ef ŵyr oreu beth yw'n lles,
Am ein dwyn y mae yn dirion
Trwy bob troion ato'n nes.

Ef sydd yn dilladu'r lili,
Ac efe sy'n porthi'r brain,
Llefa'r llewod ieuainc arno
Ac mae'n gwrando ar y rhai'n;
Pa faint mwy y ceidw Sion?
Hòno ar ei galon sy';
Cyn y caiff ei blant newynu
Manna ddyry oddifry.

1117. Brawd gerbron yr orsedd.—M. 10.

Mewn tymhestloedd ac mewn 'stormydd,
Hyn a ddeil fy mhen i'r lan,
Fod im' Frawd gerbron yr orsedd,
Yn cofio am fy enaid gwan;
Byw bob amser mae i eiriol,
Yn mhob tywydd mae e'r un;
Ac am hyn fe'm gwelir innau,
Ar ei wedd yn hardd fy llun.

Yna derfydd gorthrymderau'r
Anial fyd lle 'rwyf yn byw;
Caf ryddhad o bob gofidiau,
Caf orphwyso gyda Duw;
Derfydd teithio glyn wylofain,
Pan derfyno'm marwol chwyth;
Fry fy nifyr waith fydd cânu,
Caru, a rhyfeddu byth.

1118. Boddloni cyfiawnder.—M. 13.

Mi a ddarfyddaf mwy
Yn lân a haeddiant dyn;
Ni chym'rir Iawn gerbron y Tad,
Ond Dwyfol waed ei hun:
Gofynion nef sydd faith,
Ac oll yn berffaith lawn;
Ni thry cyfiawnder byth yn ol
Heb ryw anfeidrol Iawn.

Dy glwyfau yw fy rhan,
Fy nhirion Iesu da,
Y rhai'n yw nerth fy enaid gwan,
Y rhai'n a'm llwyr iachâ;
Er saled yw fy ngwedd,
Er tloted wyf yn awr,
Fy llenwi gaf â llawnder Duw,
A'm gweled fel y wawr.

1119. Pen y daith.—M. 5.

Mi af yn mlaen, er pelled yw,
I'r wlad 'rwyf am fyn'd iddi fyw,
O'r diwedd tiria'm henaid gwan,
O ddyfnder moroedd mawr i'r lân.

Nid oes un gwrthddrych yn y byd
Yn deilwng o fy serch a'm bryd;
Mae tynfa yn fy enaid cû
At drysor gwell, tragwyddol fry.

1120. Pob peth yn Nghrist.—M. 25.

Mi a gredaf yn fy Nuw
Drwy fy mywyd;
Er ei farw, mae e'n fyw
'Nawr mewn gwynfyd;
Yn ei Aberth ef a'i waed
Mi gaf noddfa,
A phob gelyn dan fy nhraed
Halaluia.

Nid oes terfyn fyth i'w gael
Ar ei gariad;
Mae'i drysorau mawrion hael,
Uwch eu dirnad;
Ynddo'i hunan y mae'n llwyr
Oll ddymuna
F'enaid egwan fore a hwyr,
Halaluia.

1121. Gweddi pen-teulu.—M. 10.

Mi a'm tylwyth, fy Ngwaredydd,
A gyflwynaf i dy law;
Dwg ni etto at ein gilydd
I'th fwynhau mewn byd a ddaw;
Pan y b'o fy nghorff yn pydru,
Yn fy nheulu bydd yn ben,
Dyro iddynt ras i garu
Crist fu farw ar y pren.

Maddeu'm diffyg i'w haddysgu,
Maddeu'm beiau o bob rhith,
Tra bûm gyda hwynt yn blaenu
Fel pen-teulu yn eu plith;
Maddeu 'meiau i a hwythau,
Gelli wneyd y du yn wyn;
Anchwiliadwy yw rhinweddau
Y gwaed a lifodd ar y bryn.

1122. Cyffes yr afradlon.—M. 38.

Mi bechais 'rwy'n cyffesu,
O Dad, 'rwy'n cyfiawn haeddu
Dy ddu ddigofaint;
Tro ataf mewn trugaredd,
A maddeu'r holl anwiredd,
A'r camwedd cymmaint;
O Dad, er mwyn yr Iesu mâd,
Er maint fy mhechod
A'm brynti hynod,
Glanha'm cydwybod,
Trwy'r cymmod yn y gwaed;
'Rwy'n eiddil heb ddim haeddiant,
Rho im' faddeuant rhad:
Nid oes ond ffynnon angeu'r groes
A ddichon olchi
Fy holl fudreddi,—
Mae llawer wedi
Bod ynddi yn mhob oes;
O golch a maddeu i minnau,
Er mwyn ei angau loes.

1123. Baich euogrwydd.—M. 3.

Mi dafla'm baich i lawr yn llwyr,
Wrth gofio angeu loes;
Euogrwydd fel mynyddau'r byd,
Dry'n ganu wrth y groes.

Gwnaeth Crist ei babell yn ein plith,
A'i bresennoldeb sy
Yn troi pob cystudd a phob loes
Yn hyfryd hedd i ni.

Mi ymddiriedaf yn ei air,
Er cymmaint yw fy mai;
Fe ddaw yr hyfryd ddedwydd awr
Im' gael fy llwyr ryddhau.

1124. Pwyso ar fraich Duw.—M. 36.

Mi dawel ymddiriedaf,
Arglwydd da, Arglwydd da,
Yn nerth dy fraich ffyddlonaf,
Arglwydd da;
Yn dy gadernid credaf,
Ar dy addewid pwysaf,
Ac ar dy enw galwaf,
Arglwydd da, Arglwydd da,
A'th gariad byth ddatganaf,
Arglwydd da.

1125. Cysur yn yr anial.—M. 8.

Mi debygwn drwy'r cymylau,
Gwelai'r Haul yn codi draw;
Iechydwriaeth rad sy'n nesu,
Hedd a phardwn sy'n ei llaw:
Y mae'r wawr, hyfryd awr,
Yn dysgleirio ar y llawr.

Af yn mlaen, a doed a ddelo,
Tra bo hyfryd eiriau'r nef
Yn cyhoeddi iechydwriaeth
Drwy ei waed a'i angeu ef:
Nid yw grym gelyn llym,
At ei ras anfeidrol ddim.

1126. Gobaith yn yr anial.—M. 15.

Mi deithiais ran o'r anial maith,
'Dwy'n deall pellder pen fy nhaith,
Mewn gwledydd sychion dwr nid oedd:
Ond dysgwyl 'rwyf yn ddyfal iawn
O'r nefoedd ddwr a sypiau grawn,
Wna'm henaid egwan wrth ei fodd.

Mae dydd at ddydd yn dwyn i ben,
Fy nhaith drafferthus îs y nen,
Fe ddirwyn amser at y nôd:
Ac yna'm pechod a gaiff friw,
A thyna'r dydd concwera'm Duw
Bob rhyw ffieidd-dra fu ynwy' 'rioed.

1127. Meddyg da.—M. 35.

Mi deithia'r anial trwy
Y rhinwedd sy'n ei glwy',
Fy nghadarn Sail yw Adda'r ail,
Gwnaf f'adail arno mwy:
Tragwyddol Graig yw Had y wraig,
Rhag drygau'r ddraig a'i llid,
Mae'n Feddyg da, fe'm llwyr wellha
O'm dyfnaf bla, a'm cânu wna
Fy nghyfaill goreu i gyd.

1128. Hyder y cyfiawn.—M. 4.

Mi dreigla'm ffyrdd ar Dduw yn llon,
Gan ddysgwyl wrtho'n wastad;
Ei law all fy hyfforddi'n dda;
Cyflawna fy neisyfiad.

Mor werthfawr yw ei gariad ef,
Mae'n noddfa gref i'r cyfion;
Gorphwysed byth fy enaid prudd
Dan ei adenydd tirion.

Cred ynddo ef, fy enaid gwan,
Myn allan dy gyfiawnder;
Mor oleu â'r haul ar hanner dydd,
Fel hyny bydd d'eglurder.

1129. Dyeithr-ddyn.—M. 3.

Mi dreuliaf weddill dyddiau f'oes,
Fel rhyw ddyeithr-ddyn,
F'ai'n trigo mewn rhyw anial dir,
Yn mhell o'i wlad ei hun.

Ar fin y dw'r 'rwy'n edrych ar
Gyffiniau'r ardal well,
Gan ddysgwyl galwad i fyn'd draw
O swn y byd yn mhell.

Pan af trwy'r bedd i'r bydoedd draw,
Pwy gyfaill wrthyf lŷn?
'Does brawd, na chwaer, na chyfaill ddaw,
Na neb ond Crist ei hun.

1130. Gau-feddygon.—M. 7.

Mi ddysgwyliais wrth gau-foddion
Flwyddau hirion heb wellhau;
Rhaid im' farw yn y diwedd,
Neu gael Iesu i'm hiachâu;
Nid oes Feddyg
Geidw'm bywyd ond efe.

Yn ffynnonau iachawdwriaeth
Golchwyd myrdd yn berffaith wyn,
Doed o honwyf fel y delo,
Minnau af i'r dyfroedd hyn;
Ffarwel, obaith,
Oni chaf drwy hyn iachad.

1131. Swn y rhyfel.—M. 7.

Mi feddyliais yn y bore,
Buaswn amser maith cyn hyn,
Wedi concro fy ngelynion,
Ac yn cânu ar Sion fryn;
Swn y rhyfel, &c.,
Sy'n y wlad 'rwyf etto'n byw.

Y mae hiraeth yn fy nghalon,
Heddyw am gael gwel'd y dydd,
Caiff y gadwyn gref ei thôri,
A fy enaid fyn'd yn rhydd;
Yn lle rhyfel, &c.,
Dim ond sain caniadau hedd.

1132. Ofni'r daith.—M. 48.

Mi frawychais lawer gwaith
Rhag grym y fflamau tân,
Dyrus daith i un mor wan,
A bryniau maith o'm blaen,
Mae'r Iorddonen heddyw'n fawr,
A chrynu mae fy enaid gwan,
Tyred, Iesu, iddi lawr
Ac yna dof i'r làn.

1133. Cânu am y gwaed.—M. 13.

Mi gana' am waed yr Oen,
Er maint fy mhoen a 'mhla,
Ni feddai'n wyneb calon ddu,
Ond Iesu'r meddyg da;
Fy mlino ge's gan hon,
A'i throion chwerwon chwith,
Fy unig sail i am y wlad,
Yw'r cariad bery byth.

Wel, bellach af yn hyf,
Mae'r brenin cryf gerllaw,
Nid oes a ddwg o dan y nef,
Ei ddefaid ef o'i law;
Ei air sydd nerthol wir,
A'i ysbryd pur yn dân;
Nis gall y gelyn mwya'i rym
Byth sefyll dim o'i flaen.

1134. Ffyddlondeb Duw i'w air.—M. 4.

Mi ganaf am ffyddlondeb Duw
A'i allu gwiw gyhoeddaf;
A'i felus addewidion ef,
Ag uchel lef ddatganaf.

Ei rasol air mor nerthol sy,
A'r gair wnaeth lu y nefoedd;
Y llais a droes y ser o'r bron
Yr addewidion roddodd.

Credaf ei hollalluog lais,
  A ffydd ni chais ond hyny,
I godi'r enaid fynu'n lân
  Mewn Dwyfol gân i'w foli.

1135. Hyder a gwroldeb.—M. 9.

Mi ganaf mewn llawenydd,
  Daeth Iesu i'm rhyddhau,
Mae'r dedwydd ddydd yn dyfod
  Y derfydd fy holl wae;
Mi lechaf yn y ddaear,
  Caiff llwch at lwch i fyn'd,
O angeu, ti gai wybod
  Fod Iesu i mi'n Ffrynd.

Mi bwysaf ar ei fynwes,
  Eisteddaf dan ei groes,
A daliaf afael arno,
  Yn nyfnder angeu loes;
Mae f'enaid gwan yn credu
  Cai'r delyn yn fy llaw,
Yn mhlith y dorf anneirif,
  Ar fyr yr ochr draw.

1136. Anadlu clod.—M. 9.

Mi ganaf tra b'o anadl
  O fewn y ffroenau hyn,
Am gariad Iesu'n dyoddef
  Ar ben Calfaria fryn;
Am goron ddrain blethedig
  A'r hoelion garwa'u rhyw;
A'r gwaed a gàna'r euog
  Fel eira'n wyn ei liw.

Y clod, y nerth, a'r enw,
  Y mawl, y parch, a'r bri,
I'r Drindod f'o mewn Undod,
  A'r Undod pur yn Dri:
Sain mawl ehedo allan,
  Mawl am ei gariad ef,
Drwy ëang anfesurol
  Derfynau dae'r a nef.

1137. Dechreu blwyddyn.—M. 4.

Mi gefais heddyw ddechreu dydd
  O flwyddyn newydd etto;
Terfynwyd gyrfa llawer dyn
  Yn nghorff yr un aeth heibio.

A gallaf fi, cyn hanner hon,
  Fod dan ergydion angau;
O Iesu tŷn fi atat ti,
  A dysg im' gyfri'm dyddiau.

Os gorthrymderau yn y byd
  Raid im' o hyd gyfarfod,
Ni ddryga dim fy enaid trist
  Ond im' gael Crist yn briod.

1138. Ffrynd goreu.—M. 20.

Mi ge's y ffrynd goreu
  Fyth fyth all'sai fod,
Ni thorodd addewid
  A roddodd erioed:
Er byw mewn gogoniant,
  Yn nghanol y nef,
Mewn awr o gyfyngder
  Fe wrendy fy llef.

Gorphenwyd ei lafur
  Pan grymodd ei ben;
Mae heddyw'n meddiannu
  Y ddaear a'r nen:
Cyfododd o'r beddrod,
  Esgynodd i'r nef,
Mewn awr o gyfyngder
  Fe wrendy fy llef.

1139. Swper yr Arglwydd.—M. 4.

Mi gofiaf eiriau'm Harglwydd hael
  Yr hwyr cyn cael ei hoelio;
I wledd ei swper minnau ddof,
  I wneuthur cof am dano.

Cael bwyta'i gnawd,—O gariad rhad!
  Ac yfed gwaed yr Iesu!
Pa fodd y gall fy nghalon lai
  Nâ'i wir fawrhau a'i garu.

Gwledd ydyw hon, gyfoethog hael,
  Heb ddiwedd i'w gael arni;
O pwy na ddeuai 'mlaen yn rhwydd
  I wledd yr Arglwydd Iesu!

1140. Cysgu yn y bedd.—M. 27.

Mi gysgaf hûn yn dawel
Dros ennyd yn y grafel,
Nes dadrus trefn y rhôd;
  Ac yna mewn hedd
  Mi godaf o'm bedd,
Ar ddysglaer wedd fy mhriod;—

I dderbyn nefol goron,
A gwisgo'r gwisgoedd gwynion,
A gwledda'n Sion fry:
  Heb lygredd na chlwy',
  Na gelyn byth mwy,
I dramwy yno i'm poeni.

1141. Trigfan dy Dy.—M. 6.

Mi hoffais heb wahân,
  Gael trigfan yn dy dŷ,
Lle mae danteithion per
  O frasder Canaan fry:
Preswylfa Duw sy'n hardd ei drych,
Lle gwelir gwych ogoniant gwiw.

O fewn y babell hon
  Bendithion i mi dardd;
Lle mae dy gyfraith lân
  Yn gyfan ac yn hardd:
Daeth arwydd gwaed, fy Mhrynwr gwiw,
Iawn addas yw, gan Iesu wnaed.

1142. Hyfrydwch yn Nuw.—M. 5.

Mil o felusion santaidd pur
Yn mynydd Sion geir heb gur;
Hyfrydwch bythol sydd yn Nuw,
A môr didrai o gariad yw.

Pe cawn ddiferyn bach o'i hedd,
Ymgroni wnai yn felus wledd,
Anghofio wnawn y byd a'i boen,
Gan ymddigrifo yn yr Oen.

1143. Cysur milwyr Sion.—M. 23.

Milwrio sydd raid
I'r Cristion heb baid;
Pa gyfaill a'i cynnal
Mewn rhyfel wrth raid?

Nid oes ond ei Frawd
Oddefodd y gwawd,
Wrth farw i'w achub
Ar Galfari'n dlawd.

Fy enaid bob dydd
Milwria drwy ffydd,
Ac ynddo gobeithia
Nes ennill y dydd.

1144. Milwyr Sion.—M. 10.

Milwyr Sion cym'rwn galon,
Gwisgwn arfau'r nef yn llawn,
Byddwn gedyrn yn y frwydr
Tra parhao'n byr brydnawn;
Y mae hyfryd fore tawel
Rhanu'r yspail bron gerllaw;
Melus seiniwn fuddugoliaeth,
Cyn bo hir yr ochr draw.

1145. Cyffes yr edifeiriol.—M. 9.

Mi redais tua'r fflamau,
'Doedd neb yn mron o'm blaen,
Rhyfeddu gras 'rwyf heddyw,
Na buaswn yn y tân;
Trugaredd rad yn unig
Sydd wedi'm cadw'n fyw,
Mae arnaf ddirfawr rwymau
I ganmol gras fy Nuw.

Os maddeu Ef fy meiau,
A golchi f'enaid gwan,
Os cwyd fi o'r tomenau,
Ryw foreu'n hardd i'r lan;
Mi unaf gyda'r dyrfa,
Gan gwympo wrth ei draed,
A chanu Halaluia,
Fod lle yn nhŷ fy Nhad.

1146. Rhedeg i'r noddfa.—M. 36.

Mi reda' mlaen bob enyd
Cyn fy medd, cyn fy medd
I'r noddfa am fy mywyd,—Cyn, &c.
'Does yma hir arosfa,
I neb o deulu Adda,
Ffoi wnaf i'r amddiffynfa,—Cyn, &c.
At Iesu y wir noddfa,—Cyn, &c.

1147. YR AIL RAN.

Mae arnaf eisieu beunydd,—Cyn, &c.
Cael gafael ar wir grefydd,—Cyn, &c.
Cael breintiau y cyfammod,
A'r gwaed sy'n golchi pechod
I glirio fy nghydwybod,—Cyn, &c.
A'm gwneyd yn buraidd barod—Cyn, &c.

1148. Y DRYDEDD RAN.

Ac, O nad allwn farw,—Cyn, &c.
Yn fwy i'r byd a'i elw,—Cyn, &c.
Pe cawn yr enw newydd,
O roddiad y Gwaredydd,
Na phydra yn dragywydd,—Cyn, &c.
Mi ganwn yn mhair cystudd,—Cyn, &c.

1149. Afon y bywyd.—M. 13.

Mi welaf afon bur
O ddyfroedd dysglaer iawn,
Maent fel y grisial gloyw clir
Foreuddydd a phrydnawn;
Mae mil o filoedd maith
Ar ben eu taith yn llon,
Yn moli'r Oen yn ngwlad yr hedd,
Am ryfedd rinwedd hon.

Mae Pren y Bywyd pur
Oddeutu ei glènydd hi,
Bob mis yn rhoddi ffrwythau llawn
Yn rhyfedd iawn i ni;
Daw coel-grefyddau'r byd
I lawr ryw bryd o'r bron,
A myrdd a gânt eu golchi'n rhad,
Lle byddo rhediad hon.

1150. Ffynnon o waed.—M. 3.

Mi welaf ffynnon lawn o waed
Y mwyn Immanuel mawr,
Lle gall troseddwyr mwyaf gaed
Gael bywyd ynddi'n awr.

Mae llais y nef yn galw'n awr
Drueiniaid fawr a mân,
I ddyfod iddi ar y llawr,
I'w golchi ynddi'n lân.

'Rwy'n d'od, 'rwy'n d'od, fy Arglwydd [Dduw,
I 'mofyn am y gwaed;
O golch yn lân y dua'i liw
Sy'n dysgwyl wrth dy draed.

1151. Brawd yn y nef.—M. 3.

Mi welaf gyrau gwlad y nef,
Y wlad o fewn y llen,
Y lle teyrnasa'n ffyddlawn Frawd,
Ein Priod cu, a'n Pen.

Ei foli mae y nefol lu,
Yn beraidd a chytun;
Hiraethaf innau wel'd ei wedd,
Mae'n gwisgo natur dyn.

Anfoner nerth i'm henaid cu,
Oddiwrth ei orsedd fawr,
Nes caf ymddangos ger ei fron,
Mewn harddwch mwy nâ'r wawr.

1152. Amynedd dan y groes.—M. 6.

Mi welaf Iesu fry
O du fy enaid gwan,

O'r dyfnder arno ef
 Cyfodaf lef i'r lan;
Pob peth a geisio gan ei Dad,
A roir i'r tlawd o'r nef yn rhad.

Caf weled cyn bo hir,
 Mai buddiol yw fy nghroes,
A da yw im' ei dwyn
 Yn ddystaw drwy fy oes;
Can's ar ol hyn, er ofni drwg,
Llawenydd mawr i'm rhan a ddwg.

1153. Gwlad y nef.—M. 19.

 Mi welaf wlad
Oleuedig uwch y ser,
 Lle trig y saint
Yn mynwes glyd eu Nher;
 Gwlad lonwych lawn,
Preswylfod Duw a'r Oen,
 I'r hon ni ddaw
Na thristwch, gwae, na phoen.

 Gwlad canu byth
I'r Gwr fu ar y groes,
 Dan hoelion dur
Yn dyoddef angeu loes;
 Gwlad bwrw'i lawr
Goronau heb ddim rhi',
 Wrth draed y Crist
Fu farw drosom ni.

1154. Tymhestl y nos.—M. 6.

Mi wela'r cwmwl du,
 Yn awr yn dechreu ffoi,
A gwynt y Gogledd sy
 Ychydig bach yn troi;
'Nol tymhestl fawr, daw yn y man
Ryw hyfryd hin ar f'enaid gwan.

Ac yna'n llawen iawn,
 A'm gofid dan fy nhraed,
O foreu hyd brydnawn,
 Caf brofi gwir fwynhad:
A gwledda byth yn nhŷ fy Nhad,
Ar ffrwythau'r iechydwriaeth rad.

1155. Prynwr byw.—M. 12.

Mi wn fod fy Mhrynwr yn fyw,
 A'm prynodd â thaliad mor ddrud;
Fe saif ar y ddaear, gwir yw,
 Yn niwedd holl oesoedd y byd:
Er ised, er gwaeled fy ngwedd,
 Teyrnasu mae'm Prynwr a'm Brawd,
Ac er fy malurio'n y bedd,
 Ca'i weled ef etto'n fy nghnawd.

Wel, arno bo'm golwg bob dydd,
 A'i daliad anfeidrol o werth,
Gwir Awdwr, Perffeithydd ein ffydd,
 Fe'm cynnal ar lwybrau blin serth:
Fy enaid, ymestyn yn mlaen,
 Na orphwys nes cyrhaedd y tir
Y Canaan dragwyddol ei chân,
 A'r Sabboth hyfrydol a phur.

1156. Prynwr byw.—M. 5.

Mi wn fod i mi Brynwr byw,
Pa gysur i fy enaid yw?
A byw heb ball y mae efe
Er iddo farw yn fy lle.

Byw yw, buddugodd ar y bedd,
Byw yw'n dragywydd i wneyd hedd;
Byw yw i ddangos cariad cû,
Byw yw i eiriol drosof fry.

Byw yw, rhydd im' bob peth sy raid,
Byw yw i wyliaw ar fy mhlaid,
Byw yw, clyw gwyn fy enaid gwan,
Byw yw i'm cynnal yn mhob man.

1157. Prynwr byw.—M. 5.

Mi wn fod i mi Brynwr byw,
Gorfoledd mawr fy enaid yw;
Byw yw fy Iesu yn ddilyth,
Byw yw, gogoniant iddo byth.

Byw yw fy nghyfaill ffyddlawn da,
Byw yw, fy ngharu byth a wna,
Byw yw, a thra b'o byw, rhof lef,
O fawl i'm Prynwr sy'n y nef.

1158. Eiriolwr byw.—M. 11.

Mi wn (meddai Job) fod fy Mhrynwr,
 Fy anwyl Eiriolwr yn fyw,
Er i mi falurio a huno,
 Ei weled gaf etto, gwir yw:
Fe'm cyfyd o'r beddrod i fynu,
 I hyfryd deyrnasu mewn hedd,
Er gwaeled yw'r olwg sydd arnaf,
 Caf dd'od yn ddianaf o'r bedd.

1159. Marwolaeth Crist.—M. 4.

Molaf dy ryfedd ras, O Dad!
 Rhof i fy Ngheidwad glodydd,
Dug iechydwriaeth i rai tlawd,
 Aeth dan ein gwawd a'n gw'radwydd.

Ei farwol boen, a'i gerddi byw
 A foddient Dduw yn amgen
Nâ'r udgorn gynt, na'r delyn fwyn,
 Na gwaed yr ŵyn a'r ychen.

Y saint drwy ffydd gwel'd hyn a wnânt
 A llawenhânt o'i herwydd;
Trwy'i angeu ef nesânt at Dduw,
 A byth cânt fyw yn ddedwydd.

1160. Mawl y rhai cyfiawn.—M. 16.

Molianed Sion di, O Dduw,
Cynnulleidfa y cyfiawnion yw,
 Lle mae gorseddfa'r Iôn;
Ac yno profir gwyrthiau gras,
Yn llwyr orchfygu pechod cas,
 Drwy rinwedd gwaed yr Oen.

A dyna'r fan, o dan y nef,
Mae nerth ei iechydwriaeth ef,
 Ar sail yr aberth drud—

Yn maddeu'r bai, yn rhwymo'r briw,
A gwisgo yn nghyfiawnder Duw,
A hyn o ras i gyd.

1161. Moliant Iesu.—M. 25.

Moliant Iesu fydd o hyd
I'w fynegu,
Nes daw holl deyrnasoedd byd
I'w wasanaethu;
Uned lluoedd nef a llawr
I'w fendithio;
Uchel ganwn ninnau'n awr
Foliant iddo.

Nid oes derfyn fyth i'w gael
Ar ei gariad;
Ganddo mae trysorau hael
Uwch eu dirnad;
Ynddo'i hunan y mae'n llwyr
Oll a geisiaf;
Cân fy enaid fore a hwyr
Halaluia.

1162. Iechydwriaeth rad.—M. 5

Molianu wnawn yr Arglwydd byth,
Mewn gwresog fodd, tra ynom chwyth;
Am droi ein traed o'r llwybrau gau
Sy'n dwyn i warth, a phoen, a gwae.

Dechreuad ein holl obaith yw,
Trugaredd hael ein Harglwydd Dduw;
A ddaeth trwy angeu Crist ein pen
A drengodd drosom ar y pren.

Ein henaid drwy y dwr a'r gwaed
O'i fynwes ddaeth, a gaiff lanhâd;
Ac esgyn i ogoniant cawn
I wel'd y Tad mewn heddwch llawn.

1163. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 4.

Molianwn bawb yr Arglwydd Iôn,
I ddynion mae'n ddaionus;
I'n porthwr mwy y perthyn mawl
Mewn 'madrawdd nefol medrus.

Beichiogi'n daear a wnaeth Duw
A ffrwythau amryw ffraethber;
Ac iddi hi gorch'mynodd Iôr
I esgor ar gyflawnder.

Oerni a gwres wnaent les o'i law
Y gwynt a'r gwlith-wlaw tyner;
Ac wele'r wlad o ddefnydd bwyd
A lwythwyd i halaethder.

Am ymborth genyt ti, fy Nuw,
Pob llygad byw ddysgwylia,
Ac atat ti bo'n llef ddibaid
A'n henaid ni newyna.

1164. Moli byth.—M. 5.

Molwch yr Ion,—â chalon rwydd
Cydunaf mewn fath santaidd swydd;
Yn awr, tra yn y cnawd yn byw,
A phan af adref at fy Nuw.

Moliannu fydd fy nifyr waith
Tra pery tragwyddoldeb maith;
Ni dderfydd byth fy nyddiau o glod,
Tra fyddo bywyd im' na bod.

Paham rho'f hyder ar ddyn mwy,
T'wysogion,—marw a wnant hwy!
Eu ffûn ymâd, a'u gwychder mawr,
A'u hamcan dderfydd mewn un awr.

Gwyn fyd y dyn mae'i obaith ef
Ar nawdd y Duw a wnaeth y nef;
Teyrnasu, Sion, mae dy Ion,
O mawl ef mewn tragwyddol dôn.

1165. Cnawd a gwaed Crist.—M. 4.

Molwn y gwaith, rhyfeddol yw,
A wnaeth y Duw tragwyddol;
Daeth lawr o'r nef, a rho'dd ei waed
I feithrin pryfaid marwol.

Dy waed yw'r gwin, Iachawdwr cu,
A bâr i ni adfywio,
A'th gnawd sydd nefol fwyd dilyth,
Diolchwn byth am dano.

Y fywiol wledd y'm ni'n fwynhau
Wnaed o ddefnyddiau nefol;
Ni fedd y byd ddim moethau'n siwr,
Fel eiddo'n Prynwr grasol.

1166. Swyddau Crist.—M. 4.

Molwn y Proffwyd ddygodd maes
Bob gras o'i hael drysorau;
Ei werthfawr air a'i Ysbryd cu,
A'n tywys ni i'w lwybrau.

Carwn ein Harch-offeiriad fry,
Offrymu wnaeth ei fywyd;
Bob amser mae Ef etto'n byw
I bledio â Duw o'n plegid.

Parchwn ein Brenin mawr, Mab Duw,
Mor felus yw'i orch'mynion!
Rhag pechod a thragwyddol wae,
Ein cadw mae yn ffyddlon.

1167. Amddiffynfa Sion.—M. 5.

Mor anrhydeddus ydyw'r lle,
'Ry'm ni'n addoli Brenin ne',
Nerth gras yr hollalluog Dduw
Sy'n cadw'r ddinas lle 'ry'm byw.

Agorwch byrth tragwyddol hon,
A'i drysau rho'wch ar led o'r bron;
Ac aed y genedl gyfiawn wiw
I mewn, sy'n cadw deddfau Duw.

Y rhai adwaenant enw Duw,
Sy'n ol ei air yn ufydd fyw,
Gânt yma brofi nefol wledd,
A thawel fyw mewn perffaith hedd.

1168. Ceryddon tyner Duw.—M. 5.

Mor araf yn ei lid yw Duw!
Parotach mewn trugaredd yw;

Nid hir y caiff ei ddig gyffroi,
Mae'n ebrwydd i dosturi'n troi.

Ysgafnach yw ei gosp nâ'n bai,
Yn nghanol llid mae'n trugarhau;
A thra cheryddo'i blant yn fwyn,
Ei glust a wrendy ar eu cŵyn.

Fel tad, mae'n cospi'i blant, er budd,
A thyner law a golwg brudd;
Pan wylo'r plant, a meddalhau,
Mae'i galon yntau'n trugarhau.

1169. Cynteddoedd Duw.—M. 4.

Mor deg yw'th bebyll di, O Dduw,
Mor hawddgar yw'th gynteddoedd!
Nid oes fath gu balasau gwych
Tu yma i entrych nefoedd.

Preswylfa hardd y Brenin mawr
Yw Sion werthfawr hylwydd;
Ac yno bydd ei orsedd lân,
A'i drigfan yn dragywydd.

Mae cadw drws dy deml lân
Yn llawer mwy anrhydedd,
Nâ byw'n gyfoethog gyda'r ffol
Mewn rhyw freninol annedd.

Gwyn fyd a drig o fewn dy dŷ,
Gan dy foliannu beunydd;
Caiff wisgo hardd ogoniant gwiw,
Fry gyda Duw'n dragywydd.

1170. Gorphwysiad y bedd.—M. 3.

Mor ddedwydd yw y rhai trwy ffydd
Sy'n myn'd o blith y byw;
Eu henwau'n per-arogli sydd,
A'u hûn mor dawel yw.

Ar ol eu holl flinderau dwys
Gorphwyso maent mewn hedd,
Yn mhell o swn y byd a'i bwys,
Heb boen yn llwch y bedd.

Llais un gorthrymydd byth ni ddaw
I'w deffro i wylaw mwy;
Na phrofedigaeth lem na chroes,
Un loes ni theimlant mwy.

1171. Emyn i blentyn.—M. 5.

Mor fawr, mor ogoneddus yw
Y Bôd sydd uwch y nef yn byw!
Pa fodd y cyfyd plentyn lef
Fo'n addas fawl i'w Fawredd ef?

Nis gall angylion per eu llef,
Na saint o dan nac yn y nef,
Fynegi maint ei ras a'i nerth,
Nac adrodd byth ei ryfedd werth.

Yn un â'r lluoedd nefol glân,
Dymunwn gynnyg mawl ar gân,
Clyw Ion o'i lys fabanaidd lef,
Fo'n cynnyg ei foliannu ef.

1172. Golud daioni Duw.—M. 5.

Mor fawr yw golud gràs ein Duw,
A'i roddion rhad i ddynol-ryw;
Mae'r oll a wnaeth erioed yn dda,
Yr oll mae'n wneyd, a'r oll a wna.

Cyduned teulu'r nefoedd fawr
Mewn peraidd gân â llu y llawr,
Byth, am ddaioni Tri yn Un
Yn trefnu ffordd i gadw dyn.

Bendithion ar fendithion pur,
Gwerth gwaed Immanuel a'i gur,
Sy'n llifo'n rhad lle 'ry'm yn byw,
Yn unig o ddaioni Duw.

1173. Teimlo'r pardwn.—M. 5.

Mor fawr yw'th gariad, Arglwydd ne'!
Mor nefol hefyd ydyw'r lle
Mae Iesu'n hulio santaidd wledd
O waredigol ras a hedd!

Doethineb, nerth, a chariad pur,
A gyd-ddysgleiriant yma'n glir;
A'r Iesu'n dweyd mai'i eiddo wy',
Ac yntau'n eiddo i minnau mwy.

Gan ddangos im' ei fynwes friw,
Gwel yma—medd fy Mhrynwr gwiw—
Ffynnon eich holl lawenydd chwi
Agorodd pan y trengais i.

Beth dalwn ni i Frenin nef
Am ras mor fawr â'r eiddo ef!
O caed fath gariad mawr â hwn
Ei seinio drwy'r holl fyd yn grwn.

1174. Sabbothau.—M. 3.

Mor felus hoff i'm henaid yw
Y dyddiau dedwydd hyn;
Blaenbrawf a ro'nt o'r Sabboth fry
Gaf fyth ar Sion fryn.

Dysgwyliaf, Iesu, wrth dy byrth,
Am glywed swn dy draed;
A chanu wnaf tra ar y ffordd
I'r hyfryd nefol wlad.

I'm parotoi mae'r dyddiau hyn,—
A phan yn berffaith b'wy'—
Bydd i'r Sabbothau hyn fy nwyn
I orphwys yno mwy.

1175. Bwrdd Crist.—M. 4.

Mor felus yw cylchynu'r bwrdd
Mae Crist yn cwrdd â'i bobl!
Datguddio'i gariad yma mae
A'i holl drysorau nefol.

Pan fyddom yn mwynhau mewn hedd
O felus wledd y nefoedd,
Diolch a gofyn ddylwn i—
Pa fodd ces i fy ngwahodd?

Pa'm gwnaethpwyd i mi wrando'th lais
Pan blygais i dy alwad?

A mil yn dewis trigo'n mhell
  A marw'n well nâ dwad!

O trugarha wrth bobloedd byd,
  A thyn hwy gyd o boblle;
Anfon dy nerthol air ar led,
  A dwg ddyeithriaid adre'.

1176. Angau'n agosâu.—M. 4.

Mor fuan mae blynyddoedd dyn
  O un i un yn darfod!
Mor gyflym mae plant Adda'n llu
  Yn tynu tua'r beddrod!

Prysuro mae holl ddynol-ryw
  I fyned i'w hir gartre';
O nad ystyriai pawb o'r byw
  Mor agos ydyw angeu!

1177. Duw digyfnewid.—M. 6.

Mor gyfnewidiol yw
  Meddyliau calon dyn!
Nid erys neb ond Duw
  A'i eiriau pur yr un;
Pob iod o'i gyfraith santaidd ef
Yn gadarn fydd pan ballo'r nef.

Dros dragwyddoldeb pell
  Fe bery'r Ion dilyth,
A saif ei gyngor gwell
  A'i addewidion byth;
Jehofa yw ei enw gwiw,
Ac "Ydwyf yr hwn ydwyf" yw.

1178. Pabell yr Arglwydd.—M. 5.

Mor hardd, mor deg, mor hyfryd yw,
Dy babell hawddgar di, O Dduw;
Y nef a edrych oddi draw
Ar adail lân dy Ddwyfol law.

Mae un diwrnod yn dy dŷ,
Dan dirion wen dy wyneb cu,
Yn well nâ mil mewn gwleddoedd ffol,
Sy'n gadael chwerwedd blin ar ol.

Rho i ni'r fraint o'th wel'd ar frys
O fewn dy lân fendigaid lŷs;
Prydferthwch mwya'th babell yw
Dy bresennoldeb di, O Dduw.

1179. Cariad brawdol.—M. 5.

Mor hardd yw canfod brodyr cu
  Yn byw'n gytun yn nhŷ eu Tad;
Tebygu wnant i'r teulu fry,
  Lle nad oes neb a edwyn frâd.

Cymdeithas felus rhyngddynt fydd,
  Tangnefedd hoff, dedwyddwch hir;
Os aelod geir mewn trallod prudd,
  Cyd-deimlo wna y lleill yn wir.

Doethineb, deall, ffydd, a dawn,
  Ynt oll yn llesol yn eu lle;—
Ond mwy yw cariad lawer iawn,
  Teyrnasu wna byth yn y ne'.

1180. Efengylu heddwch.—M. 5.

Mor hardd yw traed y rhei'ny sy
Yn sefyll ar fryn Sion fry;
Yn dwyn in' iechydwriaeth wiw,
A geiriau hedd oddiwrth ein Duw.

O pa mor felus ac mor fwyn
Yw y newyddion maent yn ddwyn;
Ein clustiau, dedwydd yw y rhai'n,
Sy'n gwrando'r hyfryd nefol sain.

A'n llygaid, dedwydd ynt yn wir,
Sy'n gwel'd goleuni'r nef yn glir;
Hir ddysgwyl hwn y bu'r hen saint,
Ond marw heb ei wel'd a wnaent.

1181. Talu yr adduned.—M. 4.

Mor hoff yw genyt drugarhau,
  O Dduw, wrth rai mewn adfyd;
Mor gu yw'th saint i'th olwg wiw,
  Mor werthfawr yw eu bywyd!

Yn ngwydd dy saint sy'n llenwi'th dŷ,
  Fy offrwm i a delir;
Rho'f yno yr adduned brudd
  A wnes yn nydd fy nolur.

Bellach hyd byth dy eiddo wyf,
  Ni newid mwy fy mwriad;
Datodaist rwymau 'ngofid i,
  A rhwymaist fi â'th gariad.

I ti f'adduned talu wnaf,
  A chofiaf dy raslonrwydd;
Tyst boed dy saint i'm dwyn ar go'
  Os bydd im' ado'r Arglwydd.

1182. Hyfryd byw gyda Christ.—M. 50.

Morio'n mlaen yr wyf o hyd
Tua'r ddedwydd Ganaan glud;
  Fy Nhad sydd wrth y llyw:
    O fe fydd yn hyfryd,
    Hyfryd, hyfryd, hyfryd,
    O fe fydd yn hyfryd,
  Cael y làn o'r ochr draw.

Rhwng y tònau geirwon croes,
Pwysaf ar yr hwn a roes
  Ei waed o blaid y gwan;
    O fe fydd yn hyfryd, &c.
  Cael fy mywyd gyda Christ.

1183. Cynhauaf.—M. 4.

Mor ogoneddus, Arglwydd Dduw,
  A rhyfedd yw'th ddaioni!
Ein dyddiau breuol gânt o'u bron
  A'th roddion eu coroni.

Y cynar wlaw, a'r tyner wlith,
  Ddiferant fendith ryfedd;
Y tir a rydd ei gynnyrch da,
  A'r haul gyfrana'i rinwedd,

Am ffrwythau hael y flwyddyn hon,
  A'n mhawrion drugareddau:

Molianwn enw'n Duw bob dydd,
  Gan iawn ddefnyddio'n breintiau.

1184. Iau Crist.—M. 38.

MOR ufydd aeth ein Harglwydd
Dan ddirmyg a gwaradwydd,
    Er ein gwaredu!
Ei rasol ddoeth ddybenion
Oedd agor ffordd i ddynion
    Gael eu dyddanu;
Yn wawd, ein Hiesu cu a wnawd;
    Ei ddwyfol gariad,
    Sydd uwchlaw dirnad,
    Rhoes iawn a thaliad,
  Dros bechaduriaid tlawd;
    Yn destun cân i ddynion,
  Boed gras ein tirion Frawd;
Yn glau, down ninnau dan ei iau,
    Ei enw parchwn,
    Ei ôl dilynwn,
    Ei glod mynegwn,
A chofiwn i barhau,
  Y bydd ei weision ufydd
Yn ddedwydd yn ddiau.

1185. Marwolaeth cyfeillion.—M. 5.

MOR wael yw dyn a'i fywyd ef,
Y dyn anwylaf dan y nef,
Y gruddiau hoff, a'r agwedd hardd
Nid y'nt ond fel blodeuyn gardd.

Gwynfyd yr enaid pur a aeth
Yn rhydd o'r corff llygredig caeth,
I'r nefoedd fry fyth yno i fyw
Yn nefol hoff gymdeithas Duw.

O am gael gwel'd, fel Moses gu,
Odidog fro y Ganaan frŷ;
A gorphen fel y proffwyd gwiw,
Fy athrist daith ar fynwes Duw.

1186. Serch at greaduriaid.—M. 5.

MOR wag yw'r oll sydd yn y byd,
Twyllodrus yw ei decaf bryd;
Yn mhob melusion gwenwyn sydd;
Mae dan ei flodau faglau cudd.

Y tlws dysgleiriaf dan y nef,
Rhyw lewyrch gau a ddyry ef;
Ofnwn fod perygl yn nesâu,
Os gwên deg fyddwn yn fwynhâu.

Hawddgarwch pur fy Iesu cu
Byth f'o hyfrydwch f'enaid i;
A'i ras a dyno'm serch i gyd
Oddiwrth deganau gwael y byd.

1187. Rhagluniaeth a gras.—M. 5.

MOR werthfawr yw dy ras, O Dduw,
  Ein gobaith yw a'n cysur ni;
Plant Adda ffŷ mewn cyfyng fyd,
  Dan gysgod clyd d'adenydd di.

Mwyn yw'th Ragluniaeth di a hael,
  Dyn ac anifail cedwi hwy;
Yr holl fyd dan dy ofal maent,
  Ond am dy saint gofeli'n fwy.

O arlwyadau dy dŷ llawn
  Ein porthi gawn â melus wledd;
Trugaredd rêd fel afon faith
  O iechydwriaeth ac o hedd.

1188. Braint y seintiau.—M. 4.

MOR wynfydedig yw'r holl saint!
  Mor fawr yw braint y cyfryw!
Crist yw eu cân, Crist yw eu rhan,
  A'r nef eu trigfan ydyw.

Pa bryd y gwawria'r dydd, fy Nuw,
  Caf finnau fyw heb bechod,
A gweled gwedd ei wyneb ef,
  O fewn y nefoedd uchod.

1189. Dydd nerth Iesu.—M. 17.

    MWY, mwy,
Na dim yw concwest dwyfol glwy',
Mae'n ennill tir, hi gyrhaedd trwy
  Galonau fwy nâ gwlith y wawr;
Yn nydd ei nerth, yn llawn o'i hedd,
  Ac ar ei wedd, bydd tyrfa fawr.

    Yn awr,
Addfwynaf Iesu tyr'd i lawr,
Helaetha dy freniniaeth fawr;
  Doed dedwydd awr, iachusol ddydd,
I'r carcharorion fyn'd trwy ras,
  O'u dalfa gas, yn hollol rydd.

1190. Mwy nâ choncwerwyr.—M. 2.

  MWY nâ choncwerwyr fydd
    Holl etifeddion Duw;
  Ac yn ei allu ef daw'r gwan
    Trwy ffydd i'r làn yn fyw.

  Yn nyfnder dŵr a thân,
    Rhydd nerth wrth raid i'r gwan,
  Ac er pob croes a braw a gânt
    Gorchfygant yn y man.

  A chânant oll heb daw
    Y dydd a ddaw, am nerth
  Yr hwn a'u daliodd i barhau
    I ddringo'r rhiwiau serth.

1191. Teilwng yw'r Oen.—M. 3.

  MWYN dery yr angylion fry
    Eu tànau yn gytun;
  Deng mil o filoedd yw eu cân
    Er hyn nid yw ond un.

  Os ydyw'r Oen fu farw'n sail
    Eu holl ganiadau hwy,
  Mae'n haeddu, am farw drosom ni,
    Ein mawl, fil miloedd mwy.

  Efe yn unig bia'r mawl
    Drwy ddwyfol hawl ddilyth,
  A chlod uwchlaw a allwn ni
    Dderchafu iddo byth.

Cyduned pob creadur byw
Uwchlaw, ac îs y nen,
I roddi'n llon, can's teilwng yw,
Y goron ar ei ben.

1192. Llwyddiant yr anwir.—M. 2.

Myfi mewn dagrau llawn,
I amheu 'r awn yn brysur;
Oes Duw a glyw, neu wel heb gudd,
Y pethau sydd îs awyr.

Terfysgau'm meddwl gwan
A'm cadwent dan betrusder
Nes aethum i'th gyssegroedd di
I ddysgu dy gyfiawnder.

Diau fod cyfiawn Dduw,
Nad ydyw crefydd ofer,
Er gall yr anwir lawenhau
A grasol rai mewn blinder.

1193. YR AIL RAN.

Dy air, mewn eglur fodd,
Ddiwygiodd f'amryfusedd;
Gwelais eu bywyd gwych cyn hyn,
Ond yma'n syn eu diwedd.

Fy Nuw, ymostwng rwy',
Fy nghalon mwy nis grwgnach;
Fy nerth a'm rhan a'm bywyd i
Y galwaf fi di bellach.

1194. Mab afradlon.—M. 38.

Myfi yw'r mab afradlon,
Mi rodiais lwybrau ceimion,
Nid union oeddynt;
O wlad y llwydd a'r llawnder
I wlad y brâd a'r prinder,
O ofer helynt!
Mi ês, ond ynfyd iawn y gwnes,
I ddilyn cibau,
A phorthi nwydau
Fy hen drachwantau,
Mewn eisieu o'r diwedd dês,
Er ceisio tori'm newyn
Nid oeddwn ronyn nes;
Mae'n bryd i droi o gyrau'r byd;
Er culni'm calon,
Trwy fyw'n afradlon,
Mae bara ddigon
Yn nhŷ fy Nhad o hyd,
Af ato, caf drugaredd,
Er dilyn camwedd cyd.

1195. Hiraeth am y nef.—M. 29.

Myfyrio am fyn'd sydd felus iawn,
I'r pur ardaloedd hyfryd llawn,
Mae fy enaid am gyn'fino ei ddawn,
Gan chware'i aden wan:
Fel pe b'ai am anturio'n hy'
Trwy ganol y cymylau fry,
A 'hedeg mewn i blith y llu
Sydd wedi cael y làn.

1196. Diwedd diwrnod.—M. 5.

Myn'd heibio mae ein dynol daith,
Nid yw ein tymhor yma'n faith,
Prysuro'r ydym oll bob pryd
O farwol i anfarwol fyd.

Pob anghenrheidiau, Naf a'u rhoes
At gynnal a dyddanu'n hoes,
A milwaith mwy, mae'n ranu'n awr
Fendithion iechydwriaeth fawr.

Derbyniwn mewn parodrwydd llon,
Yr iechydwriaeth werthfawr hon,
Na charwn weigion bethau'r byd,
Ond rho'wn ar Brynwr hedd ein bryd.

1197. Afradloniaid.—M. 25.

Myned wnaf, dan godi'm llef,
A chyfadde';
Pechu wnes yn erbyn nef,
O'th flaen dithau;
Nid wyf deilwng fab i ti,
Dad trugarog;
Rho le i mi yn dy dŷ
Fel gwas cyflog.

Afradloniaid, at eich Tad
Dewch, a chroeso;
A fu yn mhell o dir eich gwlad
Yn cyrwydro;
Mae'r llo pasgedig wedi ei ladd,
Ni gawn wledda;
Ac mae'r gweision etto'n gwa'dd,
Halaluia.

1198. Duwdod y Mab.—M. 5.

Myrdd o gerubiaid dysglaer sy
O gylch y ddwyfol orsedd fry;
Ond pwy o blant goleuni'n awr,
Gystadla â'r Jehofa mawr?

Ond y mae un fel dyn a gaed,—
Yr Iesu wisgodd gig a gwaed,—
Ei dybio byth yn drais nid yw
I gleimio bod goguwch â Duw.

Am hyn i Grist rhoed pawb o'r saint
Barch ac addoliad yr un faint;
Moled angylion Ef bob rhyw,
Addefed pawb ei fod E'n Dduw.

1199. Gwagedd golud.—M. 11.

Na alw ar dy enw dy hunan,
Mo'th drigfan, ddyn egwan o nerth;
Wrth groesi yr afon rhwng deu-fyd,
Ni bydd yn y golud ddim gwerth:
Cyn hir fe dy nesir yn isel,
Rhaid 'madael o afael y byd,
Yn rhwym fel y ddafad cei ddyfod
I waelod dy feddrod yn fud.

Gweddïwn ar Dduw am faddeuant
Trwy haeddiant Tywysog yr hedd;
Derbyniwn E'n Gyfaill a Phriod,
Yn barod, cyn myned i'r bedd:

Yn amser blin adfyd nid ofnwn,
  Ein goglud a roddwn ar Dduw;
Pan fyddo'n gelynion yn danbaid,
  Fe geidw ein henaid yn fyw.

1200. Rhwydau Satan.—M. 9.

Nac amheu mwy, gredadyn,
  Bu'r Iesu yn dy le,
Yn talu'r dirfawr ddyled
  Rhwng daear lawr a'r ne';
Os prynodd ef dy enaid
  A'r aberth mwyaf drud,
Ni phalla un drugaredd
  Sydd eisieu yn y byd.

Mae yma fôr o gysur
  Yn llifo i fy rhan,
Er bod holl rwydau Satan
  Yn erbyn f'enaid gwan;
Bwriadwyd oll eu tòri,
  A'r bwriad ddaw i ben,
Mor wir â'r bwriad hwnw
  O farw ar y pren.

1201. Rhyfel ysbrydol.—M. 5.

Nac ofna f'enaid, fynu c'od,
Am danat arfau'r nefoedd dod;
Dos tua'r nefol byrth yn mlaen,
Lle'r aeth dy Gadben Iesu glân.

Uffern a phechod a'th wrthsai',
Ond maeddodd Crist y cyfryw rai;
Ac wrth ei groes fe'u hoeliodd hwy,
Gorchfygu'r saint nis gallant mwy.

Am hyny f'enaid pwysa'n hy',
Yn mlaen tua phorth y nefoedd fry,
Mae yno hedd a gwynfyd hael,
A gwisgoedd heirdd i orchfygwyr gael.

Caf yno wisgo coron wiw,
A gorfoleddu yn ngras fy Nuw;
A moli wna'r holl nefol lu
Fy Arweinydd gogoneddus fry.

1202. Gweddi a gobaith.—M. 4.

Na chudd dy wyneb, Arglwydd da,
  A'm henaid na fwr' ymaith;
Duw f'einioes wyt, ac atat dof,
  Mewn dydd o brofedigaeth.

Pe bai i geraint agos cu
  Fy ngado i drengu o eisiau,
Fe gofiai Duw am danaf fi,
  Cyflawnai fy holl reidiau.

O saint, ymro'wch, na fyddwch swrth,
  Dysgwyliwch wrth Dduw'n wastad;
Pan laeso'ch hysbryd, fe'i cryfha
  Yn amgen na'ch dysgwyliad.

1203. Arddel Iesu.—M. 10.

Na ch'wilyddiwn arddel Iesu
  A'i efengyl yn y byd;
Ymwrolwn, gwnawn ein gôreu
  Dros ei enw ef o hyd:

Gallu Duw er iechydwriaeth
  Yw'r efengyl hon i ni,
Credu'n unig sydd yn eisiau
  Er in' gael o'i breintiau hi.

'Nabod Iesu Grist yn gyfaill
  Wyf am gael i'm henaid tlawd;
Cyfaill cywir, tirion, cadarn,
  Cyfaill lŷn yn well nâ brawd:
Ar ei aberth 'rwyf am orphwys,
  Dan ei nodded 'rwyf am fod,
Os ca'i f'achub drwy ei haeddiant
  Caiff ei enw fythol glod.

1204. Bywyd o Ffydd.—M. 20.

Na foed genyf bleser
  Tra byddwyf fi byw
Ond rhedeg fy ngyrfa
  I foddio fy Nuw:
Fy mywyd boed bellach
  Yn fywyd o ffydd,
A'i ddeddfau i'm henaid
  Fo'n hyfryd bob dydd.

Y clod, y gogoniant,
  A'r nerth o bob rhyw,
A redo fel moroedd
  I enw fy Nuw:
Y dechreu a'r diwedd,
  O'r ddaear i'r nef,
O ras ac o haeddiant,
  Yn unig yw Ef.

1205. Iechydwriaeth dros y byd.—M. 5.

Na fydded ardal, cyn bo hir,
O'r dwyrain i'r gorllewin dir,
Heb fod yr iechydwriaeth ddrud,
Yn llanw cyrau rhai'n i gyd.

O tyr'd i ben ddedwyddaf ddydd,
Y derfydd son am bethau sydd,—
Am fyd, a'i rwysg, a'i wae, a'i boen,
Ond canu byth am waed yr Oen.

Ar Galfari boddlonodd ef,
Ofynion trymaf deddf y nef,
Yn awr gall carcharorion prudd,
Yn llawen hyfryd dd'od yn rhydd.

1206. Marwolaeth y credadyn.—M. 10.

Na thrymhaer fy nghalon mwyach
  Gan drafferthon oer y byd,
Na letyed ei ofalon
  Byth, ond hyny yn fy mryd;
Pa'm 'r edrychaf gyda hoffder
  Ar deganau gwael eu llun?
Alltud ydwyf a phererin
  Sydd yn mhell o'i wlad ei hun.

Clywaf gyda'r awel deneu,
  Adsain mwyn hyfryda' 'rioed,—
Sain olwynion rhyw gerbydau,—
  Iesu'n ddiau sydd yn d'od;
Ffarwel, fyd twyllodrus dengar,
  Aeth fy mryd i'r nefoedd draw;

Cerbyd Israel a'i farchogion
 Ddaw i'm cyrchu maes o law.

1207. Eiriolaeth yr Oen.—M. 34.

'Nawr ar ddeheulaw'r Tad,
Yn dadlu gwerth ei waed,
 Mae'r Oen dinam
Yn eiriol am iachad:
I rai anafus clwyfus iawn
Y rhoddir iechydwriaeth lawn,
 Trwy waed yr Aberth hwnw
Fu farw un prydnawn.

1208. Cartrefle nefol.—M. 21.

'Nawr 'rwy'n gwel'd yr ardal hyfryd,
Hen gartrefle fy Anwylyd;
Gwlad lle mae pob rhyw gysuron
Yn llifeirio fel yr afon.

Ffarwel, bellach, hen bleserau,
Dwyllodd f'ysbryd fil o weithiau;
Cefais bleser canmil purach
Na ddaw o'i ganlyn ofid mwyach.

Nef na daear byth ni phrisia',
Y perl a ge's, mae'n well nâ'r India;
Iesu a'i drysor, yw ei sylwedd,
Nef y nefoedd yn y diwedd.

1209. Marwolaeth baban.—M. 5.

Na wyled neb yn wael eu gwedd
Am roi babanod yn y bedd;
Maent wedi dedwydd gario'r dydd,
A'u traed o'r rhwyd yn ddigon rhydd.

Nid oes un angel yn y nef
Ddyrchafa gân yn uwch ei lef,
Nâ'r baban gwan a wnaed yn wyn
Drwy ffynnon fawr Calfaria fryn.

1210. Angeu'r saint.—M. 28.

Na wylwn mwy ar ol
 Y duwiol rai;
Maent gyda Duw a'r Oen,
 Heb boen na bai;
Uwchlaw gofidiau'r byd
 Y maent i gyd ar gael;
Mwynhant dragwyddol wledd
 Mewn hedd yn hael.

O Gristion, er dy bla,
 Nac ofna di
Rhag angeu llym; pan ddel,
 Gwel Galfari;
Dy Iesu ar y groes
 A droes ei niwed draw,
I'th ddwyn trwy'r glyn yn glau
 E'n ddiau ddaw.

1211. Llef am gymhorth.—M. 35.

Nerth i mi, Arglwydd, d'od,
 I rodio er dy glod,
A byw drwy ffydd, o ddydd i ddydd,
 Gan estyn at y nôd;
Cael treulio'm hoes, i Grist a'i groes,
 Er pob rhyw loes, a chlwy';
A byw heb wâd, i roi mawrhâd
I gariad rhad, fy Iesu mâd,
 Fydd fy nymuniad mwy.

1212. Addewid i blant.—M. 4.

Nesaed holl belledigion byd
 A'u plant yn nghyd at Iesu;
Mae'r hwn fu'n gwisgo'r goron ddrain
 Yn galw'r rhai'n i nesu.

Ceir drwy ei Aberth ef a'i waed
 Gyfiawnder rhad i'r truan;
Ac am ei ras boed bythol fri
 Caed modd i olchi baban.

Nid rhaid enwaedu gweiniaid mwy
 Caed modd trwy waed Calfaria,
I ddwyn at Dduw rai pell a'u hâd,
 A maddeu'n rhâd y beiau.

1213. Ystyried y diwedd.—M. 4.

Nesau mae byd o hir barhâd,
 Nid oes diweddiad iddo;
Fy enaid dwys, ystyria'n syn
 Dy gyflwr, cyn myn'd yno.

Rho'th bwys ar angeu Iesu Grist,
 Bu farw'n drist dros bechôd;
Dy feiau cladder yn ei fedd,
 A dos mewn hedd i'th feddrod.

Ffydd ynddo rydd i enaid gwan
 Anadliad dan bob adfyd;
Gwna bont uwch dychryniadau'r bedd
 I ddyn ar ddiwedd bywyd.

1214. Nerthoedd yr Ysbryd.—M. 7.

Nerthoedd y tragwyddol Ysbryd,
 Yn rhinweddau'r dwyfol Iawn,
Wna i'r fynwes ddiffaith anial
 Hardd ffrwythloni'n hyfryd iawn
 O holl rasau
Per blanhigion nefol wlad.

Hen erlidwyr Salem waedlyd,
 Rhai fu'n bloeddio ag un lef,
Am Dywysog mawr y bywyd—
 "Ymaith—O croeshoelier ef"—
 Gwnaeth i'r *rhei'ny*
Wylo edifeirwch pur.

Os disgyni, addfwyn Ysbryd,
 I fynwesau fel rhai hyn,
A'u haddurno â phur ddelw
 Y Gwr fu farw ar y bryn,
 Mawl a seinia
Drwy y nefoedd fawr am hyn.

1215. Canlyn Iesu.—M. 7,

Nerth os caf, gadawaf bob-peth,
 Iesu da, i'th ddilyn di;
Boed i'r meirw gladdu'u meirw,
 Nid yw hyny ddim i mi.

Canlyn Iesu
Wyf am wneyd tra byddwyf byw.

Mae cyflawnder o fendithion
Ynot i'r anghenus rai;
Gras a chariad fel y moroedd,
Heb ddim terfyn byth na thrai.
Fy nymuniad
Yw ymnerthu yn dy ras.

1216. Newyddion braf.—M. 5.

Newyddion braf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddent gael eu dwyn ar go',
Fod Iesu wedi cario'r dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

Mae Iesu Grist o'n hochr ni,
Fe gollodd ef ei waed yn lli',
Trwy rinwedd hwn fe'n dwg yn iach
I'r ochr draw 'mhen gronyn bach.

Fy Iesu garaf bellach mwy,
Dyoddefodd drosof farwol glwy';
Fy mhriod hynod yw o hyd,
A'm cyfaill goreu yn y byd.

1217. Gallu yr efengyl.—M. 5.

Newyddion da o gariad mawr,
O'r nef anfonwyd i ni lawr—
Efengyl Duw i ddangos ma's
Beth all ei Hollalluog ras.

Ffordd yw o drefniad Duw ei hun,
I wella anwyl enaid dyn:
Yr unig Falm rhinweddol yw,
All lwyr iachâu clwyf dynol-ryw.

Eirch hon i'r meirw godi'n fyw
A hwythau glywant lais Mab Duw;
Yr esgyrn sychion a fywheir,
A thoddi'r galon gâreg wneir.

1218. Cofio chwys yr ardd.—M. 25.

Ni anghofir chwys yr ardd
A'r griddfanau;
Gwlychwyd yno wyneb hardd
Crist â dagrau;
Ffrwyth rhyfeddol ddaw o hyn,
Y cynhaua';
Cenir am Galfaria fryn,
Halaluia.

Iesu yn athrawiaeth gras
A ddyrchefir;
Trwy holl gonglau'r ddaear las
Fe'i pregethir;
Cafwyd bywyd a iachâd
Drwy ei boenau;
Cesglir adref o bob gwlad
Ffrwyth ei angau.

1219. Diangfa drwy'r Iawn.—M. 9.

Ni buasai genyf obaith
Am ddim ond fflamiau syth,
Y pryf nad yw yn marw,
A'r t'w'llwch dudew byth;
Oni buasai i'r hwn a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari,
O ryw anfeidrol gariad
I gofio am danaf fi.

Mi welaf yn ei fywyd,
Y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angeu'r taliad
A roddwyd drosof fi;
Yn ei esgyniad gwelaf
Drigfanau pur y nef;
A'r wledd dragwyddol berffaith
Gaf yno gydag ef.

1220. Genedigaeth Iesu.—M. 30.

Ni chafodd Brenin nef,
Y dydd y ganwyd ef,
Un cartref gwych:
O'r fath ryfeddod fawr,
Etifedd nef a llawr
A gaed, cyn tôri'r wawr,
Yn llety'r ych!

Ond cododd goleu mawr
Ar deulu daear lawr,
Yn awr o'r nef;
Am lawer oes, fe fu
Yn gaeth liosog lu,
Tan gysgod angeu du,
Nes ganwyd ef.

1221. Digonedd diball.—M. 3.

Ni chaiff fod eisiau byth na thrai,
Tra seren yn y nef,
Ar neb o'r rhai a ro'nt eu pwys
Ar ei gyfiawnder ef.

Mae'i drugareddau, yn ddiball,
Yn llanw'r ddaear faith;
Nid oes na dyn na dawn a all
Eu dweyd na'u rhifo chwaith.

O gâd im' brofi'th nefol hedd
Yn mhob anadliad pur;
Ac felly myn'd o'r byd i'r bedd
Mewn hûn nefolaidd wir.

1222. Braint y saint.—M. 13.

Ni chaiff y dyfroedd maith
Ddim rhwystro'n taith yn mlaen,
Fe grona'r dwr, fe hyllt pob bryn,
Fe ddiffydd grym y tân:
Nid oes a fedd fath fraint
A'r saint o dan y nef,
Hwy gânt eu dwyn trwy lif a thân
Yn union ato ef.

Ni deithiwn yn y blaen,
Cawn wel'd y Ganaan wiw,
A gwledda gyda'r dorf sy'n un,
A'u gynau'n wyn eu lliw;

Cawn fyn'd i mewn i'w plith,
Ac yfed byth o'u hedd;
Anfeidrol gariad perffaith gwiw,
Tragwyddol yw y wledd.

1223. Gweddi am ddoethineb.—M. 4.

Ni cheisiaf aur, na bri, na nerth,
Na diwerth fwyniant bydol;
Fy enaid gais ragorach rhan,
Nâ seirian rwysg breninol.

Ond dwyfol werthfawrocach rodd,
Mewn taerfodd wyf yn geisio;
Ac, O fy Nuw! erglyw fy nghri,
A dyro i mi hòno.

Fel arwydd hoff o'th gariad hael,
Rho i mi gael *doethineb:*
Nid oes ond hon a ddwg i'm rhan
Ddedwyddawl anfarwoldeb.

1224. Dadleuwr llwyddiannus.—M. 9.

Ni cheisiaf, er mor euog,
Ond Crist i bledio'm cwyn,
Y Cyfiawn dros anghyfiawn,
Fu farw er fy mwyn:
Yn ymchwydd yr Iorddonen,
Ac yn y farn a ddaw,
Diangol yn y diwedd
A fyddaf yn ei law.

Fe dderfydd i mi bechu,
Iacheir yn lân fy nghlwy',
Ond byth ni dderfydd canu
Am faddeu pechod mwy;
Caf wledd ar fynydd Sion,
Dragwyddol bur ddilyth,
Ac uchel seinio concwest,
Heb boen i'm blino byth.

1225. Dyfnder angeu loes.—M. 10.

Nid all doniau sant na seraph
Draethu dyfnder angeu loes,
Pan ymroddai'r Cyfiawn hwnw
Gynt, i farw ar y groes;
Cofio'r gwaed a lifodd yno,
Cofio clwyfo'r Iesu glân,
Cofio gras ei Iawn anfeidrol,
Ennyn ynom fythol gân.

1226. Môr i guddio bai.—M. 10.

Nid all moroedd mawrion llydain
Guddio pechod o unrhyw,
Ac nis gwnaeth y diluw cadarn
Ei foddi'n wir, mae'n awr yn fyw;
Ond gwaed yr Oen fu ar Galfaria,
Haeddiant Crist a'i farwol glwy',
Yw y môr lle caiff ei guddio
Byth, na welir mo'no mwy.

Ffrydiau tawel byw rhedegog,
O dan riniog tŷ fy Nuw,
Sydd yn llanw ac yn llifo
O fendithion o bob rhyw;
Dyfroedd gloyw fel y grisial,
Olcha'r euog, nertha'r gwan,
Ac a gàna'r Ethiop duaf
Fel yr eira yn y man.

1227. Caru'r Anweledig.—M. 4.

Nid â'r golygon marwol hyn
Mae modd in' wel'd yr Iesu;
Ond golwg ffydd a'n dwg yn glau
I lawenhau, a'i garu.

Nis gwelwn ar y ddaear hon
Mo wyneb llon ein Ceidwad;
Ond ein hyfrydwch ni bob cam
Fo meddwl am ei gariad.

A phan y bo'm yn profi'n wir
Ei gariad pur oddiuchod,
Ein henaid sydd yn llawenhau,
A'r nef sy'n dechreu isod.

1228. Swper Crist.—M. 4.

Nid bara a gwin daearol gwan
A bortha'n rhan ysbrydol;
Nid ynt i ffydd ond arwydd dda
O Grist, y Bara buwiol.

Ei gnawd a'i waed sydd ymborth pur
I'r nefol natur newydd;
Ond gwledda arno ni gawn fyw
Fry gyda Duw'n dragywydd.

1229. Gwaed digonol.—M. 5.

Nid gwaed aderyn, oen, nac ŷch,
Nac isop, nac offeiriad gwych,
Na nant redegog, môr, na lli',
All olchi fy halogrwydd i.

Ond, Iesu, yn dy waed y mae
Digonol rinwedd i'm glanhau;
A hwn a'm gylch fel eira gwyn,
Cysgodau Iuddewig ni wnaent hyn.

I'm cnawd a'm henaid nid oes hedd
Gan flin euogrwydd, mewn un wedd:
Ond pâr hoff lais dy bardwn clau
I'm hesgyrn drylliog lawenhau.

1230. Aberth llawn.—M. 4.

Nid gwaed 'nifeiliaid fawr na mân
Olchasai'n lân gydwybod;
Ond Crist a roddodd aberth llawn,
Gwnaeth hollol iawn am bechod.

Daeth i ni iechydwriaeth lân,
A theyrnas Satan siglwyd;
Trwy addawedig Had y wraig
Pen yr hen ddraig a ddrylliwyd.

1231. Ffydd yn aberth Crist.—M. 4.

Nid gwaed yr holl gre'duriaid gwâr
A laddwyd ar allorau,
Ro'i i gydwybod euog hedd,
A'i llygredd a olchasai.

Ond Crist, Oen Duw, ddilëa'n lân
Ein llygredd a'n hanwiredd;
Rhagorach Aberth wnaeth nâ hwy,
A gwaed myrdd mwy ei rinwedd.

Fy ffydd all ddodi 'i llaw yn hy'
Ar ben yr Iesu grasol,
Tra b'wy'n cyfadde'm bai ar led
O'i flaen yn edifeiriol.

Fy enaid syllu beunydd mae
Ar groes a beichiau'm Harglwydd,
Mewn gobaith cadarn iddo fo
Ddwyn yno fy euogrwydd.

1232. Anfoniad Crist i'r byd.—M. 5.

NID i gondemnio dynol-ryw
Yr ymddangosodd Crist, Mab Duw;
Un arf ni welwyd yn ei law,
Na thanllyd gledd i beri braw.

Ond cymmaint oedd tosturi Duw,
A'i gariad rhad at ddynol-ryw,
Nes rhoddi ei Fab i ddwyn ein bai,
A chadw'n henaid rhag y gwae.

Dewch, bechaduriaid, at Fab Duw,
I gredu ynddo, a bythol fyw;
Cysuron fil o'i enau ddaw,
Bendithion fyrdd a rydd ei law.

1233. Sinai a Sïon.—M. 4.

NID nesu 'ry'm drwy dân a mwg
At Dduw mewn gwg ar Sinai;
Ond daethom i fryn Sion wiw,
Lle mae ein Duw yn maddau.

At lu angylaidd, llariaidd, llon,
Mewn gwisgoedd gwynion hyfryd;
Ac at ysbrydoedd dedwydd iawn,
Yr holl gyfiawnion hefyd.

Y saint drwy'r nef a'r llawr nid yn'
Yn gwneyd ond un cymundeb;
Yn Nghrist eu Pen oll uno wnant,
O'i rinwedd cânt gyflawndeb.

Mewn hardd gymdeithas o'r fath rin,
Mae f'enaid blin am aros;
A rhaid mai dyn dedwyddol yw
A ddel at Dduw mor agos.

1234. Mwynhad o Grist.—M. 7.

NID oes arnaf faich yn gorphwys,
Dim ond eisieu dy fwynhau;
Nid oes arall dan y nefoedd
All yn hollol fy iachau:
Dyna'r nefoedd, &c.
Wyf am gael tu yma i'r bedd.

Boed fy nghalon i ti'n drigfa,
Arglwydd, aros yno byth;
Ac o fewn fy ysbryd egwan,
Gwna'th breswylfa bur ddilyth:
Gwledd wastadol, &c.
Fydd dy bresennoldeb im'.

1235. Llyncu angeu.—M. 3.

NID oes a gynnal f'enaid gwan,
Yn nyfnder adfyd trist,
Ond cofio llyncu angeu du
Yn angeu Iesu Grist.

Gorchfygodd angeu, er ei rym,
Wrth farw ar y groes;
A'i heddwch ef sydd ddigon im'
Yn ngwyneb pob rhyw loes.

1236. Myfyrio wrth y groes.—M. 16.

NID oes a ylch fy enaid du,
Ond afon waedlyd Calfari,
Yn lân fel eira gwyn;
Nid oes a'm nertha ar fy nhaith,
Dros riwiau serth yr anial maith,
Ond croes Calfaria fryn.

O na chawn bellach dreulio f'oes
Mewn myfyr santaidd wrth y groes,
Ar ben Calfaria fryn.
Yn mhen rhyw oesoedd maith diri',
Fy nghân fydd angeu Calfari,
A'r ryfedd goncwest hyn.

1237. Diderfyn fendithion.—M. 17.

NID oes,
Ni fu, ni ddaw mewn unrhyw oes
O gymmaint gwerth â gwaed y groes,
Y ddwyfol loes ga'dd Brenin nef;
O gariad mawr! diderfyn stor
Sydd fel y môr byth ynddo ef.

Pwy, pwy
Ymguddiodd yn ei ddwyfol glwy',
Ac yna fethodd dori trwy
Gystuddiau mwy nâ gwellt y maes?
Mae'r fuddugoliaeth fawr yn d'od
Hyd yma erioed trwy rym ei ras.

1238. Gwaredigaeth Sïon.—M. 6.

NID oes o fewn y byd
Ond gofid i barhau;
Ond derfydd hyn i gyd,
Mae'r amser yn nesâu:
Er gwaetha'r llid, daw Sion wan
O ddyffryn adfyd trist i'r lan.

O fewn y nefoedd lon
Bydd hon yn berffaith rydd;
Ar bob rhyw elyn cas
Ennilla'r maes ryw ddydd:
Yn mysg y llu sy'n ddysglaer wyn,
Hi fydd yn lân ar Sion fryn.

1239. Arweinydd y credadyn.—M. 29.

NID oes ond Crist fu ar y groes,
Yn dyoddef drosof farwol loes,
A'm deil yn ngwyneb drygau f'oes,
Nes daw fy nhaith i ben;

Ond tywys ef fi yn ei law
Er pob rhyw ddrygau sydd neu ddaw,
Nes dianc adre'n iach heb fraw
I'r wlad tu draw i'r llen.

O dyma gysur f'enaid gwan,
A dyma ddigon yn mhob man,
A dyma fydd fy mythol ran,
A sail fy nghysur mwy.
Ac nid oes enw dan y rhod,
Nac enw arall byth i fod
Im' dynu ato fel fy nôd—
Ond Crist a'i farwol glwy.'

1240. Digonedd yn Nuw.—M. 29.

Nid oes ond f'Arglwydd mawr ei ddawn
A wna fy enaid llesg yn llawn,
Nis gallwn gynnal mwy pe cawn,
Mae ef yn ddigon mawr:
Digonedd pob digonedd yw
Dy hyfryd bresennoldeb gwiw;
Yn angeu ceidw hyn fi'n fyw,
A boddlon wyf fi'n awr.

1241. Gwaed anifeiliaid.—M. 20.

Nid oes ond y ffynnon
Anfeidrol ei rhin,
A'm gylch fel yr eira,
A'm llona fel gwin;
Ei phrofi'n sylweddol,
Effeithiol drwy ffydd,
A'm dwg yn ddiogel
Drwy'r rhyfel yn rhydd.

Nid allai'r holl foroedd
Byth olchi fy mriw,
Na gwaed anifeiliaid,
Er amled eu rhyw,
Ond gwaed y Messia
A'm gwella'n ddiboen,
Rhyfeddol yw rhinwedd
Marwolaeth yr Oen.

1242. Cysgod a noddfa.—M. 34.

Nid oes orphwysfa glyd,
Na noddfa yn y byd,
I'r gwan i'w gael,
Ond Iesu hael o hyd:
Mae yno gysgod nos a dydd,
A lle i droi a ffoi drwy ffydd,
Ac ni ddaw unrhyw niwaid
I'r enaid yno fydd.

1243. Eilunod yn ddim.—M. 10.

Nid oes wrthddrych ar y ddaear
Leinw'm henaid gwerthfawr drud,
Fy holl bleser a'm dyddanwch
Ydyw gwedd dy wyneb pryd;
Gwedd dy wyneb ysgar rhyngwyf
A phob eilun ar y llawr;
Nid yw enwau câr na chyfaill
Ddim i mi wrth d'enw mawr.

Coded heulwen ar fy enaid,
Blinais ganwaith ar y nos;
Nid yw'm hawddfyd, na'm pleserau,
Na'm heilunod, ond fy nghroes:
Mynwes Iesu yw'm dedwyddwch,
Yno 'rwy'n dymuno bod;
Gall ei gariad dwyfol perffaith
Roi pob eilun dan fy nhroed.

1244. Llawenydd y nef.—M. 25.

Nid oes yma ond dafnau mân
O'r llawenydd,
Sydd yn ninas Salem lân
Yn dragywydd;
Môr o gariad yno gawn,
A gorfoledd,
A thangnefedd melus iawn,
Yn ddiddiwedd.

1245. Buddugoliaeth ffydd.—M. 3.

Nid ofna'i'r byd, nid ofna'i'r bedd,
Ond profi'th hedd a'th rym;
Fy ofnau'n llwyr, ond gwel'd dy wedd,
A ddont i lawr yn ddim.

O anghrediniaeth mawr dy rym,
Ti roddaist i mi glwy':
Ond yn dy wyneb credu wnaf
Fod doniau'r nef yn fwy.

Fe'm purir gan fy nghystudd trwm
Fel aur mewn pair o dân;
Ac allan dof, pan ddel y dydd,
Yn bur a pherffaith lân.

1246. Ymffrost yn y groes.—M. 5.

Nid ymddiriedaf tra b'wyf byw,
Ond yn dy angeu di, fy Nuw;
Dy boenau a dy farwol glwy'
Gaiff fod yn ymffrost i mi mwy.

Nid oes im' eisiau yn y byd
Ond golwg ar dy haeddiant drud;
A chael rhyw brawf o'i nefol rin
I ymwadu'n lân â mi fy hun.

Y mae dy haeddiant dwyfol drud
Yn fwy nâ'r nef, yn fwy nâ'r byd;
Yn bur anfeidrol berffaith, Iawn,—
O am gael gorphwys arno'n llawn!

1247. Bedd i orphwys.—M. 24.

Nid yw fy ngwaith, nid yw fy noniau,
Ond rhyw sorod heb eu heisiau,
Bedd i'm puro oddiwrth fy mrynti
Sydd yn perthyn oreu i mi;
"Pridd i'r pridd, a lludw i'r lludw,"
Ymadrodd hyfryd ydyw hwnw
I eiddil gwan sy'n dringo i'r lan,
Heb un man i orphwys;
Nid oes i mi drigfa gymhwys
Ond y beddrod a pharadwys.

1248. Rhagoroldeb Iesu.—M. 21.

Nid yw hardd wrthddrychau daear
Oll ond dim wrth Iesu hawddgar,
Nid yw'r nefoedd i'w chydbrisio,
Pe bai'r nefoedd i'w chael hebddo.

Iesu ei hunan yw fy nefoedd,
Dros fy oes, ac yn oes oesoedd;
Nef y nefoedd fydd ei garu,
Ei fwynhau a'i bur foliannu.

1249. Gwrthddrych gwell nâ'r byd.—M. 29.

Nid yw y ddaear faith i gyd
Ddim teilwng o fy serch a'm bryd,
Nac unrhyw wrthddrych yn y byd,
Rwy'n caru gwrthddrych mwy:
Yr hwn wy'n garu, nid llai yw
Nâ pherffaith ddyn a pherffaith Dduw,
Dyoddefodd drosof farwol friw;
O werthfawrocaf glwy'!

1250. Cariad Duw.—M. 5.

Ni ddichon seraph, er ei ddawn,
Amgyffred cariad Duw yn llawn;
Beth oedd y gras achubol pur
Pan drengai Crist o gariad gwir?

Pa fwyaf i'w ddyfnderoedd e'ir,
Mwyfwy o ryfeddodau geir,
Rhy fach yw'r nef, rhy fach yw'r byd,
I gynnwys cariad Duw i gyd.

1251. Sylfaen siwr.—M. 35.

Ni feddaf dan y ne'
Yn unig ond efe,
Fy nawdd a'm Ner sydd uwch y ser,
A'm llawnder yn mhob lle;
Fy Nhad a'm Twr, a'm sylfaen siwr,
Hwn ydyw'r gwr a ges,
Ei fath nid oes, ei hun fe ro'es,
Mi garia'i groes, tra pâr fy oes,
Gwnaeth lawer i mi o les.

1252. Ffydd yn cyfiawnhau.—M. 4.

Ni feddaf weithred dda yn wir
I'w gwneuthur yn ddianaf,
Wrth ystyr hyn ni welaf fi
Ond mawr dylodi arnaf.

Ond pan osodo ffydd ger bron
Fawr chwerwon loeson Iesu,
Gan grybwyll mewn llef ddystaw fain—
Ti bia rhai'n i'w mheddu;—

Fy amser felly heibio'r â
Mewn heddwch a boddlondeb;
Bydd, hanner nos fel hanner dydd,
Llawenydd yn fy ngwyneb.

1253. Effaith cariad Crist.—M. 5.

Ni fostiaf, Arglwydd, tra b'wyf byw,
Ond yn marwolaeth Crist fy Nuw;
Pob elw hudol, dilesâd,
Aberthu'r cyfan wnaf i'w waed.

Yn llif, o'i ben, a'i ddwylo, a'i draed,
Rhed poen a chariad gyda'i waed;
P'le bu'r fath serch a phoen yn nghyd?
P'ryd gwnaed o ddrain fath goron ddrud?

Ei waed, wrth farw ar y pren,
Oedd dros ei gorff fel porphor len;
Am hyn 'rwy'n farw i'r holl fyd,
Ac yntau'n farw i minnau gyd.

Rhy fach o anrheg, a rhy wan,
F'ai natur oll, pe doi i'm rhan;
Ei gariad Ef sy'n gofyn im'
Roi iddo f'einioes a phob dim.

1254. Iawn anfeidrol.—M. 17.

Ni gawn
I Grist wrth farw un prydnawn
Foddloni deddf, trwy dalu'n llawn
Anfeidrol Iawn i'w anwyl Dad;
Palmantodd ffordd o Galfari,
I'r nefoedd fry, trwy rin ei waed.

Mae'n awr
Yn eistedd ar ei orsedd fawr
Yn Arglwydd Ior y nef a'r llawr:
A chyda gwawr yr olaf ddydd
Fe fyn ei hardd ddyweddi ddrud,
O lwch y byd, yn berffaith rydd.

1255. Cwyn yr eglwys.—M. 4.

Ni glywsom am dy waith, Duw mad,
Dy gariad rhad a'th allu;
Ein tadau fu'n mynegu i ni
Dy wyrthiau di'r pryd hyny.

O cyfod etto, mae'n llawn bryd,
Pa'm mae'th fraich cyd yn cysgu?
Paham y byddem ni fel rhai
O'th wydd a gai eu gŷru?

Ai ymaith byth y bwri ni
Heb wrando'n cri ddifrifol;
Ai cuddio'th wyneb byth a wnai
Oddiwrthym, rai cystuddiol?

O gwrando 'n awr, a gwared ni,
Ti'n unig yw'n Hachubwr;
Clyw 'n awr er mwyn dy enw mâd
A haeddiant gwaed y Prynwr.

1256. Byrdra'r daith.—M. 28.

Ni phery'r anial maith,
Na'm taith yn hir;
Caf fyned yn y man
I'r Ganaan dir:
Fe geidw Iesu ei saint,
Er cymmaint llid eu cas,
Fe goncra'r gelyn llym,
Drwy rym ei ras.

Ceir canu cyn bo hir
Yn glir ei glod;
Rhyfeddu ei gariad fydd
Y dydd sy'n dod;

Adseinir "Iddo ef,"
Yn llon, gan nefol lu,
Datganant rinwedd gwaed
Eu Ceidwad cu.

1257. Trogylch y serchiadau.—M. 4.

Ni rydd na nef na daear im'
Yn ddiau ddim boddlonrwydd;
Na dafn o wir lawenydd heb
Dy bresennoldeb, Arglwydd.

Nid allai holl delynau'r ne'
Byth wneyd y lle yn nefol,
Pe cefnit ti yn anad neb,
Neu guddio'th wyneb siriol.

Tydi yw'r môr o gariad rhwydd,
Lle mae boddlonrwydd dibaid;
Trogylch fy holl serchiadau wyt,
A chanol-bwynt fy enaid.

Awyddus yw fy Ysbryd i
Mwy gyda thi am aros;
Ond O! mor belled wyf er hyn!
O, Iesu, tyn fi'n agos!

1258. Byw a marw gyda Duw.—M. 9.

Nis gallaf, Arglwydd oddef
Dy absennoldeb di;
Pe byddai it' ymado,
Darfyddai'm bywyd i;
Fy nghalon boed yn wastad
Yn agos at fy Nuw,
A thithau'm Duw bydd agos
I'm calon tra f'wyf byw.

1259. YR AIL RAN.

Ni anwyd mo'nwy' i'r ddaear,
Na phechod sorod sal,
Nis gallaf fyw ar foddion
Mor ddibris ac mor wael;
Er hyn dymunwn aros,
Fy Nhad, ei amser ef,
Gan ddysgwyl mewn amynedd
Ryw ennyd am y nef.

Yna, fy anwyl Iesu,
Pan fyddwy'n gado'r byd,
Fy enaid ro'f i fynu
I'th freichiau ar hyn o bryd:
A gwenau ar fy wyneb,
A heddwch dan fy mron,
Mi âf heb fraw nac ofnau,
Trwy ddyffryn angeu'n llon.

1260. Hollddigonedd Crist.—M. 3.

Nis gall angylion pur y nef,
Er maint eu doniau hwy,
Fyth osod allan haeddiant llawn
Anfeidrol ddwyfol glwy'.

Mae yn ei haeddiant drysor mwy
Nâ fedd y byd yn un;
A phrawf o'i gariad ydyw'r fraint
Oruchaf gafodd dyn.

Mae ei ffyddlondeb fel y môr,
Heb fesur ac heb drai;
A'i drugareddau hyfryd sy'n
Dragwyddol i barhau.

1261. Serchiadau nefol.—M. 10.

Nis gall byd, na'i holl deganau,
Foddio fy serchiadau 'nawr,
Ddenwyd, lonwyd, ac ëangwyd,
Yn nydd nerth fy Arglwydd mawr:
Neb ond ef a all eu llenwi,
Daeth ef i mi'n Brynwr byw,
O am syllu ar ei berson,
Rhyfeddod pob rhyfeddod yw.

O, nad allwn dreulio'm dyddiau'n
Fywiog i ddyrchafu ei waed;
Llechu'n dawel dan ei gysgod,
Byw a marw wrth ei draed;
Cario'r groes a phara i'w chodi,
Am mai croes fy Mhriod yw;
Ymddifyru yn ei Berson,
A'i addoli ef yn Dduw.

1262. Cyfaill a bery.—M. 54.

Nis gall meithder ffordd nac amser
Oeri dim o'i gariad Ef;
Mae ei fynwes byth yn dyner,
A'i gymdeithas byth yn gref:
Nis gall dyfroedd angeu llym
Ddiffodd ei angherddol rym.

Yn mha le y ceir, er chwilio,
Neb yn caru fel Efe;
P'le mae'r cyfaill, er ein hachub,
Ro'i ei fywyd yn ein lle?
Nid oes debyg iddo Ef
Drwy y ddaear faith na'r nef.

Pan fo pawb yn cefnu arnom
Yn y dyffryn tywyll du,
Pan fo pob daearol undeb
Yn ymddattod o bob tu,
Saif E'n ffyddlon y pryd hyn,
Ac a'n dwg yn iach drwy'r glyn.

1263. Digyfnewid gariad.—M. 6.

Nis gall y Bugail mawr
Anghofio byth ei ŵyn,
Fe ddaeth o'r nef i lawr,
I farw er eu mhwyn;
Gwn mai dilyth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth.

A ddiffydd cariad rhad?
Ai ofer geiriau Duw,
A rhinwedd maith y gwaed,
Ac angeu Iesu gwiw?
Na, na, dilyth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth.

1264. Gwella'r briw.—M. 20.

Nis gall yr holl foroedd
Byth olchi fy mriw,
Na gwaed y cre'duriaid,
Er amled eu rhyw;
Ond gwaed y Messia
A'i gwella'n ddiboen,
Rhyfeddol yw rhinwedd
Marwolaeth yr Oen.

1265. Anghofio'r byd.—M. 3.

Ni throf fy wyneb byth yn ol
I 'mofyn pleser gau;
Ond mi a deithiaf tua'r wlad
Sy a'i phleser i barhau.

Mi af, dan ganu, tua'r wlad
Bwrcaswyd im' i fyw,
Gan adael byth yn mhell o'm hol
Gystuddiau o bob rhyw.

Ac mi debygaf clywaf swn
Nefolaidd lu o'm blaen,
Oll wedi concro a myned drwy
Dymhestloedd dw'r a thân.

1266. Noddfa ddiogel.—M. 3.

Ni welaf noddfa mewn un lle,
Na gobaith o un tu,
Ond yn nghyfryngdod Brenin ne',
I'm diogelu i.

Er maint y llu a'r tònau sydd
Yn curo f'enaid gwan,
Diangol ddof i'r lan ryw ddydd,
Mae Iesu ar fy rhan.

Ac, bellach, tra bo ynof chwyth,
Yr Iesu fydd fy nghân;
A than ei aden gwnaf fy nyth,
Nes myn'd i'r nef yn lân.

1267. Arddel Crist.—M. 4.

Ni wridaf arddel f'Arglwydd nef,
Na'i achos ef amddiffyn;
Ymffrostiaf byth yn nghroes Mab Duw,
Yn ngwyneb pob rhyw elyn.

Mi adwaen ras fy Iesu gwiw,
Ei enw yw fy ymddiried;
Ni âd i'm gobaith golli'n wir,
Ni siomir byth fy enaid.

Ei hen addewid saif heb ball,
A chadw all yn sicr,
Yr hyn a roed i'w law drwy ffydd,
Nes delo'r dydd y'n bernir.

1268. Dystawrwydd Bedd.—M. 22.

'Nol disgyn i'r bedd,
I orwedd at feirwon,
Dy foli, Jehofa,
Ni fedra rhai mudion;
Yn nyfnder oer feddau,
Ni chofir rhyfeddod,
Ni chenfydd y deillion
Ddirgelion, o'u gwaelod;
Ni thraethir dim yno,
Am rym dy wirionedd,
Na moroedd dy gariad,
Na mawredd trugaredd.

1269. Sail gweddi ffydd.—M. 3.

O aed yn awr i'r nef fy nghwyn
Yn enw'r aeddfwyn Oen;
At Dduw a ddichon drugarhau,
Er maint fy ngwae a'm poen.

O flaen y drugareddfa fawr
Boed hysbys 'nawr fy nghri;
Fy enaid gwel, ceir hedd i'r gwan
Drwy angeu Calfari.

Ni chais yr enaid cywir byth
Ond gair dilyth ei Dduw;
A dyna'r oll, mewn ofnau prudd
Sydd gan ei ffydd i fyw.

1270. Cymundeb.—M. 10.

O am brofi yma'n helaeth
O rasusau pur y nef;
Hedd a chariad a chymdeithas
Hyfryd â'i ddyoddefaint ef.
Profi'r manna pur ysbrydol,
Corff a gwaed Iachawdwr byd;
A chael byw, a byw'n dragwyddol,
Byddom drwyddo ef i gyd.

1271. Santeiddio'r Sabboth.—M. 7.

O am dreulio'r Sabboth santaidd,
Drwyddo'n weddaidd yn dy waith;
Gŵyl hynodol a benodaist,
Pan osodaist un o saith:
Dydd i borthi, &c.,
Sion deulu sydd ar daith.

Dyro nerth i'th weision heddyw
Sefyll dros dy enw mawr,
I gyhoeddi Ceidwad enaid,
I drueiniaid ar y llawr.
Ymddysgleiria, &c.,
Tirion wena, tòr y wawr.

1272. Rhodiad wrth ffydd.—M. 7.

O am ffydd i ffoi at Iesu,
Ac i bwyso ar ei Iawn;
Ffydd fo'n fywiog i weithredu
Arno, mewn ymddiried llawn;
Pob cyflawnder
Felly ddaw yn eiddo ffydd.

Ffydd dan bob rhyw ragluniaethau
A weinydda gysur mawr;
Treiddia trwy y tew gymylau
Nes y cenfydd fore wawr:
Boed fy rhodiad,
Nid wrth deimlad, ond wrth ffydd.

1273. Ffydd yn angau.—M. 5.

O AM gael ffydd fuddugol fawr
I'm llòni yn fy marwol awr;
I allu gorfoleddu'n hy'
Ar angeu a'i holl erchyll lu.

Yn llawen, â'm holl nerth i gyd,
Cawn ganu'n braf ar hyn o bryd;
"Y bedd, p'le mae dy fost a'th rym,
Ac angeu, p'le mae'th golyn llym?"

Os tŷnwyd pechod, sicr wy'
Nad oes gan angeu golyn mwy;
Y ddeddf, am bechod, damnio mae,
Ond Crist fu farw i'm rhyddhau.

1274. Ufydd-dod ffydd.—M. 20.

O AM gael ffydd gadarn
I gredu a gwneyd
Yr oll mae'r Jehofa
Tragwyddol yn ddweyd;
Ein gobaith, drwy hyny,
A godai uwchben
Y ser a'r wybrenau,
I'r llŷs draw i'r llen.

Ac yna pe siglai
Colofnau y byd,
Pe tòrai olwynion
Naturiaeth i gyd,
Ein henaid diysgog
Nid ofnai ddim mwy
Na'r creigiau pan gurai
Y tònau hwynt-hwy.

1275. Edrychiad angylion.—M. 9.

O AM gael ffydd i edrych,
Gyda'r angylion fry,
I fôr yr iechydwriaeth,
Dirgelwch ynddi sy',
Dwy natur mewn un Person,
Yn gysson ynddi gaed;
Anfeidrol a thragwyddol,
Yw rhîn y Dwyfol waed.

O f'enaid gwel addasrwydd
Y Person dwyfol hwn;
Ymddiried iddo'th fywyd,
A bwrw arno'th bwn;
Mae'n ddyn i gyd-ymdeimlo
A'th holl wendidau i gyd,
Mae'n Dduw i fŷnu'r orsedd
Ar ddiafol, cnawd, a byd.

1276. Ffydd i weled Canaan.—M. 5.

O AM gael ffydd i ymlid ffwrdd
Y cul amheuon sydd i'n cwrdd;
Fel gallom wel'd â golwg glir
Drigfanau hoff y Ganaan dir.

Fel Moses gynt, pe dringem ni
I wel'd y wlad a'i hansawdd hi,
Nid oer lifeiriant angeu caeth
A'n tarfai'n ol oddiwrth y traeth.

Ar geulan angeu rhai mewn braw,
Sy'n ofni morio drwyddo draw;
Ond gyda Christ y gwana' o'r saint
All forio'n llon i'w fythol fraint.

1277. Golwg hoff o'r nef.—M. 5.

O AM gael golwg hoff o'r wlad,
A gorsedd ein tragwyddol Dad,
Lle'r eiste'n Prynwr mawr ei fri,
Mewn corff cyffelyb i'n cyrff ni.

Y saint o'i gylch addoli maen',
A holl lu'r nef a blyg o'i flaen;
Y Duw lewyrcha maes drwy'r dyn
Ei bur ogoniant ar bob un.

O'r mawr ddigrifwch yno gair,
Pan ganant eu telynau aur;
Ac eistedd ar bob nefol fryn,
I ddatgan gwaith eu Duw cyn hyn.

Pa bryd daw'r dydd, fy anwyl Dduw,
Caf finnau esgyn yno'i fyw;
Sefyll a phlygu yn eu plith,
Gwel'd, moli, a charu f' Arglwydd byth.

1278. Golwg ar y nef.—M. 9.

O AM gael golwg newydd
Ar gyrau'r hyfryd wlad,
Lle tyfa pren y bywyd,
A ffrwythau cariad rhad;
Mae yno bob danteithion
I loni'r clwyfus rai,
A chroeso i mi wledda
Er cymmaint yw fy mai.

Mae weithiau yn fy enaid
Ryw chwant i fod yn rhydd,
Yn debyg i fy mrodyr
Sydd wedi cario'r dydd;
Ar ddysglaer wedd fy Mhriod
Heb bechod, briw, na phoen;
Caf yno gânu'n beraidd
Am rinwedd gwaed yr Oen.

1279. Croeshoelio'r cnawd.—M. 10.

O AM gredu pwy sydd Arglwydd,
Ac ymddiried ynddo mwy;
Byw gan gredu'i addewidion,
Gwerthfawr, ffyddlon, ydynt hwy;
O am farwhau yn gysson
Pob dych'mygion ynof sydd,
Hoelio syniad cnawd llygredig,
A byw bywyd dedwydd ffydd.

1280. Arch i achub.—M. 7.

O AM lechu yn y clwyfau
Gynt agorwyd ar y pren,
Unig noddfa f'enaid ydyw'r
Gwr ogwyddodd yno'i ben;
Pwysaf arno,
Doed hi arnaf fel y del.

Nid oes fan o dan y nefoedd
Lle caf yn ddiangol fod,

Ond o fewn yr arch ysbrydol;
  Byth i Iesu byddo'r clod:
Rhag y diluw,
Yno caf fy nghadw'n fyw.

1281. Aros yn y Ty.—M. 10.

O AM nerth i dreulio'm dyddiau
  Yn nghynteddau tŷ fy Nhad;
Byw yn nghanol y goleuni,
  Tywyllwch obry dan fy nhraed;
Byw heb fachlud haul un amser,
  Byw heb brinder, byw heb boen,
Byw ar gariad anorchfygol,
  Pur y croeshoeliedig Oen.

Yno boed fy mwyd a'm diod,
  Dan ganghenau gwych y pren
Sydd yn llanw'r holl eangder,
  O'r ddaear lawr i'r nefoedd wen;
Dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo,
  Ffrwythau arno'n tyfu'n llawn,
Cysgod dano i'r ffyddloniaid,
  Sydd o fore hyd brydnawn.

1282. Nardus peraidd.—M. 10.

O AM yfed, yfed beunydd
  O ffrydiau'r iechydwriaeth fawr,
Nes fy hollol ddisychedu
  Am lygredig bethau'r llawr;
Byw yn dysgwyl am fy Arglwydd,
  Bod pan ddelo'n effro iawn,
I agoryd iddo'n ebrwydd,
  A mwynhau ei wledd yn llawn.

Arogli'n beraidd mae fy nardus
  Wrth wledda ar ei gariad rhad;
Tania'm sêl yn erbyn pechod,
  Caraf ddelw santeiddhad:
Buan y marweiddia'm llygredd,
  Daw pob uchel drem i lawr,
Wrth im' garu a derchafu
  Hawddgar wedd fy Iesu mawr.

1283. Ysbryd gweddi.—M. 8.

O AM ysbryd i weddio,—
  Byw dan geisio Iesu gwiw,
Gorsedd gras yw ne'r credadyn,
  Ar ei ddeulin gyda ei Dduw;
    Arglwydd cu, rho i mi
    Anian ceisio genyt ti.

Cydymbiliwn ar ein gliniau
  Am weniadau'r Ysbryd Glân,
O am deimlo yn bresennol
  Bur effeithiau'r nefol dân:
    Rho'wn ein llef, tua'r nef,
    Am ei arg'oeddiadau ef.

1284. Angor ar y cefnfor.—M. 10.

O ANFEIDROL rym y cariad!
  Anorchfygol ydyw'r gras,
Digyfnewid yw'r addewid,
  Pery byth o hyn i maes;
Hyn yw'm hangor ar y cefnfor,—
  Na chyfnewid meddwl Duw;
Fe addawodd na chawn farw,
  Yn nghlwyfau'r Oen y cawn i fyw.

1285. Nerth Ysbryd Duw.—M. 5.

O ANFON, Ior, d'awdurdod gref,
Ac agor feddau fyrdd â'th lef;
Chwyth beraroglau'r enaint gwiw
Nes codi myrdd o feirw'n fyw.

O flaen awelon nef aed sain
Drwy'r byd am ôl y goron ddrain,
Malurier delwau'r byd bob un
Drwy nerth breniniaeth Mab y dyn.

1286. Swydd y Lefiaid.—M. 4.

O ANWYL Iesu, gwel'd yr wy'
  Ogoniant mwy 'n dy Berson,
Nâ'r aur a'r gemau dysglaer oedd
  Ar wisgoedd meibion Aaron.

Lladd anifeiliaid oedd eu swydd,
  I ddwyn euogrwydd pechod;
Ond ebyrth ofer oedd fath rai
  I bur lanhau'r gydwybod.

Dy aberth di, tra gwerthfawr oedd,
  Hwn laddodd yr elyniaeth:
O'th galon friw, daeth ffynnon rwydd
  A ylch euogrwydd ymaith.

Trwy lawer iawn o ddwylaw'r aeth
  Eu hoffeiriadaeth farwol;
Ond d'offeiriadaeth di a sai'
  Yr un am oesau bythol.

1287. Llyncu angeu.—M. 30.

O ANGEU, cofia hyn,
Yr Iesu fu ar y bryn
  A'th lyncodd di,
Ar groesbren un prydnawn,
Mewn buddugoliaeth lawn:
Coffâu ei enw cawn,
  Mae'n Frawd i ni.

Pa'm mwy y teimlaf fraw,
Wrth ganfod ôl dy law,
  Ac ôl dy gledd:
Nid wyt ond symud saint
O gyrhaedd pob rhyw haint,
I'w hyfryd fythol fraint,
  Yn ngwlad yr hedd.

1288. Gwroldeb yn angeu.—M. 6.

O ANGEU! ofni 'rwyf
  Wrth syllu ar dy gledd,
Dan grynu gweled mor
  Ofnadwy yw dy wedd;
Ond er dy ŵg, yn ngenau'r glyn,
Mi ganaf am Galfaria fryn.

Er gwaethaf ing dy glwy'
  Edrychaf tua'r lan,

Er bod dy afon gref
Bron llifo dros y gwan:
Af drwyddi'n deg dan ganu'n awr,
Yn llaw fy Archoffeiriad mawr.

1289. Angeu heb golyn.—M. 11.

O angeu, pa le mae dy golyn?
O uffern, ti gollaist y dydd!
Y Baban a anwyd yn Methl'em
Orchfygodd bob gelyn y sydd;
Ni raid i blant Sion ddim ofni
Ymdeithio i fynu tua'u gwlad,
Mae'u ffordd hwy yn rhydd i fyn'd adref,
A hòno balmantwyd â gwaed.

1290. "Pâr yn awr lwyddiant."—M. 4.

O Arglwydd, achub fyrdd yn awr,
Pâr lwyddiant mawr, attolwg;
A'r Ysbryd o'r uchelder fo
Yn nerthol weithio'n amlwg.

Ar foddion gras, hyd eitha'r byd,
Yn hyfryd byddo llwyddiant;
Ar frys ennilled Iesu mawr
Derfynau'r llawr i'w feddiant.

1291. Salm angladd.—M. 5.

O Arglwydd, cofia'n marwol stâd,
Mor fyr yw'n bywyd ei barhad!
P'le mae d'addewid gu i'r saint,
Troi'n llwch i'r bedd o hyd y maent?

Ond ffydd wahardd bob meddwl gwan,
A gwel eu llwch yn d'od i'r lan;
Ardderchog ddydd! mawr fydd eu braint,
Pan dderfydd gwarth ac ofnau'r saint.

1292. Myfyrdod.—M. 5.

O Arglwydd cu, na âd im' fyw,
Yn ddyeithr im' fy hun a'm Duw;
Mewn miloedd o feddyliau pell,
Anghofio 'rwyf y wlad sydd well.

Paham y carai'r ddaear ddu
Yn fwy nâ'm hetifeddiaeth fry?
Paham y glynaf wrth y byd,
Nes colli'm Duw a'm Prynwr drud?

I'w lais dymunwn ufyddhau,
Gan ado pob pleserau gau;
Mewn melus ddwys fyfyrdod caf
Fwynhau fy nef, a Duw fy Naf.

1293. Gweddi am lwydd Sion.—M. 15.

O Arglwydd, cyfod, tor y wawr,
Ar d'achos mae yn nos yn awr,
A swn y gelyn mawr sy'n gry';
O galw Sion i ddeffroi
O'r claearineb sy'n ei chloi,
I ymbar'toi at fur y tŷ.

Dy Sion brudd sy'n awr mewn braw,
Duw, o dy fynwes tyn dy law,
A help a ddaw yn ebrwydd iawn;
Bydd etto'n Llywydd gyda'n llu,
Gan roi dy degwch yn dy dŷ,
O'th nerthoedd cu cynnorthwy cawn.

1294. Urddiad gweinidog.—M. 4.

O Arglwydd da yr eglwys deg,
Ei Phen a'i Hateg ffyddlon,
Santeiddia, dysg, a nertha di
Dy egwan weinidogion.

O, gwisg yn awr dy weision dwys
Yn gymhwys â'th gyfiawnder;
Pob dawn ysbrydol iddynt rho,
A chryfder o'r uchelder.

Yn hael disgyned megys gwlith
Dy nefol fendith arnynt;
A dyro hynod lwyddiant hir
I'r gair a heuir ganddynt.

1295. Agoriad addoldy.—M. 5.

O Arglwydd! disgyn 'nawr o'r ne',
A'th bresennoldeb lanwo'r lle;
Y tŷ hwn i'th addoli wnair,
Ac i ymwneyd â'th werthfawr air.

Teyrnasa yma, Iesu mawr,
Trwy ordinhadau'th air yn awr;
A chyda'th air aed nerth i maes
I loni'th saint, a throi dy gas.

Ac yn y dydd mawr ola' i gyd,
Pan farno Duw holl bobloedd byd,
O caffer gwel'd fod yma lu
A anwyd i'r gogoniant fry!

1296. Bywhad crefydd.—M. 5.

O Arglwydd Dduw, bywha dy waith
Trwy holl derfynau'r ddaear faith;
Tros dir a môr dysgleiried gras,
Nes llwyr orchfygu pechod cas.

Eglwysi hardd fel gwinwydd îr,
Flaguro'n deg drwy'r gogledd dir,
A theyrnas Crist drwy'r dehau cras
Flodeuo ar led fel Eden las.

Clodfored pob creadur byw
Yr unig ddoeth anfarwol Dduw;
Gwna'r ddaear hon yn ddelw gu
O'r nefoedd ogoneddus fry.

1297. Cristion oedranus.—M. 4.

O Arglwydd Dduw! fy ngobaith byth,
I'th wir dilyth 'rwy'n credu;
Dy law a'm daliodd i o hyd
O ddyddiau'm mebyd 'fynu.

Bob blwyddyn fu o'm bywyd brau
Ces brawf o'th wyrthiau dyfal;
Ac od oes i mi ddyddiau fwy,
Mi rhoddaf hwy i'th ofal.

Na wrthod fi pan ballo'm nerth,
Mewn blinion ddinerth ddyddiau;
Ond taen o'm cylch dy gariad cu,
Pan drengwyf i yn angau.

1298. Rhagluniaeth a gras.—M. 9.

O Arglwydd Dduw rhagluniaeth,
Ac iachawdwriaeth dyn,
Tydi sy'n llywodraethu
Y byd a'r nef ei hun;
Yn wyneb pob caledi
Y sydd, neu etto a ddaw,
Dod gadarn gymhorth i mi
I lechu yn dy law.

Er cryfed ydyw'r gwyntoedd,
A chedyrn dònau'r môr,
Doethineb ydyw'r Llywydd,
A'i enw'n gadarn Ior:
Er gwaethaf dylif pechod,
A llygredd o bob rhyw,
Diangol byth, heb soddi,
Fydd pawb yn arch fy Nuw.

1299. Amser cynhauaf.—M. 4.

O Arglwydd Dduw! rho nerth i ni
Dy ganmol di'n wastadol,
Am dy ddaioni'r flwyddyn hon
I ddynion anhaeddiannol.

Ti a'n bygythiaist lawer gwaith,
Drwy dywydd llaith a sychder;
Ac er na fu dy law yn drom,
I raddau gwelsom brinder.

Ond wele lawnder yn ein gwlad
Yn awr o'th rad fendithion;
A ni mewn heddwch yn mwynhau
Dy drugareddau mawrion.

1300. Cyfoeth trugaredd.—M. 22.

O Arglwydd fy Nuw,
Mawr yw dy drugaredd,
Hwyrfrydig i ddig,
Llawn gras a gwirionedd:
Dysg i mi bob tro
I rodio'r ffordd union;
I ofni dy enw
Gogwydda fy nghalon;
Dod arwydd ddi-gêl,
Lle gwel fy nghaseion
Dy fod yn oludog
I weiniaid tylodion.

1301. Afon o ddwfr a gwaed.—M. 5.

O Arglwydd, ffoed cymylau mwy,
A grym euogrwydd damniol glwy';
Rho i mi brawf o'th nefol hedd,
Fel afon bur tu yma i'r bedd.

Yr afon bur o ddw'r a gwaed
Yw sail fy iechydwriaeth rad;
Fy unig nerth i fyn'd yn mlaen,
A sail fy hedd, a grym fy nghân.

Gorphwysaf, Iesu, yn dy glwy',
Yn dawel iawn, heb ofni mwy;
Fy unig hawl i'r nefol wlad
Yw dirfawr haeddiant dwyfol waed.

1302. Nerth y credadyn.—M. 5.

O Arglwydd, gâd im' dy fwynhau,
Ac onide, 'rwy'n llwfrhau;
Rhaid im' gael profi rhin dy waed,
Cyn cael un gelyn dan fy nhraed.

Nid oes is nef a ddeil i'r lan,
Ond ti dy hun, fy ysbryd gwan;
Nerth sy'n dy air, mae'n fwy ei rym
Nâ gallu llwyr pob gelyn llym.

Rhyfeddu 'rwyf, rhyfeddaf byth,
Na buaswn mewn uffernol nyth;
Rhyfeddaf fwy, os f'enaid ddaw
Trwy'r anial drwg i'r nefoedd draw.

1303. Tragywyddol gariad.—M. 29.

O Arglwydd Ior, anfeidrol yw
Dy gariad mawr at ddynol-ryw,
Ti drefnaist ffordd i gadw'n fyw
Y gwanaf yn dy law:
Trwy'r gwaed yn rhad mae'r ffordd yn rhydd,
I ganol nef, fy enaid prudd;
O gwyn eu byd pob perchen ffydd
Ryw hyfryd ddydd a ddaw.

1304. Gwerth y gair.—M. 5.

O Arglwydd Ior, haelionus yw
Dy ddoniau da i ddynol-ryw;
Rho'ist i ni etifeddiaeth wych,
Drwy roi dy air o'n blaen fel drych.

Cawn, wrth ei chwilio, drysor drud,
O werth sydd fwy nâ pherlau'r byd;
Mwy melus yw, mae'n wir di-gêl,
Nag yw diferion diliau mel.

Wrth in' ei ddarllen, Arglwydd cu,
Rho fendith fawr o'th nefoedd fry,
A gwna ni'n ffyddlon drwy ein hoes
I ddilyn Crist, gan ddwyn ei groes.

1305. Preswylydd y berth.—M. 30.

O Arglwydd Ior y nef,
Clyw di fy egwan lef,
Bechadur llwm;
Rho help dy gadarn law,
Yr wyf mewn poen a braw,
Yn methu dringo draw,—
Mae'm baich yn drwm.

Mae'r rhyfel yn trymhau,
A minnau yn llesgâu
Mewn anial dir;
Preswylydd mawr y berth,
Rho i mi fwy o nerth
I ddringo'r creigiau serth
I'r goleu clir.

1306. Hedd cydwybod dda.—M. 20.

O Arglwydd mor ddiogel
A dedwydd yw'r rhai,
Sy'n teimlo llawenydd
Am faddeu eu bai;

Taraned digofaint,
A sigled y byd,
O'u mewn y mae nefoedd
A heddwch o hyd.

Mor felus a hyfryd
Y treuliant y dydd
Mewn pur ddiniweidrwydd,
A chariad, a ffydd;
Ac araf a dystaw,
Fel cysgod o hyd,
Y rhed eu mynudau
Nosweithiol drwy'r byd.

1307. Prydnawn Sabboth.—M. 5.

O Arglwydd, Pa mor hyfryd yw
Gwel'd torf a'th fola di wrth fyw?
Yn galw arnat yn dy dŷ,
Gan ddysgu'r ffordd i'r nefoedd frŷ.

Os îs ein cân nâ'r seintiau sy
Yn seinio'r freiniol anthem frŷ,
Ein testun hyfryd sydd yr un,
Sef Dwyfol gariad Mab y dyn.

1308. Cymhorth gweiniaid Sïon.—M. 52.

O Arglwydd rho dy wyneb glân,
I loni f'enaid gwan bob dydd,
A'm nerthu yn y dŵr a'r tân
I dynu ar dy ol drwy ffydd;
A llywodraetha di fy nhraed
Drwy gadw 'ngolwg ar y gwaed.

Tro fi oddiwrth deganau'r llawr,
A chwyd fy ngolwg tua'r làn;
Pwy all fy nerthu yma'n awr,
Ond Iesu, cyfaill hoff y gwan?
O llywodraetha di fy nhraed
Drwy gadw ngolwg ar y gwaed.

1309. Canmol y gwaed.—M. 9.

O Arglwydd, rho im' dafod,
Na thawo ddydd na nos,
Ond cânu heb ddiffygio,
Am rinwedd gwaed y groes;
Pob gair a ddêl o'm genau,
Yn ddirgel ac ar g'oedd,
Gaiff ddweyd fod Iesu hawddgar,
A'i ddeddfau wrth fy modd.

O Iesu pwy all beidio
Dy ganmol ddydd a nos,
A phwy all beidio cofio
Dy ryfedd farwol loes?
A phwy all beidio cânu
Am iechydwriaeth rad,
A gafodd deimlo gronyn
O rinwedd pur dy waed?

1310. Gweddi'r edifeiriol.—M. 30.

O Arglwydd trugarha,
Er dyfned yw fy mhla,
A'm beiau mawr;
Dilëa rhei'ny'n rhad,
A maddeu er mwyn y gwaed;
A dyro lwyr iachâd
I'm clwyfau'n awr.

Golch fi oddiwrth fy mai,
Ti elli fy nglanhau,
A'm cànu'n wŷn;
Er dyfned yw fy nghlwy'
Mae rhinwedd gras yn fwy,
Daeth digon i mi drwy
Galfaria fryn.

1311. Ing y Ceidwad.—M. 5.

O blentyn Duw, tro 'nawr dy glust
A gwrando gri dy Geidwad hael,
Clyw ddwys och'neidiau Iesu Grist,
Wrth ennill hedd i adyn gwael.

O elyn Duw, gwêl waed a chûr,
A dirfawr ing y Ceidwad cû,
Wrth farw dan yr hoelion dur,
Yn nghanol gwawd i'th gadw di.

O enaid tlawd tro at dy Dduw,
Ymollwng ar drugaredd râd;
Mae gobaith heddyw it' gael byw
Drwy rinweddd ing yr Iesu mâd.

1312. Tad wrth y llyw.—M. 20.

O blentyn y nefoedd,
Paham mae dy fron
Mor ofnus wrth weled
Gwyllt ymchwydd y dòn?
Mae'r dyfnder du tywyll
Yn rhuo, gwir yw,
Ond diogel yw'th fywyd,
Mae'th Dad wrth y llyw.

Daw'n fuan orfoledd
Diddiwedd i'th ran;
Draw'n dysgwyl mae'th geraint
Oddeutu y làn:
Y dysglaer lys acw
Dy hoff gartref yw,
Mae Canaan yn ymyl,
A'th Dad wrth y llyw.

1313. Yr ail ran.

Cwyd, bellach, dy hwyliau,
Mae'r awel o'th du;
'Rwyt bron myn'd i fynwes
Dy fwyn Brynwr cu:
Mae'th angor yn ddiogel,
A'th Gapten yn fyw,
Mae'th gwch yn y porthladd,
A'th Dad wrth y llyw.

1314. Cân Prydain.—M. 5.

O Brydain, mawl dy nerthol Dduw,
Mynega ei ogoniant gwiw;
Trodd lif y môr o'th gylch er lles,
I'th gadw'n well nâ bàrau pres.

Rhoes hedd i'th drefydd ac i'th draeth,
Dy blant sydd ddiogel a di-gaeth:

Dy borthi mae â brasder pur,
A'i nawdd a'i fendith gei heb gur.
Mae'n anfon o'i drysorau draw,
Y cynnar a'r diweddar wlaw;
Rhodd it' bob da, mae ganddo hawl
I alw Prydain at ei fawl.

1315. Cadarnhau y ffydd.—M. 32.

O CADARNHA fy egwan ffydd
Tra paro dydd fy mywyd:
Fel gallwy'n mhob cystuddiau ddaw
I wel'd tu draw i adfyd;
Canu'n hyfryd yn fy ngofid,
Treulio'm hoes mewn croes neu hawdd-
Ymddifyru yn yr Iesu, [fyd,
Bloeddio concwest cyn ei feddu,
A gwel'd y wlad tu draw i'r bedd,
A'r hyfryd wledd fydd imi.

1316. Agoriadau'r bedd.—M. 16.

O CANED pechaduriaid gwael,
Mae'r Adgyfodiad wedi ei gael,
A'r Bywyd ddaeth o'r bedd;
Mae agoriadau uffern fawr,
Bedd, a marwolaeth oll yn awr,
Yn meddiant Brenin hedd.

Mewn nerth yn hardd heb frys na braw,
A iechydwriaeth yn ei law,
Daeth Crist o'r bedd i'r làn;
Yspeiliodd awdurdodau'r glyn,
Gorchfygodd uffern fawr ei hun,
Cân mwy, fy enaid gwan.

1317. Cofio'r groes.—M. 31.

O CANED teulu Salem hardd
I'r Hwn fu'n chwysu yn yr ardd,
A chofiant am, a chofiant am,
Yr Oen dinam aeth yn eu lle.

Fy enaid gwel, o'i ben i'w draed,
Dy Iesu cu yn chwys a gwaed,
A chofia'r fan, a chofia'r fan
A wlychwyd gan ei ddagrau ef.

O cofia'r groes a'r goron ddrain,
A'r un fu'n dyoddef dan y rhai'n;
Ond er y boen, ond er y boen,
Gorchfygai'r Oen yr angeu'i hun.

1318. Llyncu angeu.—M. 6.

O CAN fy enaid gwan,
Dy Briod mwyn, cyn hyn,
A lyncodd angeu du
Ar groes Calfaria fryn;
A hyn fydd syndod nef y nef—
Diangfa yn ei angeu ef.

Er holl gysgodau'r glŷn,
Er dychryn angeu du,
Mae'r fuddugoliaeth fawr
Yn dyfod oddifry;
Drwy farwol rwyg fy mhabell bridd
Mi âf i wlad y bythol ddydd.

1319. Haf enaid.—M. 4.

O CEISIWN bawb yn haf ein dydd
Y Ceidwad sydd yn cadw,
Mae gaua'n dod, bydd pawb yn drist
Na bo yn Nghrist yn marw.

Ni saif un sail dan adail neb
Ond hwnw saif heb symud
A bwyso arno er yn wan,—
EFE yw'r fan am fywyd.

Er angeu cas a'i ingoedd chwith
Ni syflir byth mo hwnw;
Os llecha, saif y lloches hon
Efe fydd llon wrth farw.

1320. Mawl yn Sion.—M. 1.

O CENWCH fawl i Dduw,
Tra gweddus ydyw'r gwaith,
Am ei drugaredd ryfedd rad,
Pob ardal, gwlad, ac iaith.

Pan ddwg ei blant yn nghyd,
Yn hyfryd fe'u hiachâ;
Gan rwymo'r ysig galon friw,
Mab Duw sydd Feddyg da.

O Sïon, canmol di
Y Duw sy'n rhoddi hedd,
A phob cysuron it' yn nghyd,
Nes myn'd trwy'r byd i'r bedd.

I'r Drindod heb wahan,
Rhown fawl ar gân i gyd;
Sain Halaluia fo'n mhob man
Drwy bedwar bàn y byd.

1321. Eiriolaeth Crist.—M. 5.

O COFIA fi ger bron y Tad,
Gan ddadleu droswyf werth dy waed,
O dadleu 'nawr yn nghanol ne',
I ti roi'th fywyd yn fy lle.

Gwn mai rhinweddol yw dy waed
I'w ddangos fry ger bron y Tad,
I glirio'm ffordd at orsedd gras,
A maddeu'n llwyr fy meiau cas.

Maddeuaist ganwaith, maddeu hyn,
O Arglwydd, golch fi etto'n wyn;
Cyflawna'th waith ar f' enaid gwan,
A dwg o'r anial maith fi i'r lan.

1322. Meddwl am farw.—M. 5.

O COFIA'r dydd, fy enaid byw,
A meddwl pa mor agos yw,
Y rhaid it' ado'r tŷ o glai,
Ac mai i fythol fyd yr âi.

O na allem farw gyda hwy,
Sy'n 'mado heb ddychwelyd mwy,
Ein hysbryd dysgu hedeg wnai
I gyfeillachu â'r marwol rai.

Dibrisiem felly'n gwisg o gnawd,
A'n holl deganau diles tlawd,
A gwir hiraethai'n henaid trist
Ymddiosg, i fod gyda Christ.

Braidd na adawem oll mewn brys,
Ein priddlyd dai, cyn deuai'r wŷs,
A llon ddymunai'n henaid gwan
Am fyned i'w dragwyddol fan.

**1323.** Swper yr Arglwydd.—M. 3.

O COFIWN Air ein Hiesu mawr,
Y gair a dd'wedodd E';
Gwnewch hyn er cof am danaf fi,
Fu farw yn eich lle.

Fynghnawd a'm gwerthfawr waed yn wir
Sydd wledd ysbrydol wiw,
Bwytewch ac yfwch bawb o hwn,
Fe'ch ceidw byth yn fyw.

Os na chawn wledda etto'n nghyd,
Yn hyn o anial wlad,
Hoff wledda gawn mewn gwlad sydd well
Byth fry yn nhŷ ein Tad.

**1324.** Cofio Iesu'n foreu.—M. 5.

O COFIWN mai rhyfeddol fraint
Yw d'od yn *fore* i fysg y saint,
Ac aros byth yn Sïon ber
I weled rhyfeddodau'r Ner.

Yn awr, yn more dyddiau'r oes,
Mae cofio'r Gwr fu ar y groes;
O'r fath ddedwyddwch pur didrai
Yw cael maddeuant llwyr o'r bai.

**1325.** Pridd i'r pridd.—M. 5.

O COFIWN mai priddellau'r glyn
Yw defnydd brau ein gwael gyrff hyn!
Llwch yw'r aelodau hardda'u llun,
Er maint ynfydrwydd balchder dyn.

Boed dwys ystyriaeth dan ein bron,
Er teced yw y gruddiau llon,
Mai pridd yw'r babell deca'i gwedd,
A syrth ar fyr i lwch y bedd.

O cofiwn mwy y daw yr awr,
Y cwymp dan ddyrnod angeu lawr;
A dyfal geisiwn nawdd mewn pryd
Yr Hwn sy'n tynu beiau'r byd.

**1326.** Dyled i Dduw.—M. 5.

O CYDNABYDDED dynol-ryw
Fod arnom ddyled fawr i Dduw;
Mae pob rhyw ddoniau îs y nef
Yn deilliaw o'i drugaredd ef.

Er bod ei rad ddaioni'n fawr
I greaduriaid *gwaela*'r llawr,
Fe ro'es i *ddyn* fyrdd myrddiwn mwy
O'i roddion teg nag iddynt hwy.

Am hyny dylai dyn o hyd
Fod megys genau dros y mud,
Addurnodd y Creawdwr ef,
O'i dyner nawdd, â doniau'r nef.

**1327.** Cwymp Dagon.—M. 34.

O CYFOD, Arglwydd cu,
Yn Llywydd ar ein llu,
A thrugarha;
Dy nerth cyfrana i ni:
Philistia ddaw mewn braw yn brudd,
Rhyw fuddugoliaeth fawr a fydd,
O flaen yr arch yn union,
Duw Dagon gyll y dydd.

Fe fydd rhyw fendith fawr,
Fel gwlith o groth y wawr,
Yn mhlith y plant,
Mewn llwyddiant ar y llawr;
Mawr Archoffeiriad yw efe,
Mae'n dadlu'n hachos yn y ne',
Gall gydymdeimlo â'n gwendid,
Aeth tan y llid i'n lle.

**1328.** Trugarhau wrth Sion.—M. 4.

O CYFOD bellach, trugarha,
O Dduw bydd dda wrth Sion!
Mae'n amser wrthi' drugarhau
Yn ol dy nodau'n union.

Hoff iawn yw gan dy weision di
Ei mheini a'i mhagwyrau;
Maent yn tosturio wrth ei llwch,
Ei thristwch a'i thrallodau.

Pan adeilader Sion wych,
Bydd hon yn ddrych i'r gwledydd;
Pan welir gwaith yr Arglwydd nef
Fe'i molir e'n dragywydd.

**1329.** Agor ffordd y cadw.—M. 11.

O CYFOD dy olwg, bechadur,
At Iesu am gysur a hedd;
O'i gariad fe ddaeth i agoryd
Ffordd newydd i'r bywyd o'r bedd:
Dystawodd y ddeddf ei chondemniad
Drwy gael ei gofyniad yn llawn;
Mae dwyfol gyfiawnder dan wenu,
O'r orsedd yn gwaeddi—"Ces Iawn."

**1330.** Heolydd y nef.—M. 5.

O CYFOD f'enaid, fynu hed,
A thrwy'r heolydd nefol rhed;
A dywed nad oes dim dan haul
A dâl dy drafferth di na'th draul.

Ehedwn yno ar aden ffydd
I wel'd y fath ogoniant sydd;
Na adawn i'r byd a'i bethau gwael
Y lleiaf o'n serchiadau gael.

Ardderchog ddeiliaid y fan hon,
Sy'n plygu o gylch yr orsedd lon,
Deng mil o wenaug wyneb Crist
Bâr nad oes yno neb yn drist.

**1331.** Agor y seliau.—M. 12.

O CYFOD ferch Sion, a gwel
Dy freintiau godidog yn awr;
Datodir it' sêl ar ol sêl,
Myn'd rhagddi'n oleuach mae'r wawr,
Mewn cân gorfoledda, mae'n bryd,
Dy Frenin yn awr sydd yn d'od

Yn ngheibyd ei gariad drwy'r byd,
  I'w enw y byddo y clod.
Troir atat gyflawnder y môr,
  Daw Carmel a Saron yn un,
Breninoedd y ddaear, â'u stor,
  Anrhegant yr Iesu'n gytun;
Daw'r bwystfil a'r gau-broffwyd 'lawr,
  Eu gorsedd a fwrir i'r llyn;
A syrthia y Babilon fawr,—
  Bydd miloedd yn moli am hyn.

1332. Agoriad addoldy.—M. 4.

O cyfod Frenin gras, nesâ,
  Tyr'd i'th orphwysfa addas,
Gwel, dysgwyl mae dy eglwys hon
  Am gael dy lon gymdeithas.

O derbyn addunedau dwys
  A mawl dy eglwys yma;
Bendithia'th dŷ â bwyd di-ball,
  I'r tlawd gael diwall fara.

Mab Dafydd, Crist, Eneiniog Ion,
  Yn hon a fo'n rheoli;
Cyfiawnder, cariad, gwir, a nerth,
  I'w lys fo'n prydferth weini.

Hir ddalied yma fainc ei ras,
  Boed ar ei deyrnas gynnydd,
A pharch i'w goron ef a ro'ir,
  A'i gâs a döir â ch'wilydd.

1333. Breichiau bythol ras.—M. 5.

O cyfod 'nawr fy enaid byw,
A gorfoledda yn dy Dduw;
Fy nhafod deffro a seinia ma's
Ar led ei ogoneddus ras.

Rho'es freichiau bythol gariad dan
Fy enaid llesg, blinedig, gwan;
Ac fry ar Graig yr oesoedd gref
Fy nhraed, o'i ras, osododd ef.

Dinas fy nedwydd noddfa i
A muriau gras amgylchwyd hi;
A seinio wnaf—Hosana'n awr
I'm Prynwr mwyn a'm Brenin mawr.

1334. Nyth y Cristion.—M. 5.

O cymmer fi, Iesu, fel yr wyf,
A chuddia fi yn dy farwol glwyf;
Can's dyna'r fan y gwnaf fy nyth,
Ni chollir mo'nwyf yno byth.

Boed i mi dreulio'm dyddiau gyd
I edrych ar dy wyneb pryd;
Difyrwch f'oes o awr i awr
Fo caru fy Eiriolwr mawr.

Tra caffwyf rodio'r ddaear hon,
Rho'th hedd fel afon dan fy mron;
Ac yn y diwedd moes dy law
I'm dwyn i mewn i'r nefoedd draw.

1335. Marw dros adyn.—M. 4.

Och fi! a waedodd fy Arglwydd cu,
  Ai marw fu fy Mrenin?
A ro'es e'i santaidd ben heb fri
  Lawr drosof fi'r fath bryfyn?

Ai am bechodau mawr fy oes
  Bu ar y groes yn dyodde'!
O ryfedd ras i adyn brwnt,
  A chariad tuhwnt i raddau!

Fy nghalon, mawl tywallted hon,
  A'm llygaid chwerwon ddagrau;
Pa galon sydd mor gas na thodd,
  Wrth wel'd ei ddyoddefiadau.

1336. Ocheneidiau'r groes.—M. 19.

Och'neidiau'r groes
  A ro'es ryddhad i ni,
Cawn gymhorth llawn
  Gan uniawn Un yn Dri;
Daw Duw yn Dad
  I bechaduriaid trist;
Caed cymmod rhad
  Drwy haeddiant Iesu Grist.

Efe yw'r Iawn
  Dros ein pechodau ni;
Ei ddryllio wnaed
  Ar fynydd Calfari:
Y dyled mawr
  A dalwyd yno'n llawn,
A'r biliau oll
  A groeswyd un prydnawn.

1337. Trysor yr Ysgrythyr.—M. 5.

O chwiliwn yr ysgrythyr lân
Am destun wna dragwyddol gân,
Mae yno drysor canmil gwell
Nâ holl fwngloddiau'r gwledydd pell.

Mae'n son am drysor marwol glwy',
Ni fedd y nefoedd drysor mwy;
Caniadau'r saint fydd byth yn un
Am gyfoeth iechydwriaeth dyn.

Mae yno ffynnon i lanhau,
A'r gwir oludoedd sy'n parhau,
Cyfiawnder a maddeuant llawn
I'r euog trwy'r anfeidrol Iawn.

O chwiliwn gyrau'r maes i gyd,
Gan gloddio am y trysor drud,
Mae'n gyfoeth heb ei fath yn awr,
A'i werth â'n fwy trwy'r eilfyd mawr.

1338. Ysbryd gweddi.—M. 6.

O Dad! yn enw'r un
  Sy erioed yn rhyngu'th fodd,
Dy briod Fab dy hun,
  'Rwy'n awr yn gofyn rhodd:
Dod ysbryd gweddi im', O Dad!
Dysgwyliaf am d'addewid râd.

Yn mhob amgylchiad cul,
  Wrth fyn'd trwy'r anial maith,
Mewn gorthrymderau fil,
  O cynnal fi ar fy nhaith:

Hyd angeu ddydd, O Arglwydd, gâd
Im' nerth i lefain, Abba Dad.

1339. Maeth y gwan.—M. 34.

O DAN dy adenydd di,
Mae llaeth a mêl yn lli',
Yn llifo i lawr,
Fel afon fawr i ni;
I faethu gweiniaid fyth yn gu,
A maeddu'n llwyr elynion lu;
Mae hyfryd Frenin Sion,
Oen tirion, fyth o'n tu.

Fy unig noddfa'n awr
I'm llòni ar y llawr,
A'm gwir iachâu,
Yw clwyfau'r Meichiau mawr:
Caf yno loches dawel lân,
I Iesu cu caf seinio cân,
Pan syrth y ser yn gafod,
A dyfod diluw tân.

1340. Balm bywyd.—M. 11.

O DEUED trigolion y ddaear
I edrych i Galfari fryn,
I weled rhyfeddod annhraethol,
A gofir byth bythoedd 'nol hyn;
Mab Duw, Awdwr bywyd, ar groesbren
Yn trengu mewn gwendid a chri;
Y Meddyg yn gwaedu yn angeu,
Y Balm a rydd fywyd i ni.

1341. Galwad efengyl.—M. 4.

O DEUWCH prynwch win a llaeth,
Mae yma faeth ysbrydol;
Cewch yma bob bendithion rhad,
Ac o barhad tragwyddol.

Paham y gwariwch, O paham,
Eich arian am deganau?
Paham y treuliwch ddyddiau'ch hoes
Yn groes i ddwyfol ddeddfau?

Gan wrando arnaf fi, gwrandewch,
Ar frys gadewch au-lwybrau,
A rhoddwch glust i mi, medd Duw,
Fel byddo byw'ch eneidiau.

1342. Cadernid Sion.—M. 11.

O DEWCH trwy lawenydd yn unol,
Rai siriol yn frawdol unfryd,
I weled cadernid ein dinas,
A'i harddwch o gwmpas i gyd:
Y Duw sydd yn hon yn preswylio,
Mynegwch am dano mewn dawn,
Mae'n tywys y gweiniaid hyd angeu
Trwy filoedd o rwystrau mawr iawn.

Y modd ag y clywsom o'r cynfyd,
Ein llygaid er gwynfyd a'i gwel;
Ar eglwys bur wiwlwys ein Harglwydd
Daw cynnydd mewn sicrwydd dan sêl;
Bydd Sion yn llon mewn llawenydd,
Cwyd mynydd santeiddrwydd ein Duw;
Trwy'r tir yr adwaenir ein dinas,
A'i llysoedd gwawr addas gwir yw.

1343. Buddugoliaeth Iesu.—M. 19.

ODIDOG byrth,—
Tragwyddol ddrysau'r nef,
I'ch cadarn Ior
Agorwch, dyma Ef;
Buddugol ddaeth
O'r frwydr fwya' erioed,
Holl nerth y bedd
A sangodd dan ei droed.

Dangosodd nerth
Ei fraich dragwyddol gref,
Ca'dd angeu angeu
Yn ei angeu ef,
Heb dewi mwy,
Coroner ef â mawl,
Caiff fythol glod
Gan luoedd gwlad y gwawl.

1344. Disgyniad yr Ysbryd.—M. 4.

O DISGYN fwyn golomen hardd,
Prydferthwch gardd paradwys,
I lawr i'n plith yr oedfa hon,
Ac yn ein calon gorphwys.

Santeiddia'n serch, a chod ein bryd
Uwchlaw y byd yn gyfan;
A gwna'n calonau celyd ni
Yn demlau i ti dy hunan.

1345. Delw y Duw anweledig.—M. 5.

O DRYSOR llyfr Duw yn awr
Benthycaf enwau'm Harglwydd mawr;
Nid natur oll, na dysg, na dawn,
All ddangos ei Fawrhydi'n llawn.

Gwir ddysglaer ddelw'r Tad a'i bryd
Llewyrchu'n hardd y mae o hyd;
Tragwyddol Fab y bythol Dduw,
Etifedd cyd o'i orsedd yw.

Pan ddel i ymgymmodi â dyn,
Pa ditlau mwyn mae'n ddwyn ei hun!
Goleuni'r byd a'n Bywyd yw,
Mae'n deilwng o'i holl enwau gwiw.

Tosturi sy'n ei galon gu
Wrth lenwi lle Cyfryngwr fry;
A'i saint mewn hedd gânt byth fwynhad
O drysor llawn ei gariad rhad.

1346. Cyfaddef pechod.—M. 5.

O DDECHREU cynta'n bywyd gwan,
Had llygredd sy yn tyfu'r lan;
Y ddeddf perffeithrwydd ofyn hi,
Ond yn mhob rhan halogwyd ni.

O Dduw! dod galon newydd im',
Ac ysbryd union pur er dim;
O gwna fi'n ddoeth i wel'd o hyd
Fy mherygl a'm hiachad mewn pryd.

Nid ffurfiau dynol all lanhau
Y gwahan-glwyf, o'm mewn y mae;
Gwel, syrthio 'rwyf lawr o'th flaen di,
Dy ras yw'm hunig obaith i.

1347. Geni yn Sïon.—M. 4.

O DDINAS Duw, preswylfa'r Ion,
Mawr yw y son am danad!
A gogoneddus air it' sydd
Uwch preswylfeydd yr hollwlad.

Dywedir hyn am Sion ber,
Fe anwyd llawer ynddi,
Nid ambell un,—can's cymhorth da
Yw Duw goruchaf iddi.

1348. Dinaswyr Sion.—M. 29.

O DDINAS Duw! pwy draetha faint
Dy ragoriaethau di, a'th fraint?
Mor wynfydedig yw y saint
Ynt yn preswylio hon:
Mewn gynau gwynion hardd i gyd,
Ac ar eu gorseddfeinciau 'nghyd,
Yn uwch nâ phendefigion byd,
Cânt feddu gwynfyd llon.

Ac er eu galar, gallant hwy
Foliannu'n awr am farwol glwy',
Nid oes dim damnadigaeth mwy
I'r saint o dan y ser:
Er gorfod teithio llawer awr
Dan wylo, yn ngwlad y cystudd mawr,
Fe fydd eu tegwch fel y wawr
Byth fry yn Salem ber.

1349. Temlau gras.—M. 5.

ODDIWRTH bob gofal bydol sy,
Ein henaid, Arglwydd, ymaith dry;
Y byd a'i bethau gwael gadawn,
A dysgwyl wrth ein Duw a wnawn.

Yn nhemlau'th ras, O Dduw, y cawn
Dy weled, a'th addoli'n iawn;
Ac edrych ar dy wyneb cu,
A'th brydferth degwch yn dy dŷ.

Hiraethu mae fy nghalon i
Bod yn dy deml gyda thi;
Ond gado'th dŷ os rhaid i'm traed,
Tydi o'm calon byth na 'mâd.

1350. Llawenydd ysbrydol.—M. 5.

ODDIWRTHYT ti, fy Nuw a'm Rhan,
Y daw llawenydd f'enaid gwan;
Pob gwên o'th eiddo, Iesu mwyn,
Anwyldeb newydd fydd yn ddwyn.

Gorfoledd duwiol f'enaid fydd
Yn drech nâ braw yr angeu prudd;
Caf ado'n ol farwoldeb gwan,
A ffoi o lwch y bedd i'r lan—

I'r lle teyrnasa'r Iesu cu
Ar orsedd hardd y nefoedd fry;
Caf yno foli ei gariad rhad
Dros oesoedd didranc eu parhad.

1351. Cyfeillach y saint.—M. 5.

O DDUW, cyflawna fy holl raid,
At borth dy ras y dof am blaid;
Ond pledio haeddiant ni wnaf i,
Fy nâ nid yw ddim lles i ti.

Dy weiniaid saint all gael llesâd
I'w hysbryd llesg trwy'm rhoddion rhad:
Hwy yw'r gymdeithas oreu'i bri,
Hwy yw'm cyfeillion penaf i.

Os hoffa rhai gael ger eu bron,
Wrth flasu'r gwin, gellweirwyr llon,
Mi garaf fi y nefol ryw,
Sy'n meddu dawn a delw Duw.

1352. Pen y daith.—M. 28.

O DDUW, dod i mi ffydd
Bob dydd o'r daith;
I Sion af yn glau
Dros fryniau maith;
Yn Ben mae yno'n byw
Fy Iesu'n Dduw a dyn,
Fu yma'n wael ei wedd
Mewn bedd ei hun.

Dy nerth i ddwyn y groes
O moes i mi;
Er gwaethaf pob rhyw frad,
Fy Nhad wyt ti:
Ac er fy rhoi'n y llwch
Mewn t'w'llwch dros ryw hyd,
Ni'm cleddir o'i wydd E
Mewn lle'n y byd.

1353. Diwedd blwyddyn.—M. 4.

O DDUW! drwy ffyrdd rhaglunniaeth lwys
Bob dydd fy mhwys gynnaliaist;
I'm henaid llesg, mewn amryw ffyrdd,
Bendithion fyrdd gyfranaist.

Trwy fy holl fywyd hyd yn awr,
Rhagorol fawr fu'th ddoniau;
Gwaredaist fi, o'th ras, rhag ing,
A mil o gyfyngderau.

Cyfranu wnaethost, nefol Dad,
Ddaioni rhad i'm henaid;
Dim eisieu arnaf byth ni ddaw,
Tra yn dy law fendigaid.

Cryfha fy ffydd i deithio'r glyn,
Fel gallwyf yn y diwedd
Gael hardd ymddangos ger dy fron,
A derbyn coron sylwedd.

1354. Trigo gyda Duw.—M. 4.

O DDUW ein Hior, pa ddyn a wel
Le tawel dy santeiddrwydd?
Un â llaw lân a chalon bur,
Fo'n gywir gyda'r Arglwydd.

Hwn yw y dyn a gaiff yn llon
Fendithion pur y nefoedd;

A hyn bob pryd fydd rhan y neb
Gais wyneb Duw y lluoedd.

Darparwn ein heneidiau'n rhwydd;
I'w lys daw'r Arglwydd nefol:
Brenin Gogoniant sy'n nesâu,
Dyrchefwch ddrysau bythol.

Brenin Gogoniant! Pwy a dd'wed
Ei nerth ar led, a'i wyrthiau;
Mae'n llywio'r byd,—ond hoffi mae
Breswylio gyda'i seintiau.

1355. Dychwelyd at Dduw.—M. 5.

O Dduw! erglyw fy ngweddi'n rhwydd,
Er bod fy meiau oll i'th wydd;
A golwg ddig na chenfydd hwy,
Ond tyn hwynt o'th goflyfr mwy.

Dod ynwyf anian bur drwy ras,
Fel byddo pechod geny'n gas;
D'orfoledd rho i wella'm clwy',
A chynnal fi rhag cwympo mwy.

Y galon isel ddrylliog yw
Yr aberth oll a geisia Duw;
Ni ddiystyra byth mo hon,
Tra yn y llwch bydd ger ei fron.

I'r anwir dysgu wnaf dy ffyrdd;
Ac atat troir eneidiau fyrdd;
At waed y Prynwr gwnaf eu dwyn,
Am bardwn molant hwythau'n fwyn.

1356. Dechreu blwyddyn.—M. 4.

O Dduw, fy Ior! tra byddwyf ar
Y ddaear hon yn teithio,
Dysg i mi ymddwyn er dy glod,
A bod o hyd yn effro.

Tra byddwyf ar fy ngyrfa fer,
Boed i mi arfer gweddi;
I ddyfal geisio Crist yn rhan,
O dyro anian i mi.

Na ad im' ddechreu'r flwyddyn hon
Yn foddlon heb dy 'nabod;
Cam-dreuliais lawer rhan o'm hoes,
O Arglwydd, moes dy gymmod.

1357. Noddfa i'r ofnus.—M. 4.

O Dduw, fy Noddfa, gwrando'm cri,
Gwel faint yw llif fy nagrau;
Y byd ag uffern a'm casânt,
A llawenhant yn f'ofnau.

At f'enaid prudd annelu wnant,
Hwn lanwant ag euogrwydd;
Ymdrechant siglo'm hyder maith,
A'm gobaith yn yr Arglwydd.

Mae holl linynau'm calon wan
Yn seinio gan riddfanau;
O bob tu im' mae braw yn bod,
Fel dyffryn cysgod angau.

Rhag angau cedwaist fi, fy Ior,
Rhyddha garcharor etto;
A'm calon, llaw, a'm bywyd i,
Gânt drosot ti lafurio.

1358. Gwrando cri a maddeu.—M. 30.

O Dduw, pwy fel tydi
Sy'n gwrando cŵyn a chri,
Gan drugarhau;
A maddeu beiau byth,
A'u claddu, rif y gwlith,
A golchi'n lân ddilyth,
A llwyr iachau.

Mwy gerthfawr i mi yw
Trugaredd rad fy Nuw,
Nâ pherlau'r byd;
Rhydd i mi gymmod llawn,
Drwy yr anfeidrol Iawn;—
Annhraethol ydyw dawn
Yr angeu drud.

1359. Gweddi mewn henaint.—M. 4.

O Dduw rho im' dy nawdd yn fraint
Yn amser henaint egwan;
Er pallu'm nerth, cryf hâ fy ffydd
Hyd ddiwedd dydd fy oedran.

Fy ngobaith innau a fydd byth
Yn ddilyth a safadwy;
Ac ynot ti ymddiried wnaf,
Ac a'th foliannaf fwyfwy.

1360. Gweddi'r cystuddiol.—M. 5.

O Dduw! rho 'nabod Crist yn rhan,
Cyn myn'd o'r byd i'r dystaw fan;
Cymhwysa fi drwy boen a chur
I gwmni'r saint mewn bywyd pur.

O! golcher fi o'm pen i'm traed,
Yn burwyn yn y dwyfol waed;
A gwisger f'enaid noethlwm trist
Yn hardd-deg â chyfiawnder Crist.

1361. Dechreu blwyddyn.—M. 9.

O Dduw rhoist ymborth iachus,
Trugaredd werthfawr iawn,
Gofalaist ti am danaf
Bob boreu a phrydnawn;
Yn ngwyneb myrdd o feiau,
Cynnaliaist fi o hyd,
I weled blwyddyn etto
Cyn myn'd i'r bythol fyd.

1362. Dinaswyr Sion.—M. 4.

O Dduw'r santeiddrwydd! pwy a fydd
O fewn dy ddedwydd annedd;
Neu pwy a ddring i'th fynydd draw
I aros gerllaw d'orsedd?

Y dyn sy'n rhodio'th lwybrau gwiw,
A'i fryd ar fyw yn gyfion;

Sy'n credu dy Addewid bur
  Gan wneuthur dy orch'mynion.
Ei law, ni lygra gwobrau aur,
  Y gwan ni chair e'n wasgu;
Hwn ydyw'r dyn dros byth ga fyw,
  A chyda Duw deyrnasu.

1363. Serch ar y nef.—M. 5.

O Dduw sefydla'm serch a'm bryd
Yn fwy ar bethau bythol fyd;
A'th gynghor yma arwain fi
A dwg fi i'r gogoniant fry.

Gâd i mi wel'd dy nefol wedd,
A chlywed hyfryd lais dy hedd;
Yn dwyn fy nghalon ar dy ol
Oddiar y byd a'i bethau ffol.

1364. Llywydd Prydain.—M. 4.

O Dduw, yn awr, drwy'n hynys gu
  Llewyrcha di mewn urddas,
Ac megys mûr o gaerog dân
  O amgylchyna'n teyrnas.

Pa bryd y bydd i'th enw, Ior,
  O fôr i fôr ymdaenu,
A phawb yn mhell i ofni Duw
  Ein Ceidwad gwiw, a'i garu.

1365. Mawl plant.—M. 4.

O enau egwain bychain blant
  Dy foliant a berffeithiaist;
A rhai yn sugno, dyna'r sawl
  Yn rasawl a fendithiaist.

Fel hyn o radd i radd yr y'm
  O rym i rym yn tyfu,
At fyth barhad, drwy rad yr Ion,
  Yn ffyddlon weision Iesu.

1366. Soniarus gân y nef.—M. 9.

O enw ardderchocaf,
  Yw enw marwol glwy';
Caniadau'r holl angylion,
  A fydd fath enw mwy;
Bydd yr anfeidrol ddyfais
  O brynedigaeth dyn,
Gan fyrdd myrddiynau yno
  Yn cael ei chânu'n un.

Ni fedr daear gânu,
  A'i holl soniarus lef,
Ganiadau mor felused
  A mwyn ganiadau'r nef;
Bydd holl delynau'r nefoedd,
  Mewn un hyfrydaf dôn,
Yn seinio gyda'u gilydd,
  Ogoniant addfwyn Oen.

1367. Gweddi ola'r Cristion.—M. 10.

O euogrwydd fel mynyddau!
  O feddyliau llawn o fraw!
Ofni bod yn fyr o bwysau
  Yn y glorian sydd gerllaw;
Mae fy amser bron a darfod,
  A fy mhechod ger fy mron;
Arglwydd, dyro dy adnabod,
  Yn y brofedigaeth hon.

Y mae ofnau a thywyllwch
  I'm hamgylchu y pryd hyn,
Arglwydd, dyro brawf o'th heddwch,
  Gwawria arnaf yn y glŷn;
Dangos i mi'r "enw newydd,"
  Bywyd gyda Christ yn Nuw,
Rho dy Ysbryd yn arweinydd
  Yn yr angeu—digon yw.

Tra mae calon yn llesmeirio,
  Mi orweddaf wrth dy droed,
Mae dy air i'm cynnorthwyo
  Yn yr awr gyfynga erioed;
A dy gedyrn addewidion
  I'm cysuro y pryd hyn;
Mae pob llawnder yn y Person
  A groeshoeliwyd ar y bryn.

1368. Lladd y beiau.—M. 5.

O feiau mawr! Beth all'sech fwy
Nâ rhoddi i Frenin nefoedd glwy'!
Lladdasoch Ef. Fe drodd y rhod,
Mae dydd eich dial chwithau'n d'od.

Chwi, fy mhechodau o bob gradd,
Sy'n fwyaf cadarn am fy lladd;
Er maint eich grym gwellheir fy nghlwy',
Mae angeu Iesu'n llawer mwy.

Ni cheisiaf loches ond ei glwy',
Dan dônau mawrion fwy nâ mwy;
Mae'i waed, yn nyfnder culni a gwae,
Yn peri i mi lawenhau.

1369. Melusder y gair.—M. 4.

O, fel 'rwy'n hoffi'th gyfraith bur,
  Bob dydd mae'n ddifyr geny';
Ac wrth fyfyrio ynddi'r nos,
  Mae'n dangos addysg imi.

Pan gartref neu yn mhell y'm cair,
  Fy ngwledd yw d'air bob amser;
Nid yw diferiad diliau mel
  Ddim tebyg ei felusder.

Nid oes yn bod ar dir na môr
  Fath drysor i'w gael allan:
Am hyn nis gwerthwn byth dy air
  Am fil o aur ac arian.

Pan ballo cnawd, pan syrth i lawr,
  Dy werthfawr addewidion,
Fel braisg golofnau, ddeil i'r lan
  Fy ngobaith gwan a'm calon.

1370. Gras fel y môr.—M. 5.

O, f'enaid, cân â nefol flas,
Fawl dy Waredwr mawr ei ras:
Danfonodd it' o'r nef iachad,
O cofia ei drugaredd rad.

I'th ran y daeth, o ddoniau'r Ior,
Ras a thrugaredd fel y môr;
Bendithia, f'enaid, byth am hyn,
A chân am Iawn Calfaria fryn.

1371. Noddfa ddiysgog.—M. 9.

O, F'ENAID, gwel fath Noddfa
Ddiysgog gadarn yw,
Yn nghanol cyfyngderau
Tragwyddol ras dy Dduw;
Dy noddfa glyd a'th drigfa,
A'th hyfryd dawel nyth,
Yn nyfnder pob cystuddiau
Fo dan ei aden byth.

Plyg, f'enaid, wrth ei orsedd,
A gorwedd wrth ei draed;
Rhyfedda'r drefn achubol
Arfaethwyd gan y Tad:
Os peidio wnei â chanu
O foreu hyd brydnawn,
Fe'th fernir gan angylion
Yn anniolchgar iawn.

1372. Hwylio'n hwylus.—M. 9.

O F'ENAID, moria bellach
Yn mlaen tua'r nefol wlad;
Tawelodd Iesu'r stormydd
Oddiyma i dŷ fy Nhad:
Nac ofna mwy wrth forio,
Ti elli gael o hyd
Arogli o'i rhinweddau,
A gwel'd ei thrysor drud.

'Rwyf yn dy ddewis, Arglwydd,
Yn Briod ac yn Dduw;
Mae'th angeu drud yn deilwng
O'm moliant tra b'wyf byw;
'Does arall dan y nefoedd
All roddi i mi hedd,
A gwneyd im' orfoleddu
Pan b'wy'n wynebu'r bedd.

1373. Ffydd yn cyfiawnhau.—M. 5.

OFER yw gobaith pob rhyw ddyn
Sy'n pwyso ar ei waith ei hun;
Wrth natur, calon pawb sydd ddrwg,
Ffrwyth pur na gweithred dda ni ddwg.

Iesu, dy ras mor werthfawr yw,
Pan gredom yn dy enw gwiw,
Derbyn cyfiawnder mae ein ffydd,
A gyfiawnha'r pechadur prudd.

1374. Caniadau Salem.—M. 24.

O FEWN i Salem, ddinas olau,
Y bydd hynodawl ber ganiadau,
A pheraidd seinio Halaluia
Byth fydd yno i'r Jehofa;
Fe fydd torf ddirif o seintiau,
Ac angylion gwiwlon golau,
Yn c'lymu clod uwch y rhod,
I'r Bôd sy'n llywio'r bydoedd,
Gyda'r Iesu, Craig yr Oesoedd,
Ar y nefol heirdd ardaloedd.

1375. Gorphwysfa'n ol.—M. 13.

O FEWN yr anial dir
Bydd galar dros brydnawn,
Ond boreu braf ddaw yn ei bryd,
Mae'n gwawrio'n hyfryd iawn;
'Dyw'r adeg ddim yn mhell
Cawn wlad sydd well i fyw;
Y mae gorphwysfa eto'n ol
I ddedwydd bobl Dduw.

1376. Gwlad dydd diddarfod.—M. 4.

O FEWN y llen, tu draw i'r bedd,
Mae gwlad o hedd diddiwedd;
Lle mae'r Messia mawr ei hun,
Yn natur dyn yn eistedd.

Sylweddol yw'r dedwyddwch sydd
Yn ngwlad y dydd tragwyddol,
A gwleddoedd o ddanteithiol rin
I'r enaid blin diffygiol.

O am gael meddu ffordd iawn wir
I wel'd y tir dymunol;
Gwlad yn llifeirio o fêl a llaeth
Yw'r etifeddiaeth nefol.

1377. Mawl y nef.—M. 41.

O FEWN y nef bydd dedwydd lu,
A'u cân am gariad Iesu cu;
Mewn cynnydd bydd ein mawl o hyd
Pan elom i'r tragwyddol fyd;
A hyn fydd sain y gân i gyd,
Ei gariad Ef.

Ond i ni dd'od i'w wleddoedd Ef,
A pharotoi i deyrnas nef,
Cawn hyfryd wledd tu fewn i'r llen,
Yn nghwmni'r Gwr fu ar y pren,
A gwledda'n llon byth uwch y nen
Ar gariad Duw.

1378. Min y pydew.—M. 27.

O FIN y pydew obry
Daeth Iesu i'm gwaredu,
O'i ras ar Galfari;
Fy nyled mawr oedd,
Fe'i talodd ar g'oedd,
Fe brynodd y nefoedd i mi.

Caf ddiwedd ar bob blinfyd,
Fy nghystudd mawr, a'm hadfyd,
Yn nhir y bywyd fry:
Tragwyddol fwynhad
Yn nheyrnas fy Nhad,
Heb unrhyw frad i'm drygu.

1379. Tawelu ofnau'r bedd.—M. 9.

O FLAEN y fainc rhaid sefyll,
Rhaid sefyll cyn bo hir;

Nid oes a'm cynnal yno
Ond dy gyfiawnder pur:
Anturio wnaf heb ofni
Trwy ddyfroedd a thrwy dân,
Ond i mi gael fy ngwisgo
Yn dy gyfiawnder glân.

Yn angeu'r groes yn unig
Mae'm hiechydwriaeth lawn,
Am angeu'r groes mi ganaf
O foreu hyd brydnawn;
'Does ond yr Aberth hwnw
Wnawd ar Galfaria fryn,
A'm crea oll o newydd,
A'm càna oll yn wyn.

1380. Effaith gweddi ffydd.—M. 3.

O FLAEN yr orsedd troir y nos,
Trwy waed y groes yn ddydd;
Ni ddichon gallu uffern ddal,
Nac attal gweddi'r ffydd.

Gerbron y drugareddfa lân
Fe gân yr euog rai;
Mae iechydwriaeth Calfari
Yn golchi pob rhyw fai.

1381. Boreu dedwydd.—M. 48.

O FOREU-DDYDD dedwydd iawn,
Pan ddelo'r dysglaer lu
O bob cwr o'r ddaear lawr,
I gwrdd â'u Harglwydd cu;
Derfydd gofid a phob gwae,
Derfydd temtasiynau maith,
Fe dderfydd pechod mawr ei rwysg,
A derfydd dyrys daith.

Bydd cymmanfa hardd mewn hedd,
Duwiolion oll yn un,
Ac angylion gwyn eu gwedd,
Yn moli Mab y dyn.
A chaniadau fydd y rhai'n
Na ddaeth i galon dyn erioed
Feddwl yma is y nen
Fod dim o'u bath yn bod.

1382. Neithior yr Oen.—M. 10.

O FOREU-DDYDD y briodas!
O hyfrydaf ddedwydd awr!
Gwel'd wynebpryd y Priodfab!
Clywed sain y delyn fawr!
Af tan ganu dros y moroedd,
Hwyliaf tua'r nefol wlad;
Ac anghofiaf hen ganiadau
Gwag bleserau tŷ fy Nhad.

Nerth os caf, mi frysiaf mwyach
Tua'm hafaidd wlad fy hun,
Lle mae'm Duw yn gwisgo'n berffaith
Mewn gogoniant natur dyn:
Na foed i mi gartref bellach,
Fangre arall ond y ne';
Neb yn Dad, na neb yn Briod,
Neb yn Arglwydd ond efe.

1383. Diwedd da.—M. 4.

O FRAINT y gwr sy'n duwiol fyw,
Caiff gyda Duw ymdeithio;
A phan i ben ei daith yr â,
O! 'r diwedd da fydd iddo.

Os ing newidia'i wyneb pryd
A'i liw yn nghyd wrth drengu;
O'r rhagor welir yn ei wedd,
Pan ddring o'i fedd i fynu!

Tra daliodd ffûn ei anadl frau
Hyd angeu bu'n milwrio;
Ond pan i wydd ei Dduw yr â
O! 'r croeso da fydd iddo.

1384. YR AIL RAN.

RHYW ddrycin gafodd drwy ei ddydd
Nes yn y pridd noswylio;
Ond deffry, a phan gwyd i'r làn
Mor deg fydd trannoeth iddo!

Pan ddeffry'r tafod heddyw sydd
Yn nghudd dan bwys y graian,
'E dry ei anthem floesg yn floedd
Ar ben mynyddoedd Canaan.

Er gwneyd ei wely yn y gro
Caiff ddeffro i deyrnasu;
Ac O! pan ddelo'i draed yn rhydd,
Mor debyg fydd i'r Iesu.

Ei orchwyl yma yn y glỳn
Oedd *marw* beunydd, beunydd,
Ond fry yn llon gerbron ei Dduw
Ni bydd ond *byw'n* dragywydd.

1385. Urddiad gweinidog.—M. 6.

O FUGAIL Israel! tydi sy
'N gofalu am dy ddefaid cu;
Bugeiliaid îs eu codi 'rwyt,
I roi wrth raid i'n henaid fwyd.

I'th holl eglwysi rho'r fath rai
Fo'n ol dy galon yn ddifai:
Eu cariad a'u ffyddlondeb gwiw
Fo'n oleu i'r byd, ac wrth fodd Duw.

O dan eu gofal tyner hwy
Dy ddefaid fo'n cynnyddu'n fwy;
A'u siamplau teg fo'n dwyn y praidd,
I mewn i Sion a'i phorfeydd.

O gwrando ein deisyfiad ni,
A'th fendith yma rho i'th dŷ;
Ymg'ledda'th saint fel na b'ont hwy
Fel defaid heb arweinydd mwy.

1386. Gweddi'r eglwys.—M. 5.

O FUGAIL Israel! Y gwir Dduw
Oedd rhwng cerubiaid gynt yn byw;
Dy weiniaid braidd a ddygaist, Ior,
Drwy'r anial maith a'r garw fôr.

Mae'th eglwys 'nawr mewn anial le,
Llewyrcha, tywys hon i dre';
Ei phorthi wneir â'u dagrau blin,
Yn lle â'r nefol fara a gwin.

Duw mawr, i'r hwn y plyg llu'r nef,
Pa hyd cawn fod yn drist ein llef?
O dychwel ni, moes heddwch mwy,
A'n hachub gawn heb gwyno mwy.

1387. Cofio am y gwaed.—M. 10.

O fy Arglwydd, mae'r amlygiad
O dy gariad ar y groes;
Yn fy ngalw a fy rhwymo
I dy gofio ddydd a nos;
Pwy all byth anghofio poenau,
Gwaed, ac angeu un mor gu?
Gwaed dywalltwyd i gael golchi,
Golchi'n lân aneirif lu.

Beth all ennill cof a chariad
Gwresog gwastad enaid dyn,
Yn y nef neu ar y ddaear,
Beth oddieithr Crist ei hun?
Cysur llawn a gawn ni ganddo,
Hyn mae'n addo i ni'n awr;
Beth!—am yfed gwin o newydd
Gyda'n Harglwydd uwch y llawr.

1388. Priod cyfoethog.—M. 10.

O fy enaid gwyw, sycheda
Am drysorau uwch y ser;
Cais yn Gyfaill, Brawd, a Phriod,
Un sydd Ben yn Salem ber;
Crist dy Iesu ydyw hwnw,
Gwerthfawr yw ei enw ef,
Dwg di'n ddiogel drwy bob blinder
I orfoledd pur y nef.

1389. Ymdrech Iesu.—M. 8.

O fy enaid, nac anghofia
Ymdrech Iesu yn yr ardd,
Ei riddfanau ef a'i boenau,
Wrth glirio'n llwyr ei gyfraith hardd:
Iesu yw'r Iawn, daliad llawn,
A ddyoddefodd un prydnawn.

Gwel E'n chwysu'r dafnau gwaedlyd
Ar noswaith rewlyd yn yr ardd;
Iesu siriol, rhosyn Saron,
O hwn bendithion pawb a dardd:
Ein Bara byw, a'n Haberth yw,
Dyoddefodd dân digofaint Duw.

1390. Dyoddefaint Iesu.—M. 10.

O fy enaid tro dy olwg
I Galfaria'r fynud hon,
Gwel dy Geidwad dan yr hoelion,
A'r bicell fain o dan ei fron;
Colli gwaed a cholli dagrau
Dan ei glwyfau gwelwyd e',
Dyodde' a marw i gadw bywyd
F'enaid euog wnaeth efe.

Ond im' ganfod, drwy'r arwyddion,
Loesau chwerwon Iesu Grist,
Er mai euog wyf, mi ganaf—
Dacw noddfa i f'enaid trist!

Hyn mae'n geisio gan bechadur
Dim ond *cofio* ei angeu loes,
Deuwch, deuwch, bechaduriaid
I gofio'n Brawd ar bren y groes.

1391. Cwyn yn erbyn culni.—M. 10.

O fy llygredd, O fy nghulni!
O fy mrynti o bob rhyw!
Buoch gedyrn rwystrau i mi
Gymdeithasu â fy Nuw:
Tra 'roedd cyngân, dawns, a gwleddoedd
Yn nghynteddoedd tŷ fy Nhad,
Cawswn farw yn eich maglau,
Oni bai trugaredd rad.

1392. Trysor enaid.—M. 7.

O fy nghalon, bellach deffro,
Cwyd dy olwg tua'r fan,
Lle mae trysor wedi'i roddi
All ddigoni'r enaid gwan:
Iesu ydyw,
Ac mae'n fwy nâ'r nef i gyd.

Trof fy ngolwg tuag ato
Am gael lle i guddio'r gwan,
Mwy edrychaf ar i fynu
Am gael Iesu i mi'n rhan;
Ef yw'm bywyd,
A fy unig drysor drud.

1393. Golwg ar y nef.—M. 7.

O gwasgerwch dew gymylau,
I'r addewid rhoddwch le;
Nid i'r ddaear hon y'm ganwyd,
Tragwyddoldeb yw fy lle:
Ffoed y t'w'llwch, &c.
Doed o'r diwedd hyfryd wawr.

Mi ddymunwn wel'd yn rhwygo
Dewion ddu gymylau'r nef,
Fel y gallwyf weled gronyn
O'i ogoniant hyfryd Ef:
O datguddia, &c.
Degwch llon dy wyneb-pryd.

1394. Hiraeth am ryddhad.—M. 5.

O gwawria hyfryd ddedwydd ddydd,
I'm henaid lleŝg gael myn'd yn rhydd;
Carcharor wyf mewn anial wlad,
Yn dysgwyl beunydd am ryddhad.

Dysgwyliaf nes y del y wawr,
Sy'n arwain dysglaer olau mawr;
Fe gwyd yr haul, daw bore clir,
Caf wel'd fy nghartref cyn b'o hir.

Mae'm henaid egwan am gael dod,
I'r man dymunais ganwaith fod;
A chael mwynhau ei gariad ef,
A drefnwyd cyn sylfaenu'r nef.

1395. Dwr a gwaed.—M. 31.

O golch fi yn y ffynnon fawr,
A redodd dan dy fron i lawr,

O ddwr a gwaed, o ddwr a gwaed;
Rho im' lanhad, a nefol hedd.

O ddedwydd hapus berffaith awr,
Y gwelir finnau fel y wawr;
Mae rhinwedd mwy, mae rhinwedd mwy
Mewn marwol glwy', nag fedd y byd.

1396. Marwolaeth baban.—M. 43.

O gollwng fi, dyneraf fam
Mae gorchudd angeu dros fy ngrudd;
Na foed i'th galon bur ddinam
O achos hyn ymdeimlo'n brudd;
Fel cragen wan wyf ar y traeth
A ddygir gan lifeiriol li',
O flaen y gwynt y dòn a ddaeth
Mae'n sïo, clyw, O gollwng fi.

O gollwng fi, pererin wyf
A ddaeth i weled byd o wae,
Wrth wenu arno rhoes im' glwyf
A chwerwi fy nysgleidiau mae;
Er gwaetha'r byd, gobenydd gaf
Esmwythach nâ dy ddwyfron di;
Mi wela'n awr yn mynwes Naf
Ystafell gled, O gollwng fi.

1397. YR AIL RAN.

O gollwng fi, mae lleni'r nos,
A'r holl gysgodau'n gado'r llawr
Canfyddaf dros y bryniau, dlos
Wawr dirion tragwyddoldeb mawr;
Pinaglan heirdd Caersalem sydd
Yn dod i'm golwg yn ddiri';
Caiff f'enaid fyn'd o'i rwymau'n rhydd
Fe ddaeth yr awr, O gollwng fi.

1398. Marwolaeth baban.—M. 43.

O gollwng fi, mae teulu'r nef,
Yn dysgwyl wrthyf ddod i'r ŵyl,
Fy mainc a drefnwyd ganddo ef,
Mae tànau'r delyn oll mewn hwyl;
Mae'r bwrdd yn llawn danteithion per,
Y gwestwyr mewn addurnawl fri,
A'r lampau fel dysglaerwych ser
Yn harddu'r llys, O gollwng fi.

O gollwng fi, mae cerbyd gwych
O'r nefoedd wedi dod i'm hol;
Dy ddagrau gloywon ymaith sych,
Na wyla fynud ar fy ol;
Cei dithau'n fuan rodio'r glŷn
A chroesi gorwyllt rym y lli';
Cawn fod yn nghyd ar Sion fryn,
Bydd iach hyd hyn, a gollwng fi.

1399. Emyn genadol.—M. 9.

O Greenland oer fynyddig,
O draethau'r India fawr,
Lle cluda ffrydiau Affrig
Y tywod aur i lawr;
O lawer gwlad ddyfradwy,
O lànau'r palmwydd gwyrdd,
Erfyniant ein cynnorthwy,
Rhag coel grefyddau fyrdd.

Gawn ni, y rhai oleuwyd
A gwawl o'r nefoedd fry,
Nacâu goleuni'r bywyd
I rai mewn tywyllwch sy'?
Achubiaeth, O achubiaeth!
Yn llon gyhoedder mwy,
Nes clywo pob rhyw dalaeth,
Am Grist a'i farwol glwy'.

1400. Hyfrydwch y Sabboth.—M. 4.

O groesaw ddydd gorphwysdra hedd,
Daeth Crist o'r bedd i fynu;
Fy nghalon sydd a'm llygaid hyn,
O'i weled yn llawenu.

Un dydd, yn wir, melusach yw,
Lle byddo Duw yn dyfod;
Nâ myrdd o ddyddiau i'w mwynhau
Yn ngwael bleserau pechod.

Fy enaid mewn fath hwyl â hon
Arosai'n foddlon hollol,
I gânu ac ymdreulio o hyd,
Nes myn'd i'r gwynfyd bythol.

1401. Drws heb ei gau.—M. 38.

O gwelwn y Messia
Yn myned i Galfaria,
Mewn uchel fwriad,
I drefnu iechydwriaeth,
Trwy rym ei gariad helaeth,
I bechaduriaid;
Yn wir, goddefodd ddirfawr gur,
Yr Iesu tirion,
Agorodd ffynnon,
O waed ei galon,
Pan dan yr hoelion dur;
Er achub ein heneidiau,
Bu poenau'r Meichiau pur.
Diau, y llid a wnaeth yn llai,
Trwy ing a thrallod,
A phoenau hynod,
Rhoes iawn a chymmod
Dros bechod a phob bai;
Agorodd ddrws i gaethion
Nas dichon neb ei gau.

1402. Y dyrfa fry.—M. 31.

O gwyn eu byd y dyrfa fawr,
Yn iach a hedodd uwch y llawr;
Marwolaeth mwy, marwolaeth mwy,
Ni chwrdd â hwy sydd fry mewn hedd.

Mi gofiaf yno am y dydd,
Y gwnaed fy rhwymau oll yn rhydd,
A thry fy ngwae, a thry fy ngwae,
Yn llawenhau yn nhŷ fy nhad.

1403. Y gân dragywyddol.—M. 18.

O gwyn eu byd y dyrfa
Sy'n cânu Halaluia,

Cawn ninnau ddianc cyn bo hir,
I mewn i'r wir orphwysfa;
A chânu i dragwyddoldeb,
Mewn hwyl a nefol undeb,
Heb gwmwl rhyngom byth mewn hedd,
A siriol wedd ei wyneb.

Cawn ganu'r gân dragwyddol,
Am alw ac am ethol,
A moli'r Hwn fu ar y groes
Yn marw dros ei bobl:
Byth yno ni gawn orphwys,
Ar ol ein gwneyd yn gymhwys,
Tan gysgod pren y bywyd pur,
O fewn y wir baradwys.

1404. Diffynfa Sïon.—M. 5.

O HAPUS eglwys, santaidd le,
Gorseddfa rasol Brenin ne';
Dy lân gynteddau'i drigfan yw,
Ti yw daearol lys ein Duw.

O'th furiau cedyrn, 'run ni syrth,
Rhyfelwyr nefol geidw'th byrth;
Ni syfla'th sail, sefydlog yw
Ar gynghor doeth a chariad Duw.

Ein henaid mwy yn Sion drig,
Heb ofni grym uffernol ddig;
Duw yw ein Haul a'n Tarian gref,
A'n Twr a'n Noddfa byth fydd ef.

1405. Nadolig Crist.—M. 1.

O HENFFYCH fore wawr
Daeth Crist i lawr o'r nef,
Mewn gwisg o gnawd, yn faban gwan,
Boed llon ein cân a'n llef.

Rhown floedd hyd lŷs y nef,
Yn ngeiriau'r anthem glir
A ganai'r côr angylaidd cu
Uwch meusydd Bethlem dir.

Gogoniant byth i Dduw,
I ddyn tangnefedd gu,
Ewyllys da yw llais eich Tad,
Fe ddaeth eich Ceidwad chwi.

1406. Meddwl wrth y groes.—M. 5.

O HOELIA'm meddwl ddydd a nos,
Crwydredig wrth dy nefol groes;
A phlana'm hysbryd yn y tir
Sy'n llifo o lawenydd pur.

Nid yw pleserau penau'r byd
Yn deilwng o fy serch a'm bryd;
Un wên o eiddo 'Mhrynwr cu
Sydd ganmil gwell nâ'r rhai'n i mi.

Rho i mi lechu'n dawel glyd
O gyrhaedd swn fy meiau 'gyd,
Uwch twrf holl demtasiynau'r llawr,
Dan gysgod dy gyfiawnder mawr.

1407. Rhyfeddodau'r groes.—M. 5.

O HOLL weithredoedd nef ei hun,
Y benaf oll oedd prynu dyn:
Rhyfeddod fwyaf o bob oes,
Gwel'd Iesu'n gwaedu ar y groes.

Mae yma drysor mawr a drud,
Gwaed Duw yn llifo dros y byd;
Na foed byth ond ei farwol glwy'
Yn sylfaen ein caniadau mwy.

Dyfnderoedd annhraethadwy mwy,
Didrai, difesur, sy'n ei glwy';
Hyfrydaf waith angylion fry,
Yw cofio angeu Calfari.

1408. Sabboth hyfryd.—M. 5.

O HYFRYD Sabboth, dyma'r dydd,
I'r meddwl fod mewn hedd yn rhydd;
Dydd i fod gyda Duw a'i waith,
Y dydd melusaf yw o'r saith.

Rho im', O Dduw, trwy fywiol ffydd,
Fod yn yr ysbryd ar dy ddydd;
Fy meddwl a ehedo draw,
Nes gorphwys yn y byd a ddaw.

1409. "Os Duw a'i myn."—M. 5.

O HYN i maes fy enaid taw
Yn nghylch myn'd yma a myn'd draw;
I wneuthur hyny, neu wneyd hyn,
Heb ddweyd yn ddwys, 'Os Duw a'i myn.'

Os daw i'm rhan gystuddiau mawr,
Mi blyga'n wylaidd tua'r llawr;
Heb rwgnach gair, ond adde'n sŷn
Mai ti, fy Arglwydd a wnaeth hyn.

1410. Gorphwys ar Grist.—M. 1

O IACHAWDWRIAETH wiw,
Ti yw fy nghân i gyd,
Rhinweddau nefol hyfryd hon
A'm deil mewn dyrus fyd.

Fy enaid dyro'th bwys,
A gorphwys arni mwy;
A'th holl ymddiried yn ddilyth
Fo byth mewn marwol glwy'.

Mae yma wledd ddidrai,
I'r rhai lluddedig sy,
Yn teithio trwy'r anialwch blin
I Sion santaidd fry.

1411. Iachawdwr pechaduriaid.—M. 10.

O IACHAWDWR pechaduriaid,
Sydd â'r gallu yn dy law;
Rho oleuni, hwylia'm henaid
Dros y cefnfor garw draw;
Gâd i'r wawr fod o fy wyneb;
Myn fy enaid caeth yn rhydd;
Nes i'r heulwen ddysglaer godi,
Tywys fi wrth y seren ddydd.

Cul yw'r llwybr wy'n ei gerdded,
Is fy llaw mae dyfnder mawr,
Ac 'rwy'n ofni yn fy nghalon,
Rhag i'm traed i lithro'i lawr;

Yn dy law y gallaf sefyll,
Yn dy law y dof i'r lân,
Yn dy law byth ni ddiffygiaf,
Er nad wyf ond eiddil gwan.

1412. Mynwes glyd Iesu.—M. 16.

O Iesu byw, Iachawdwr byd,
Dwg fi yn glau i'th fynwes glyd;
Rho brawf o'th gariad cu,
Sydd well nâ'r gwin i'm henaid gwan,
Am hyn 'rwy'n daer am gael dod dan
Dy dirion aden di.

Dy gariad pur yn f'enaid dod,
Ac ynddo fyth gad i mi fod,
I gânu'th glod yn glau;
Nes gado'n deg yr anial dir,
A myn'd i mewn i Salem glir,
O'm gofid, ac o'm gwae.

1413. Gweddi wrth yr afon.—M. 9.

O Iesu, cofia am danaf,
'Rwyf yn wynebu'r glyn;
Bydd i mi yno'n gyfaill,
'Rwyf yn dymuno hyn;
Mae'r trallod wedi dyfod,
O bydd yn noddfa'n awr,
A dal fy mhen i fynu
Yn llif yr afon fawr.

Ust! Dyma lais f'Anwylyd
Yn dweyd yn hyfryd iawn,
'Rwyf gyda thi, bydd dawel,
Cei ddiogelwch llawn;
Trwy'r dw'r a'r tân pan elych
Mi fyddaf gyda thi;
Nac ofna'r hen Iorddonen,
Mi dorais rym y lli'.

1414. Ffoi at Grist.—M. 19.

O Iesu cu,
Gâd im' i'th fynwes ffoi,
O'r tònau sy'
O'm hamgylch yn crynhoi;
O cuddia 'mhen
Dan nawdd dy aden lon,
Nes heibio'r â
Y storom erwin hon.

Gwn nad oes neb
All gadw 'mywyd i
Mewn 'stormydd dig,
Yn unig, ond tydi:
Fy unig hedd
Yn nghanol fy holl wae,
A'm gobaith yw,
Fod cariad Duw'n parhau.

1415. Esiampl Crist.—M. 5.

O Iesu cu! mor oleu cair
Fy holl ddyledswydd yn dy *Air*,
Ond yn dy *fywyd*, cyfraith Duw
A welir mewn llyth'renau byw.

O'r fath wir sêl o'th eiddo gaed!
Fath barch i ddeddfau pur dy Dad!
Fath gariad ac addfwynder llawn!
Dymunwn pe eu meddu wnawn.

Bydd i mi'n Batrwn, pâr im' ddwyn
Mwy yma o'th ddelw rasol fwyn;
A rho im' le ac enw'n mhlith
Dilynwyr glân yr Oen dros byth.

1416. Aros gyda ni.—M. 3.

O Iesu, ffrynd cystuddiol rai,
Un tirion iawn wyt ti;
Mae'n hwyr, a'm dydd ar ddarfod bron,
O aros gyda mi.

Ymdeithio 'rwyf mewn anial wlad,
Rho im' dy gwmni di;
Mae haul fy nydd ar fachlud bron,
O aros gyda mi.

1417. Dymunoldeb Iesu.—M. 19.

O Iesu gwiw,
Hyfrydwch nefol lu,
Mor ber i'r glust
Yw sain dy enw cu!
I'r genau mae
Fel mêl yn felus bur,
Ac fel y gwin
I'r galon dan ei chur.

Am danat ti
Yn fynych mae fy nghwyn:
Pa bryd y caf
Dy lon ymweliad mwyn?
Pa bryd y gwnei
Fi'n llawen â dy wedd,
Pa bryd y caf
Fy llenwi â dy hedd?

1418. Prynedigaeth drwy waed.—M. 4.

O Iesu, gyda'th seintiau fry,
Fy nhafod sy' am foli
Dy nefol ras, a chariad cu
Dy fynwes gu fu'n gwaedu.

Mawl byth i'r Oen am gariad rhad!
A'i briod waed fe'm prynodd;
A thanllyd fflamiau dwyfol lid
Yn hwn i gyd ddiffoddodd.

I'r Oen fu farw bo'n ddilyth,
Ogoniant byth yn wastad;
Trwy'r nef bydd dirif ddedwydd lu
Yn cânu am ei gariad.

1419. Tosturi Iesu.—M. 36.

O Iesu llawn tosturi,
Dere'n glau, dere'n glau,
I roi maddeuant imi,—Dere, &c.
Rho brofi grym trugaredd,
Er lladd yn llwyr fy llygredd,
A phuro fy anwiredd,—Dere, &c.
Cei'r goron yn ddiddiwedd,—Dere, &c.

**1420.** Anian Crist.—M. 5.

O Iesu mawr, rho'th anian bur
I eiddil gwan mewn anial dir;
I'w nerthu trwy'r holl rwystrau sy
Ar ddyrus daith i'r Ganaan fry.

Mi lyna'n dawel wrth dy draed,
Mi ganaf am rinweddau'th waed,
Mi garia'r groes, mi nofia'r dôn,
Ond cael dy anian dan fy mron.

**1421.** Iesu y meddyg gwell.—M. 5.

O Iesu mawr y meddyg gwell,
Gobaith yr holl ynysoedd pell,
Dysg i mi seinio byth dy glod,
Mai digyfnewid wyt erioed.

Rho i mi wel'd mai ti yw'm hedd,
Ac ymddifyru yn dy wedd;
A chym'ryd gwen dy wyneb pryd,
Fy unig bleser yn y byd.

Pâr fod dy ogoniant pur dilyth,
Yn nôd a dyben i mi byth;
Dy fywyd hardd, a'th eiriau gwir,
Yn wastad f'o fy rheol bur.

**1422.** Môr i olchi.—M. 16.

O Iesu mwyn, fy Mhrynwr rhad,
O'th galon gu daeth môr o waed,
I olchi'm marwol friw;
Rho i mi nerth i wneyd fy nyth,
A thawel iawn ymguddio byth,
O fewn dy glwyfau gwiw.

Ai droswyf fi bu'r addfwyn Oen,
Fel hyn yn dyoddef dirfawr boen,
Ai'm Hiesu oedd efe?
Ffydd! gwel y lle, a gwel y pren,
Yr hoeliwyd arno Frenin nen,
Yn ddiddig yn fy lle.

**1423.** Iesu yn oll ac yn oll.—M. 11.

O Iesu! rho im' d' adnabod
Yn Gyfaill, yn Briod, a Brawd,
Yn Feddyg yn wyneb fy nychdod,
Yn Gyfoeth i'r truan a'r tlawd,
Yn Dywysog mewn rhyfel a chyni,
O'th flaen nid oes elyn a sai',
Yn Harddwisg i guddio fy noethni,
Yn Ffynnon i olchi fy mai.

Yn Fanna i'm henaid ymborthi,
Yn Ddwr i'm diodi ar y daith,
Yn Golofn er nawdd a goleuni,
I deithio trwy'r anial sy faith,
Yn Fugail, yn Frenin, a Llywydd,
Yn Brophwyd, Offeiriad, a Chraig,
Yn oll ac yn oll yn dragywydd,
Rhag gallu fy llygredd a'r ddraig.

**1424.** Bedydd plant.—M. 4.

O'i gariad gynt dywedodd Naf,
Yn Dduw mi fyddaf iti;
Dy hil fendithiaf, ac amlhant,
A had a fyddant imi.

Trwy hyn santeiddiodd Lydia'i thŷ,
Pan gredodd hi yn ebrwydd;
Ceidwad y carchar yr un modd
Ei deulu ro'dd i'r Arglwydd.

Y saint diweddar yr un wedd,
Yr un wirionedd gredant;
Eu plant a ddygant i Dduw'n awr,
A'i fendith fawr arddelant.

**1425.** Gweinidogaeth Iesu.—M. 4.

O'i gariad hael addawai'r Tad
Ei Fab i'n rhad waredu;
Yn ol y gair, yn mhob rhyw fodd,
Yr ymddangosodd Iesu.

Ei weinidogaeth, drwy ei oes,
Hyd angeu loes oedd lesol;
O'i enau pur llifeirio wnaeth
Ffrwd pob athrawiaeth nefol.

Ar ei farwolaeth crynu wnaeth
Holl amherodraeth angau!
Gorchfygodd uffern, byd, a bedd,—
Hyn yw'n gorfoledd ninnau.

**1426.** Angeu ac esgyniad Crist.—M. 56.

O'i ras ein Hiesu anwyl ni
Fu'n gruddfan draw ar Galfari,
Bu ef dan friw a chwerw loes,
Mewn agwedd gwas ar ben y groes;
Y bywyd yn y bedd
Heb degwch yn ei wedd!
Cof, cof fydd byth am hyn
Yn hyfryd fro Caersalem fryn.

**1427.** YR AIL RAN.

Y trydydd dydd cyfodai Crist,
Er tristwch dwys i uffern drist;
Ar ol ei waith fe aeth i'r ne',
I barotoi i'w eiddo le:
A geilw maes o law
Ei deulu ato draw;
Cof, cof fydd byth am hyn
Gan dyrfa hardd ar Sion fryn.

**1428.** Crist wrth ei fwrdd.—M. 5.

O'i ras mae Brenin nef yn awr
O'i ddysglaer lys yn disgyn lawr;
Dewch, ffryns, medd ef, bwytewch yn iawn
O ffrwythau iechydwriaeth lawn.

Fy nghnawd sydd fwyd o rinwedd pur,
Fy ngwaed sydd falm all wella'ch cur;
I chwi dylifodd gyda'm gwaed,
Bardwn a hedd yn ffrydiau rhad.

O tyred ogoneddus ddydd,
Y cwyd i'r nef ein henaid prudd,
Lle na raid wrth gysgodau mwy,
Ond ceir y sylwedd hebddynt hwy.

1429. Genedigaeth Crist.—M. 5.

O'I ryfedd ras anfonodd Duw
Ei unig Fab at ddynol-ryw:
Llu'r nef mynegu ei eni wnaeth,
A'r nos oleuodd pan y daeth.

Pan gaed y Prynwr ieuanc cu,
Pa wyrthiau a gorfoledd fu!
Cododd ei seren yn y nef,
I ddwyn y doethion ato Ef.

Simeon ac Anna'n llon eu bryd,
Honent mai Ef oedd Ceidwad byd;
Gan deimlo nefol dân o'u mewn,
Ei addef wnaent a'i foli'n ewn.

Os myn yr Iuddew gablu'n drist,
A'r Groegwr wawdio'r baban Crist,
Addolwn ni y cyfryw un,—
Y bythol Dduw ddaeth yma'n ddyn.

1430. Llafur enaid Crist.—M. 4.

O LAFUR mawr ei enaid mad
Gwel Crist ei had lliosog;
A'i ddwyfol ddawn wnaiff gyfiawnhau
Myrddiynau o rai euog.

Caiff caethion fyrdd eu llwyr ryddhau
O dŷnion rwymau pechod;
O'r bedd a'r carchar dianc wnant,
A molant ei awdurdod.

Rhof iddo, medd yr Arglwydd, ran
A chyfran gyda'r grymus;
Caiff feddu gwobr fawr ddilyth,
A'i barch ef byth a erys.

1431. Melusder geiriau Crist.—M. 10.

O LLEFARA addfwyn Iesu,
Mae dy eiriau fel y gwin,
Oll o fewn yn dwyn tangnefedd
Ag sydd o anfeidrol rîn:
Mae holl leisiau'r greadigaeth,
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth dy lais hyfrydaf tawel
Yn dystewi a myn'd yn fud.

O na chlywn i'r udgorn arian
Yn cyhoeddi'n eglur iawn,
Bellach i fy enaid llwythog,
Heddwch a maddeuant llawn:
O na ddeuai nerth i waered
Fel llifeiriant mawr ei rym,
Fel nad allai'm nwydau penaf
Mwyach ei wrthsefyll ddim.

1432. Llonyddwch nefol.—M. 5.

O'M meddwl dos, fyd gwag, er dim,
Ar waith fy Nuw gâd lonydd im',
O Arglwydd, dysgwyl wrthyt ti,
Ac am dy wel'd, mae f'enaid i.

O'm mewn ennyned nefol dân,
O gariad a dymuniad glân;
Tyr'd, anwyl Iesu, oddi fry
I'm gwledda'n llon â'th gariad cu.

Pan deimlwyf lewyrch gwyneb Duw,
Pan allwyf ddweyd mai f'eiddo yw,
Lawr dan fy nhraed 'rwy'n sathru'r byd
A'i fawredd a'i bleserau i gyd.

1433. Blodeuo mewn henaint.—M. 7.

O MOR frawdol a hyfrydlon
Yw'r cyfiawnion dedwydd cu;
Megys prenau palmwydd addas
Maent mewn gras yn gwreiddio'n gry':
Hwy ymgodant, &c.,
A blodeuant yn ei dŷ.

Yn eu henaint dygant ffrwythau
Yn nghynteddau eglwys Dduw;
Am yr Arglwydd y mynegant,
Traethant ei ogoniant gwiw:
Yn ddiragrith, &c.,
Iddo fyth y maent am fyw.

1434. Trefn cadw.—M. 10.

O MOR ogoneddus ydyw
Trefn y nef i gadw dyn,
Iesu'n marw er ei brynu
A'i rinweddol waed ei hun;
Deddf yn gofyn, Iesu'n rhoddi
Ei gofynion iddi hi,
Duw'n cymmodi â'r pechadur,
Deddf y nef mewn bythol fri.

Trwy'r efengyl y datguddir
Y dirgelwch mwyaf gawd,—
Nef a daear yn cyfarfod,
Duw'n ymddangos yn y cnawd;
Deued dynion ac angylion,
Oll yn awr â'u cân yn un,
I ryfeddu a chlodfori
Cariad Duw at euog ddyn.

1435. Golud Cariad Crist.—M. 4.

O MOR oludog ac mor rhad
Yw cariad Iesu tirion!
Ei hŷd, a'i led, a'i uchder aeth
Uwchlaw gwybodaeth dynion.

Daeth ef o'r nef i'r byd dros dro
I geisio dyn a'i gadw;
O faint ei gur, pwy draetha'i oes,
Nes ar y groes bu farw!

Ond o'i archollion dyfnion ef
Daeth balm o ryfedd rinwedd,
I lwyr iachâu clefydau'r saint,
Cânt enaint pur orfoledd.

1436. Gwerth gair Duw.—M. 10.

O MOR werthfawr yw'r gair perffaith
Sydd yn dod o enau Duw!
Gwych a dirfawr iechydwriaeth
Ynddo dardd; O hynod yw!

Nid all miloedd o aur melyn,
  Na'r trysorau goreu sydd,
Foddio'r didwyll wir gredadyn,
  Fel diffuant air y ffydd.

Mae fe'n para'n fara peraidd
  I ddigoni'r enaid gwan;
Gwin a llaeth yw'r gair i'r llariaidd,
  Mae i'r rhai'n yn ddirfawr ran:
O mor felus yw i filoedd
  Tan flinderau trymion trist.
Dengys i ni gyrau'r nefoedd,
  Dengys groeshoeliedig Grist.

**1437.** Ffynnon goch y bryn.—M. 19.

O'M pen i'm traed
  Annhraethol aflan wyf,
Nid oes lanhad
  Ond yn ei farwol glwyf;
Y ffynnon goch
  Agorwyd ar y bryn,
Er dued wyf,
  A'm gylch yn hyfryd wyn.

Mae haeddiant mawr
  Rhinweddol waed fy Nuw,
Yn llawer mwy
  Nâ'r pechod gwaetha'i ryw:
Maddeuir myrdd
  O'r beiau mwyaf gaed,
A'r euog brwnt
  A olchir yn y gwaed.

**1438.** Cystuddiau Iesu.—M. 7.

O NA bai cystuddiau f'Arglwydd
  Yn fy nghalon i gael lle;
Pob rhyw loes, a phob rhyw archoll,
  Pob rhyw fflangell gafodd E';
    Fe wnai 'mhechod, &c.,
  Felly'n fuan golli'r dydd.

Arnat, Iesu, boed fy meddwl,
  Am dy gariad boed fy nghân,
Dyged swn dy ddyoddefiadau
  Fy serchiadau oll yn lân:
    Mae dy gariad, &c.
  Fel y môr, heb lân na thrai.

**1439.** Eistedd dan y groes.—M. 7.

O NA chawn ddifyru'm dyddiau
  Llwythog dan dy werthfawr groes,
A'm holl feddwl fo'n glymedig
  Wrth dy gariad ddydd a nos:
    Tan dy gysgod, &c.,
  Y dymunwn byth gael bod.

O! dystewch, derfysglyd dònau,
  Tra bwy'n gwrando llais y nef,
Swn mwy hoff, a sain mwy hyfryd,
  Glywir yn ei eiriau Ef:
    Gwrando f'enaid, &c.,
  Lais tangnefedd pur a hedd.

**1440.** Anadlu am burdeb.—M. 4.

O NA chyf'rwyddai Duw fi'n glau,
  I gadw'i ddeddfau'n ddilys,
Ac, O na roi im' ras, wy'n ddweyd,
  I ddysgu a gwneyd ei 'wyllys.

Rho'th Ysbryd i 'sgrifenu'n faith
  Dy gyfraith ar fy nghalon;
Na âd i'm tafod ganiatâu
  Na thwyll na gau 'madroddion.

Dod fi ar ffordd d'orch'mynion da
  I rodio a difyru;
Y galon, pen, a'r dwylaw hyn,
  N'âd hwy i'th erbyn bechu.

**1441.** Nawdd y dwyfol waed.—M. 6.

O N'ALLWN roddi 'mhwys
  Ar dy ardderchog law,
A gado i gystudd ddod
  Oddiyma ac oddidraw;
A byw dan nawdd y dwyfol waed,
Yn ngolwg hyfryd dŷ fy Nhad.

Noddfa pechadur trist,
  Tan bob drylliedig friw,
A phwys euogrwydd llym,
  Yn unig yw fy Nuw;
Nid oes im' nawdd o dan y nef
Ond yn ei waed a'i angeu ef.

**1442.** Iorddonen chwerw.—M. 24.

O NA roddai f'Arglwydd tirion
Ronyn trai ar ddw'r yr afon,
Fel y gallai'r gwan fyn'd drosodd
Heb ei foddi yn y dyfroedd;
O'r Iorddonen! angeu chwerw,
Dyna f'ofn, arswyd hwnw;
Onidê, yn awr i'r nef,
Drwy fyddin gref angau,
Mi ddiangwn o'm cadwynau,
I ddechreu seinio per ganiadau.

**1443.** Concwest ar angeu.—M. 6.

O NATUR, daeth y dydd
  I dynu'r mur i lawr,
A chwalu'th babell frau
  Gan nerthoedd angeu mawr:
Er hyny gwel, fy enaid gwan,
Mae Iesu'n Gyfaill yn mhob man.

Ai cilio 'nol mae pawb?
  Oes neb a ddeil fy mhen
Yn ngwyneb angeu caeth
  O dan y nefoedd wen?—
Os ffowch i gyd, mae *un* a sai';
Caf ganu'n iach i boen a bai.

**1444.** Coleu clir.—M. 5.

OND dysgwyl gronyn bach trwy ffydd,
Cawn fyn'd o'n rhwymau caeth yn rhydd;
Fe dyr y wawr, cawn oleu clir
Ar fynydd Sion cyn bo hir.

Bydd canu am glwyfau'r Oen a'i loes,
Heb delyn neb â'i llais yn groes,
Rhad ras fydd swn y gân yn wir,
Ar fynydd Sion cyn bo hir.

1445. Gogoneddus ran.—M. 5.

Ond mi gaf ogoneddus ran
Pan buro gras fy nghalon wan,
A gwir lawenydd uwch y nen,
Fel olew pur i lòni 'mhen.

Pechod, fy ngelyn gwaetha' o'r blaen,
Ni flina'm clust na'm golwg lân;
Fy holl elynion maeddir hwy,
A'm heddwch pur ni dderfydd mwy.

Caf wel'd a chlywed yno 'nghyd
Yr oll ddymunais yn y byd;
A'm henaid oll gaiff felus waith
Yn y tragwyddol fywyd maith.

1446. Nerthoedd yr Ior.—M. 3.

O nerthoedd mawr y bythol Ior,
Plyg anian ger ei fron;
Ei air yw deddf yr ëang fôr,
A'i amnaid ddofa'r dòn.

Wrth swn ei droed y bryniau ffy
I geisio cuddio'u pen;
Gan ryfedd rym ei gorwynt cry'
Y sigla seiliau'r nen.

Fy enaid, cais ei nawdd mewn pryd,
Rhag suddo yn y lli';
Trwy ganol blin ryferthwy'r byd
Ei fraich a'th gynnal di.

1447. Afon o'r orsedd.—M. 25.

O orseddfainc bur y nef
Rhedodd allan
Ras yn llif, fel afon gref,
Olcha'r aflan;
Bythol gariad Tri yn Un,
Dyma'r ffynnon,
Ymgynhyrfodd ynddo'i hun
At elynion.

Iechydwriaeth fel y môr
'Nawr sy'n llifo,
Drwy yr Iawn, o ras yr Ior,
Diolch iddo:
Son am aberth Calfari,
A'i faith rinwedd,
Ennyn fawl drwy'n daear ni,
A gorfoledd.

1448. Afon iechydwriaeth.—M. 5.

O orsedd-fainc trugaredd rad,
Eisteddfa'r Oen a'i nefol Dad,
Daeth afon iechydwriaeth gras
I olchi ymaith bechod cas.

Mae'r afon hon o hyd yn llawn,
Fel grisial pur yn ddysglaer iawn,
Gall rhyfedd rin y dyfroedd hyn,
Er dued wyf, fy nghànu'n wyn.

1449. Hiraeth am Ganaan.—M. 10.

O, pa bryd y daw yr amser,
Amser hyfryd, dedwydd bryd,
I'm glodfori byth heb dewi
Enw Prynwr mawr y byd:
Ond nid amser yw ei enw,—
Tragwyddoldeb maith barhad,
Lle na flina dim gelynion
Etifeddion Canaan wlad.

Pa'm y caraf mwy wrthddrychau
A adawaf cyn bo hir?
Nid estynant i mi gysur
Pan b'wy'n teithio'r isel dir:
Bywyd brau a chyfnewidiol
Yn y byd amserol sy;
Er bod yma fynych dristwch,
Mae hyfrydwch nefol fry.

1450. Cymanfaoedd Sïon.—M. 5.

O, pa mor deg a hawddgar yw
Dy bebyll ar y ddae'r, O Dduw!
Mae f'enaid i mewn blys a chwant
Am ddod i gu gymanfa'th blant.

O fewn dy dŷ mae'm cnawd am fyw,
Fy nghalon lesg sy'n gweiddi am Dduw;
Fy Nuw, fy Mrenin, pa'm 'rwyf fi
Mor bell o'r lleoedd llon 'rwyt ti.

Aderyn tô a'r wenol hy'
Sy'n nythu draw yn nghonglau'th dŷ:
A ddyry Duw i'r rhai'n fath fraint,
A phallu hyn i un o'i saint?

O gwyn eu byd y seintiau sy
Yn eistedd gylch dy orsedd fry;
Gwel'd yno maent d'ogoniant maith,
A'th garu yw eu hyfryd waith.

1451. Nos ysbrydol.—M. 4.

O, pa mor drymed ydyw'r nos
Sy'n crogi dros ein llygaid,
Nes delo Crist a'i lewyrch llon,
I wir oleuo'n henaid.

Ein ffyrdd a'n holl feddyliau gwag,
Sy'n aflan ac yn anmhur;
Ond o'i santeiddiol ras y mae
Yn llwyr iachau ein natur.

Ofer i'r diafol geisio mwy
Gaethiwo'n hŵy'n heneidiau;
Y carcharorion fe'u rhyddha,
A dryllio wna'u cadwynau.

1452. Tosturi Iesu.—M. 5.

O, pa mor isel, pa mor fwyn
Y gwnaeth ein Harglwydd eu ymddwyn;
Ymdeimlodd â'n trueni mawr,
Ac o'i dosturi daeth i lawr.

Cyfiawnder, am ein pechod cas,
A dynai'i erchyll gledd i maes,
Ac yntau roes i'r dyrnod llym
Ei enaid, heb ynganyd dim.

Dan bwys ein gwae y soddodd Ef,
I'n codi ni i orsedd nef,
Nid oes un rodd a ddyry Crist,
Na chostiodd iddo riddfan trist.

O, todded ein calonau dûr
Wrth gofio am ei ing a'i gur;
Am in' ei wânu ef tristâwn,
Am bardwn eilwaith llawenhawn.

**1453.** Myned i Sïon.—M. 14.

O, PA mor llon o'wn i
Glywed y bobl â'u cri
Yn dweyd, Dewch heddyw i geisio Duw;
Dewch, gyda mawr serch llawn,
I Sion fryn nesâwn,
I dalu'n haddunedau gwiw.

O Sion ddedwydd lon,
A gras addurnwyd hon,
A muriau nerth d'amgylchu wnan';
Daw'r llwythau yno 'nghyd
I foli Duw'n un fryd,
A gwrando'i lon efengyl lân.

**1454.** Diogelwch y credadyn.—M. 6.

O, PROFWCH bawb yn rhwydd,
Ddaioni'r Arglwydd nef;
Gwyn fyd y rhai a fo
A'u gobaith arno ef:
Nid oes i'w mysg mo'r eisieu mawr,
Eu cofio wna mewn cyfyng awr.

Pan lefont arno ef,
Eu gwaedd o'r nef a glyw;
Un agos iawn bob pryd
I'r drylliog ysbryd yw:
Ni chânt na thrais, na chlais, na chlwy',
Nas gŵyr eu Tad i'w gwared hwy.

**1455.** Prynu'r gwir.—M. 4.

O PRYN y gwir, fy enaid, pryn,
Na werth ar un ammodau;
O holl drysorau môr a thir,
Y gwir yw'r trysor gorau.

Y gwir, fel gwregys, ar bob cam,
Yn dŷn fo am ein lwynau,
Ac yna awn o'r byd i ffwrdd,
Heb ofni cwrdd ag angeu.

**1456.** Cân am Galfaria.—M. 5.

O PWY a ddeall faint ei fai,
Mae fel rhyw enbyd fôr heb drai;
Rhyfeddaf byth fod modd i'w gael
I gadw'n fyw fath adyn gwael.

'Rwy'n llawenychu ambell dro,
Pan ddel griddfanau'r ardd i'm co',
Yn gân fe droir fy athrist gri
Yn ngolwg angeu Calfari.

**1457.** Nerthoedd cariad Duw.—M. 4.

O PWY a ddichon ganu'n ffraeth
I'r Bôd a wnaeth y bydoedd;
A seinio'i fawl rhyfeddawl faith,
Yn nifyr iaith y nefoedd.

'Rwyf fi dan fynych fynych fai,
Cloedig mewn clai ydwyf;
Heb nerth y nef bydd arnaf feth,
Yn mhob rhyw beth a wnelwyf.

Briwedig ydwyf dan fy nghlwyf,
A'r gwanaf wyf o'r gweiniaid,
Ond nerthoedd dwyfol gariad cu
A ddeil i fynu f'enaid.

**1458.** Arweinydd yr eglwys.—M. 16.

O PWY yw hon sy'n dod yn hŷ',
Yn lew i'r làn, fel rhwng dau lu,
O'r dywyll Aifftaidd wlad?
Gan roddi pwys ei henaid pur,
Ar Iesu gwiw, 'r Messia gwir,
Ei Brawd a'i Phriod rhad.

Fel bore wawr, fe welir hon,
Teg fel y lloer ei hwyneb llon,
Mewn cariad, gras, a hedd:
Fel haul, heb un brycheuyn du,
Ofnadwy fel banerog lu,
Ond hyfryd yw eu gwedd.

**1459.** Gras didrai.—M. 4.

O'R annherfynol ras didrai
A lifai fel yr afon,
O rad dragwyddol gariad Duw,
At ddynol-ryw afradlon!

Gadawsom oll ein Harglwydd pur,
Yn wrthryfelwyr aethom;
A chrwydro hefyd bawb ar goll
Yn aethus oll a wnaethom.

Ond llaw anfeidrol ras ein Duw,
A'n cyrcha i fyw o'r carchar,
I feddu llawn orfoledd llon
Yn mysg nefolion hawddgar.

**1460.** Nefol drigfanau.—M. 24.

O'R ardaloedd nefol hyfryd,
Draw'r Iorddonen, tir y bywyd,
Gwlad lle mae fy hen gyfeillion,
Wedi dianc o'u trallodion;
Nid oes lludded byth na blino,
Ar y pererinion yno,
Gyda'u Ner, uwch y ser,
Heb flinder, na thrallod,
A'u holl gadwynau wedi dattod,
Yn rhydd i oesoedd maith diddarfod.

Nid yw'r llygaid heddyw'n gweled
Dim a'u harwain i gaethiwed;
Nid yw'r serch byth yn ennynu
At un dim na thâl ei garu;
Nid rhaid ofni'r cystudd chwerw,
Croes ragluniaeth byth na marw,
Y mae'r byd oll i gyd,
A'i ynfyd deganau,
Wedi rhedeg o'u meddyliau,
Wrth gael ergyd marwol angau.

**1461.** Ing a baich Crist.—M. 16.

O'R ardd i fynydd Calfari
Dan faich oedd fawr bu'n Harglwydd ni,
Yn dawel darfu'i ddwyn;
A'i waed yn llifo hyd y llawr,
Mewn ing a loes annrhaethol fawr,
Dyoddefodd er ein mwyn.

**1462.** Gras i gyd.—M. 14.

O RAS, rhad ras i gyd,
Mae'r iechydwriaeth ddrud,
Mae oll 'run pryd yn rhad i ni;
Drwy rinwedd gwerth y gwaed
Anfeidrol Iawn a gaed,
I'r tlawd yn rhad ar Galfari.

Am ras yn dechreu'r gwaith,
Am ras ar hyd y daith,
Yr anthem faith fydd byth i'r Oen:
Am gadw ar bob llaw,
Bydd mawl ryw ddydd a ddaw,
Gan dorf heb fraw, na briw na phoen.

**1463.** Llais o'r beddrod.—M. 5.

O'R beddau clywch alarus gri,
Megys pe gelwid arnom ni;
"Dewch, gwelwch ddynion byw y tir,
Lle rhaid i'ch orwedd cyn b'o hir.

Wyr mawr, eich gwely fydd y clai,
Er cuwch eich tyrau gwych a'ch tai,
Y dewr, a'r doeth, a'r hardd eu gwedd,
Gânt orwedd yn y dystaw fedd."

Dy fywiol ras, Dad nefol, rho,
Cymhwysa'm henaid, ar fyr dro,
I'th bur fwynhau tudraw i'r bedd,
Mewn nefol wlad o fythol hedd.

**1464.** Taro'r Iesu yn ein lle.—M. 3.

O'R cariad mawr a ffrydiodd draw
O fron ein Ceidwad mwyn;
Pan oeddem ni mewn ing a braw
Efe a glybu'n cwyn.

Pan ydoedd deddf a'i dyrnod dwys
Am daro adyn gwael;
Fe redodd Iesu dan ei bwys—
O gariad heb ei ail!

Aeth ef dan faich ein beiau mawr
A threngodd yn ein lle;
Pob rhodd a gawn, a gostiodd fawr
Ochenaid iddo efe.

**1465.** Plaid yr eglwys.—M. 16.

O'R dyfnder du yr eglwys ddaeth,
Tua'r wlad sy'n llifo o fêl a llaeth,
Ei hetifeddiaeth fras:
Yn llawn o hedd, mae 'nawr mewn hwyl
A'i nefol gainc, yn cadw gŵyl,
I'r Oen am ddwyfol ras.

Mae Duw o'i phlaid, hi gadd o'i blaen,
Y cwmwl niwl, a'r golofn dân,
Eneinniad yr holl saint;
Ca'i dwyn i dir y Ganaan draw,
Heb gyfeiliorni ar un llaw,
Nes llwyr feddiannu'r fraint.

**1466.** Gweddi cyn pregeth.—M. 4.

O'R ddaear hon mor bwysig yw
Gwel'd gelyn Duw'n ymado!
Wrth feddwl am ei oes ddiffydd,
O, drymed fydd ei briddo.

Bydd Athraw in', O Ysbryd Duw,
Uwchben yr annuw heddyw!
Ac aed dy oleu gyda'th wir,
Nes plygu'r anwir hwnw.

**1467.** Gorfoledd y nef.—M. 14.

O'R fath lawenydd sy
Drwy lys y nefoedd fry,
Gan seintiau ac angylion glân;
Heb lygredd, briw, na phoen,
Yn moli'r addfwyn Oen,
Ar nefol gu dragwyddol gân.

Cydunwn ninnau'n awr
A'r nefol dyrfa fawr
I roi y clod byth iddo ef;
Am iddo'n caru'n rhad,
A'n prynu drwy ei waed
I feddu rhan o freintiau'r nef.

**1468.** Adgyfodiad Crist.—M. 52.

O'R fath beroriaeth felus fu
Yn seinio drwy'r wybrenau fry,
Gan yr angylion gyda'r wawr
Pan gododd Crist, eu Brenin mawr;
Eu cân oedd hyn—"Tywysog hedd
Gyfododd heddyw'n fyw o'r bedd."

Blant dynion, dysgwn ninnau'r gân,
Gwaredodd ni rhag uffern dân,
Dadseiniwn byth ei foliant gwiw
O gylch y bedd lle 'rym yn byw:
Daeth Crist o'r beddrod yn ddilyth,
Ac ni bydd marw mwyach byth.

**1469.** Dinas Duw.—M. 10.

O'R fath bethau gogoneddus—
O'r fath eiriau hyfryd yw
Y darluniad anrhydeddus
Roi'r o Sïon, dinas Duw;
Dyma drigfan Duw y duwiau,
Ar y Graig mae sylfaen hon,
Iechydwriaeth yw ei muriau,
Pwy all ddrygu'i heddwch llon?

Trwyddi llifa cariad dwyfol,
Ffrydiau per o ddyfroedd byw,
Ni ddaw syched yn dragwyddol
Ar y seintiau gyda'u Duw;
Nis gall enaid byth ddiffygio
Tra bo'r fywiol afon bur,

Fel y grisial gloyw'n ffrydio
Byth i lôni'r santaidd dir.

1470. Mawredd Crist yn y nef.—M. 4.

O'r fath lawenydd sy'n y ne',
Gogoniant lle Jehofa!
Pan byddo'r Iesu'n taenu maes
Ei ddysglaer ras i'r eitha'.

Mawrhydi, cariad, parch, a hedd,
Sydd yn ei wedd yn gwenu;
A'r holl lu dysglaer ar bob llaw
Yn isel draw'n ymgrymu.

Eu haur deyrn-wiail plyg i lawr
I'w enw mawr d'wysogion,
A llawenha'r holl nefol fro,
Ei wel'd E'n gwisgo'r goron.

Ei foli arch-angylion fydd
Drwy'r holl heolydd nefol,
Gan roi anrhydedd a mawrhad
Lawr wrth ei draed breninol.

1471. Llwydd efengyl.—M. 20.

O'r grym hollalluog
Rhyfeddol iawn yw!
Sy'n arfau milwriaeth
Ysbrydol ein Duw;
I blygu ein nwydau
Cyndynaf bob un,
A dryllio y galon
Galetaf mewn dyn.

Cenedloedd dysgedig,
A'r diddysg heb wa'n,
Trwy'r fath arfau nefol
Orchfygir yn lân;
A Satan a lidia
Wrth golli 'mhob oes,
A chas iawn fydd ganddo
Athrawiaeth y groes.

1472. YR AIL RAN.

O Frenin gras tirion!
Fy nghalon plyg hon;
Dymunwn gael f'ennill
A'm harwain ger bron,
Yn ufydd garcharor
Gan Frenin y nef,
I foli am goncwest
Ei 'fengyl fwyn Ef.

1473. Rhedeg yr yrfa.—M. 36.

O rhedwn bawb yr yrfa,
Dyma'r dydd, dyma'r dydd,
I'r bywyd am y cynta',—Dyma'r, &c.
Aeth gauaf erlid heibio,
Mae'r ddaear yn blodeuo,
A'r adar mwyn yn pyncio,—Dyma'r, &c.
A durtur hedd yn seinio,—Dyma'r, &c.

1474. Aros wrth byrth gras.—M. 3.

O rhwyma fi wrth byst dy byrth,
I aros tra b'wyf byw;
I edrych ar dy wedd a'th wyrth,
A'th foli di, fy Nuw.

Tydi fo'm cymhorth parod iawn
I'm cynnal ar fy nhaith;
A thi dy hun fo'm trysor llawn
I dragwyddoldeb maith.

1475. Gwaed a dwfr.—M. 28.

O rhyfedd gwel'd Mab Duw
Mewn ingawl loes,
A'i gorff blinedig gwan
O dan y groes;
I'w dwyn i'r mynydd draw,
Y fan bu'n Hathraw ni;
Yr Aberth mwya' erioed
Ar Galfari.

Fe roes y milwr gynt
A'i waywffon,
I'r Iesu tyner frath
O dan ei fron;
Daeth allan waed a dw'r,
Pan oedd ein Prynwr ni,
Yr Aberth mwya' erioed,
Ar Galfari.

1476. Swn iechydwriaeth.—M. 5.

O'r iechydwriaeth fawr yn Nghrist,
Swn melus hyfryd yw i'm clust;
Balm cryf i'm clwyfau o bob rhyw,
A chordial im' rhag ofnau yw.

Mewn bedd o bechod gorwedd bu
Ein henaid wrth ddrws uffern ddu,
Ond codi 'r y'm drwy ras ein Duw,
I weled nefol ddydd a byw.

Aed swn yr iechydwriaeth fawr,
Oddeutu'r ddaear faith yn awr;
A boed i'r nef a'i lluoedd llon
Gyfodi eu llef i seinio hon.

1477. Ymostyngiad Crist.—M. 6.

O'r nef i barthau'r llawr
Daeth Crist i wisgo cnawd;
O henffych, Arglwydd mawr,
A henffych, dirion Frawd;
Rhown glod i'n Duw a'n Ceidwad hael,
A welwyd yn y preseb gwael.

I fru y wyryf wan,
I angeu ac i'r bedd,
Y daeth Ef ar ein rhan,
I haeddu i ni hedd;
Mewn ing a loes ar Galfari
Agoryd wnaeth y nef i ni.

1478. Ffynnon i'r cleifion.—M. 9.

O'r nef mi glywais newydd
A'm cododd ar fy nhraed,
Fod ffynnon wedi 'i hagor
I'r cleifion gael iachad;
Fy enaid brysia iddi,
A phaid a llwfrhau,

O'th flaen mae drws agored
  Na ddichon neb ei gau.

1479. Newyddion da.—M. 5.

O'r nefoedd daeth ar fore clir,
Newyddion da i Fethle'm dir;
Fod i ni wedi ei eni un,
Yn gadarn dŵr i gadw dyn.

Fe ganodd yr angylion fry
Eu hanthem fwyn i'n Ceidwad cu;
A chânwn ninnau oll yn awr,
Wir glod am eni'n Ceidwad mawr.

Rhad Feddyg da i'r cleifion yw,
A ffynnon lân i'r aflan ryw;
I'r gwan rhydd nerth, i'r euog hedd,
A gwin a llaeth i'r gwael ei wedd.

1480. Trugaredd.—M. 20.

O ryfedd drugaredd
  Achubodd fy mlaen,
Pan ar y ffordd lydan
  Yn rhedeg tua'r tân,
Braich gras a'm cyrhaeddodd,
  O ryfedd ei hyd,
Telynau gogoniant
  A'i molant i gyd.

Un gwael heb ymgeledd
  Yn gorwedd mewn gwaed,
Yn glwyfus gan bechod,
  O'm pen hyd fy nhraed;
Pwy byth all'sai 'nghodi,
  O'r pydew i'r làn,
Ond breichiau trugaredd;
  Mi gana'n mhob man.

1481. Ysbryd oer.—M. 14.

O ryfedd gariad rhad,
Anwylaf fab y Tad,
Ddyoddefodd frâd, a marwol friw;
Gwnaeth ni a Duw yn un,
Trwy rîn ei Iawn ei hun,
Mae'i ddawn yr un i ddynolryw.

Mae'i gariad fel y môr,
Difesur yw ei stor,
Mae f'ysbryd oer am deimlo'i dân;
Rhyw win ac olew yw,
I rad iachâu fy mriw,
Y dua'i liw, ddaw drwyddo'n lân.

1482. Newidiad cyflwr.—M. 4.

O ryfedd ras! pan oeddym ni
  Yn nglŷn trueni'n gorwedd,
Wrth natur a thrwy bechod cas
  Yn atgas ac yn ffiaidd.

Yn ngwaed Oen Duw ein golchi wnaed,
  A'n beiau'n rhad faddeuwyd;
A thrwy Lân Ysbryd ein Duw ni
  Ein nhatur ni santeiddiwyd.

O am gael nerth i fyn'd yn mlaen
  I gadw'r glân orchymynion;
Byw heb halogi'n dwylaw mwy
  Na llygru'n hwy ein calon.

1483. Gwagedd y byd.—M. 10.

O'r ynfydrwydd, O'r ffolineb,
  Im' erioed i roi fy mryd,
Ar un tegan nac un pleser,
  Welais etto yn y byd;
Y mae'r byd yn myned heibio,
  A'i deganau o bob rhyw;
Tan y nef ni thâl im' garu
  Gwrthddrych arall ond fy Nuw.

Dysgwyl pethau gwych i ddyfod,
  Croes i hyny maent yn dod;
Meddwl fory bydd gorfoledd,
  Fory'r tristwch mwya' 'rioed;
Meddwl byw, ac etto marw,
  Yw'r lleferydd dan fy mron;
Bob yn ronyn mi rof ffarwel,
  Ffarwel glân i'r ddaear hon.

1484. Glynu wrth Dduw.—M. 2.

Os âf o'th ffordd ar gam,
  Meddyliaf am fy nhrosedd;
A throi at dy orchymynion wnaf,
  A llefaf am drugaredd.

Dy eiddo wyf, trwy ras,
  Duw cadw'th was yn berffaith;
Can's tarian wyt a lloches im',
  Yn hyn mae grym fy ngobaith.

O'm bodd y plygaist fi,
  I garu ffyrdd dy ddeddfau;
Ac mi ddymunwn, â'm holl fryd,
  Wneyd d'w'llys hyd awr angau.

1485. Gwylio.—M. 4.

O safwn ar ein tŵr heb baid,
  Anghenrhaid ydyw gwylio;
Er na ddiffygia ffydd ddiffael
  Hi ddichon gael ei chlwyfo.

Drych y'm i'r byd, Duw bydd o'n plaid,
  Mae myrdd â'u llygaid arnom;
Yn dysgwyl am ein cwymp bob dydd,
  O gwylia beunydd drosom.

1486. Cartref yn Salem.—M. 11.

O Salem, hardd ddinas fy Arglwydd,
  Pa bryd i'th gynteddau caf ddod,
Lle na raid i'r dyrfa ysgaru
  Na diwedd i'r Sabboth i fod?
Dedwyddwch digymmysg sydd yno,
  Na phrofwyd yn Eden ei ryw;
A llewyrch mwy tanbaid nâ'r heulwen,
  Sef llewyrch o orsedd fy Nuw.

Mae yno gantorion ardderchog,
  A'r *Ceidwad* yw sylwedd eu sain;

A'r brodyr sydd yma gânt esgyn
Yn fuan i ganol y rhai'n !
O Salem, fy nghartref anwylaf
I'th fewn mae fy enaid am ddod,
Ac yno fy llafur a dderfydd,
Mewn cân orfoleddus o glod.

1487. Caethglud Juda.—M. 9.

O SANTAIDD ddinas Sion,
Preswylfa Brenin hedd,
Mae wylo ar fy nghalon
Dy wel'd mor wael dy wedd;
Dy demyl wedi syrthio
Dy byrth ar lawr bob un;
Cenhedloedd sydd yn gwawdio
Lle trigfa Duw ei hun.

O cofia y Messia,
Fu yn dy drefi'n byw
Yn Hwn, dan warth a gwasgfa,
Yn Hwn, O gwel dy Dduw;
Mae ef a roist dan hoelion,
Am fadden'th feiau i gyd,
Tro'n ol, cred ynddo, Sion,
Paham y crwydri cy'd ?

1488. Meddwl boddlawn.—M. 4.

Os caf gysuron ar fy nhaith,
Fy melus waith fydd moli;
Fy noniau oll o galon rwydd
I'm Harglwydd gânt eu rhoddi.

Ond os caf gystudd drwy fy oes,
A dwyn fy nghroes mewn galar,
Heb ddim ond gofid ar bob cam,
Gwna fi yn amyneddgar.

Os, fel blodeuyn, gwywo wnaf,
Yn nechreu haf fy mywyd;
Cymhwysa f'enaid trwy dy ras
I deyrnas bythol wynfyd.

Os hir fy nhaith, rho im' dy hedd,
Nes myn'd i'r bedd i orphwys:
Ac yna seiniaf gyda'th blant,
Dy foliant yn Mharadwys.

1489. Beddau'n agor.—M. 10.

Os caf 'nabod Duw mewn cymmod,
Dof o'r beddrod drwy fawr barch,
Pan bydd beddau'r byd mewn cyffro,
Yn ymrwygo ar ei arch:
A chaf fyned i'w fendithio,
Heb byth deimlo haint na chlwy',
A'i fwynhau yn ngwlad goleuni,
Gan addoli, moli mwy.

1490. Satan yn nithio.—M. 4.

Os cenad roi, fy Arglwydd hael,
I'r gelyn gael fy nithio,
O dal fi yn y profiad prudd,
Na foed i'm ffydd ddiffygio.

Os yn ei law fy'm rhoir fel Job,
I'm profi â phob gofid,
Saf yn fy ymyl ar bob cam,
Gofala am fy mywyd.

Y gorsen ysig wan na thyr,
O Dduw, ond gyr hi'n gryfach;
A'r llîn sydd etto'n mygu'n wan,
Chwyth nes bo'n gàn goleuach.

1491. Cân Simeon.—M. 5.

Os cofleidiasom Crist ein Duw,
Ni allwn ado'r byd ar ol;
A marw fel Simeon wiw,
A'r Ceidwad ieuanc yn ei gol.

Ein tafod seiniai hyfryd gân,
Pe baem yn barod yr un wedd;
A'n henaid a foddlonai'n lân,
I fyned wrth ei air mewn hedd.

Ein llewyrch yw a'n seren ddydd:
Ar bawb yn mhell dysgleiried ef;
Gogoniant ei saint yma fydd
A'u Bywyd byth yn nef y nef.

1492. Bendith Duw.—M. 5.

Os Duw ni lwydda oddifry,
Mae'n ofer adeiladu'r tŷ;
A gwylio'r ddinas byth nis gwiw
I'r Ceidwaid, oni wylio Duw.

Beth pe cyfodech gyda'r wawr,
Ac hyd yr hwyr ymboeni'n fawr,
Gwaith ofer oll heb fendith Duw,
Can's hon a wna in' ddedwydd fyw.

Gwyn fyd y dyn a gaiff gan Dduw
Blant ufydd a chyfeillion gwiw,
Pob rhodd sydd felus dan y nef
A gaffer gyda'i gariad ef.

1493. Hunan-gyfiawnder.—M. 5.

Os edrych wnaf ag effro fryd
Dros gylch fy ngwaith a'm taith i gyd,
Nid ynt ond ûs o ran eu pwys,
Yn nghlorian deddf, a'i gofyn dwys.

Llawn oll o bla yw'r galon ddu,
Heb ddim yn lân o fewn ei thŷ;
Ac nid oes dim ond gwaed Oen Duw,
All gadw f'enaid gwan yn fyw.

1494. Gorphwys ar Iesu.—M. 42.

Os gelynion ddaw i'm denu,
Tro'f fy mhwys, rho'f fy mhwys
I orphwys ar yr Iesu.

Pâr im' aros mwy'n dy freichiau,
Boed fy nyth, ddedwydd byth,
Yn dy ddilyth glwyfau.

Gwel dy anwyl ŵyn yn 'madael,
Bydd wrth raid ini'n blaid,
Arglwydd, paid a'n gadael.

1495. Plaid Sion.—M. 3.

O SION, llawenha mewn ffydd,
Dy Briod di sydd ben;

Mae pob awdurdod ganddo Ef
Ar orsedd nef uwch nen.

Am hyny, Sion, cod dy ben,
Anadla tua'r lan;
Bydd yr Eneinniog hwn, wrth raid,
Yn nerth a phlaid i'r gwan.

1496. Teyrnasiad gras Crist.—M. 12.

O Sion, yr enfyn yr Ion
Ryw eglur arwyddion o'i nerth;
Ar lu ei elynion fe fydd
Llywodraeth Preswylydd y Berth;
Ei eiddo a edwyn ei lais,
Fel bugail y cais hwynt i gyd;
Mewn harddwch mor amled â'r gwlith,
Hiliogaeth y fendith ddaw 'nghyd.

Nid rhaid iddo chwysu byth mwy
Wrth fwrw'i elynion i lawr,
Ar orsedd deheulaw ei Dad
Mae'n uchel ei alwad yn awr;
Offeiriad tragwyddol a fydd,
Fe dyngodd yr Arglwydd i hyn;
Ca' bellach deyrnasu mewn bri,
Am drengu ar Galfari fryn.

1497. Galar a ffy ymaith.—M. 3.

Os mwy yw'r galar nac yw'r gân
Yn awr mewn anial fyd,
Fe fydd y cânu yn y man
Yn fwy nâ'r cwyno'i gyd.

'Nol cyrhaedd caerau Sion bur
Y rhôd fydd wedi troi;
Ceir yno londer yn lle gwae,
A'r galar wedi ffoi.

Ni ddring na phoen na gelyn cas
Dros drothwy'r ddinas fry;
Nos byth ni bydd, ond Duw a'r Oen
Yn eu goleuo sy.

1498. Cwpan chwerw.—M. 4.

Os posibl yw, fy Arglwydd glân,
Tro'r cwpan chwerw heibio;
Ond gwneler dy ewyllys di,
Mi yfaf fi o hono.

Fy nghalon dawdd, gan faint ei loes,
'Rwy'n treulio f'oes mewn poenau,
Dy bwysig law a'm gwasgodd lawr
Mor isel 'nawr ag angau.

I'th law, O Dad, ar hyn o bryd,
'Rwy'n rhoi fy ysbryd fynu;
Fy nghnawd mewn gobaith drig er hyn,
Caiff wrth d'orchymyn godi.

1499. Telyn yn lle galar.—M. 21.

Os rhaid byw mewn poen a gofid
Ar fy nhaith i dir y bywyd,
Pan y croesaf dros y terfyn,
Câf y palmwydd hardd a'r delyn.

Mae yn Salem wedi blaenu,
Fyrdd yn moli'r Arglwydd Iesu;
Ar y gwyrddlas fryniau hyny
Yr wyf finnau am gartrefu.

1500. Ysbryd yn y gwaith.—M. 25.

Os rhaid im' ddyoddef ar fy nhaith
Dywydd garw;
Cadw f'ysbryd yn dy waith,
Hyd fy marw:
Yn y babell gyda'r arch,
Boed fy nghartre';
A chadw yn fy enaid barch
I dy ddeddfau.

Gelynion creulon sydd yn llu
I'm gwrth'nebu;
Am hyn, atolwg, saf o'm tu,
Arglwydd Iesu:
Dal fi i'r làn er gwaetha'r ddraig
A'i holl luoedd;
Minnau folaf Had y wraig
Yn oes oesoedd.

1501. Dyfroedd Mara —M. 21.

Os rhaid yfed dyfroedd Mara
Mewn blin anial trwy fy ngyrfa,
Nertha di, fy Nhad a'm Harglwydd,
Fy ysprydgwan mewnbyd o dramgwydd.

Fr fy nghuro'n nhrigfa dreigiau,
A suddo'n fynych dan y tònau,
Daw yr hyfryd ddedwydd wawrddydd,
Na welir t'w'llwch yn dragywydd.

Ya derfydd fy nghystuddiau,n
Troir fy ngalar yn ganiadau;
Yn lle chwerwon ddyfroedd adfyd,
Caf yfed byth o afon bywyd.

1502. Golwg ar wlad well.—M. 9.

Os trwy ofidiau lawer
Rhaid myn'd drwy hyn o fyd,
Fe wawria'r bore tawel
Caf adael rhai'n i gyd;
Yn lle y groes caf goron,
Yn lle wylofain, cân,
Ac yn lle dyffryn Baca,
Heolydd Salem lân.

Os teithio'r anial dyrus
Am ennyd fydd fy rhan,
Daw hyfryd fryniau Canaan
I'r golwg yn y man;
Tywyllwch sydd yn fynych
Yn toi y fuchedd hon,
Ond yn y ddinas santaidd
Ceir byth oleuni llon.

1503. Hâd y wraig.—M. 47.

O sylwedd y wraig
Caed Noddwr a Chraig,
Gorchfygodd y ddraig, er ei llid;

Drwy'r aberth a rodd,
Wrth farw o'i fodd,
Fe ddrylliodd byrth uffern i gyd.
Yspeiliodd y bedd,
Ac angeu ni fedd
Na'i golyn, na'i gledd yn y glyn;
Ni ddrygir ei Hâd,
Rho'ir iddynt ryddhad,
Trwy'r taliad ar Galfari fryn.

1504. Llenwi y llynau.—M. 4.

Os yw ein rhan tra ar y llawr
Mewn cystudd mawr yn dygwydd,
Fe chwâl y nos, cawn awyr glir,
A bore o wir lawenydd.

Gwir yw mai sych yw'r anial fro,
A blin yw teithio'i lwybrau;
Ond pan y cloddiom, yn y fan
Daw gwlaw i lanw'r llynau.

Am hyny awn yr yrfa hon
Gan syllu'n llon ar Iesu;
Amynedd caed ei pherffaith waith
Mae pen ein taith yn nesu.

1505. YR AIL RAN.

O NERTH i nerth, awn oll fel hyn,
Nes gorphen glŷn trallodion;
Ac uno â'r côr sy'n llawenhau
Ar nefol fryniau Sion.

Cawn yno rodio glanau clir
Hen afon bur y bywyd,
A drachtio'i dyfroedd dibrin da
Mewn hirfaith dragwyddolfyd.

1506. Hyder wrth farw.—M. 10.

Os yw'r amser wedi dyfod
I mi fyn'd o flaen fy Nhad,
Paid a digaloni, f'enaid,
Er mae'r duaf wyf a gaed,
Mae yno un a gliria'm beiau,
Fe'u dilea oll yn glir;
F'enaid eiddil, dal dy afael
Yn yr hen addewid wir.

1507. Pechod Adda.—M. 4.

O TROWN yn ol i wel'd lle caed
Ein gwael ddechreuad cyntaf;
Mae'n natur wedi ei llygru'n drwm,
Drwy erchyll godwm Addaf.

Gwyllt, afiach, fel y gwreiddyn hen,
Yw'r holl ganghenau hefyd;
Pa fodd gwneir dysgwyl ffrwythau byw
O'r cyfryw bren difywyd.

O'r dechreu ynom gweithio wna
Anwiredd a marwolaeth;
Ond grasol Ysbryd Duw'n ddiau
A all lanhau'n naturiaeth.

Ac Adda'r Ail, adferu wna
Adfeiliau'r Adda cynta',—
I'r gallu sy'n ail greu ein llwch,
O seiniwch bawb, Hosana.

1508. Difa'r gorchudd.—M. 17.

O TYN
Y gorchudd ymaith y pryd hyn,
Llewyrched Haul Cyfiawnder gwyn;
O ben y bryn bu'r addfwyn Oen
Yn dyoddef dan yr hoelion dur,
O gariad pur, angeuol boen.

1509. Prawf o rin y gwaed.—M. 5.

O TYR'D i ben ddedwyddaf ddydd,
A gâd i'm hysbryd fyn'd yn rhydd;
Rho brawf o'th ras ar frys i mi,
O haeddiant Aberth Calfari.

Boed i mi rodio'n ddi-nacâd,
Dan awel hyfryd rhin y gwaed;
A threulio'm hamser ddydd a nos
Mewn myfyr am dy angeu loes.

Fy unig gysur yn y byd,
Fo edrych ar dy wyneb-pryd;
Fy oes â heibio'n ddifyr iawn
Wrth ganu am dy ddwyfol ddawn.

1510. Help i'r gwan.—M. 26.

O TYRED, addfwyn Oen,
Iachawdwr dynolryw,
At wael bechadur sydd dan boen
Ac ofnau'n byw;
O helpa eiddil gwan
I'r làn o'r pydew prudd,
A rho drwy rinwedd dwyfol waed
Fy nhraed yn rhydd.

O angeu pur y groes,
Ti bellach fydd fy nghân;
Nid oedd i'w gael ond ar y groes
A'm golchai'n lân:
Y ffynnon loyw lawn,
Sydd barod iawn o hyd,
I olchi'r Ethiop du yn wyn,
Hyd eitha'r byd.

1511. Cawodydd pur.—M. 30.

O TYRED, Arglwydd mawr,
Dyhidla o'r nef i lawr
Gawodydd pur;
Fel byddo i'r egin grawn,
Foreuddydd a phrydnawn,
I darddu'n beraidd iawn,
O'r anial dir.

O'r ffynnon werthfawr rad,
A'r afon goch o waed,
Ar Galfari;
Dylifa lawr i'r byd,
A chuddia'n bai i gyd
Yn nyfnder haeddiant drud
Y Ceidwad cu.

1512. Cwyn y pererin.—M. 30.

O TYRED Awdwr hedd,
Rho i mi brawf o'th wledd
Dragwyddol rad:
'Does yma ddim ond trai,
Cystuddiau, poen, a gwae,
I'r diwedd yn parhau,
Mewn anial wlad.

Mae pechod o bob gradd,
Yn llwyr am gael fy lladd,
A minnau'n wan;
O estyn law i'th was,
A thrwy effeithiol ras,
O'r anial diroedd cras,
Dwg fi i'r làn.

1513. Croesawu'r bedd.—M. 15.

O, TYRED ddedwydd hyfryd ddydd,
Gwna fy nghadwynau oll yn rhydd,
A gad im' brofi'r hyfryd wledd;
Lladd yr anghredu sydd yn awr
Yn curo f'enaid llesg i lawr,
Ac ymaith tyn holl ofnau'r bedd.

'Dwy'n ofni ond yr afon ddu,
Sydd rhyngwyf a fy nghartref fry,
Yr angeu glas wnaeth fyrdd yn wan;
Fy enaid yno lŷn wrth law
Yr hwn ei hun aeth trwyddi draw,
Ac yn ei law mi ddof i'r lan.

1514. Noddwr ac Arweinydd.—M. 13.

O TYRED, Iesu cu,
A golch fi yn y gwaed
A lifodd ar Galfaria fryn
Dros euog ddyn yn rhad;
A gwisga f'enaid drud
Yn dy gyfiawnder glân,
A boed dy allu dwyfol di
I mi yn fur o dân.

O, tywys f'enaid gwan
Trwy'r anial dyrys maith,
A dwg fi yn dy dirion law,
Nes cyrhaedd pen fy nhaith;
Ac yna'n Salem bur,
Heb ing nac ofnau mwy,
Mi ganaf mewn rhyw newydd iaith,
Am rinwedd marwol glwy'.

1515. Hwyrfrydig i lid.—M. 9.

O TYRED, Ior tragwyddol,
Mae ynot ti dy hun,
Oes, foroedd o drugaredd,
Fwy nag feddyliodd dyn:
Os deui at anghenus,
A'i godi ef i'r lan,
Ei galon gaiff, a'i dafod,
Dy ganmol yn y man.

Hwyrfrydig ei ddigofaint
At rai sy'n llawn o fai;
Wrth euog bechaduriaid
O'i fodd mae'n trugarhau;
Mae'n cadw rhad drugaredd
I filoedd maith a mwy,
Ac er ei glod mae'n maddau
Eu haml feiau hwy.

1516. Dirwest.—M. 6.

O, TYWALLT ar ein gwlad
Dy fendith, Arglwydd mawr,
Grym medd'dod, yn ddiwâd,
A gwympo'n llwyr i lawr:
Boed iddo deimlo marwol glwy',
Fel na bo son am dano mwy.

Ei amddiffynfa sydd
Yn siglo, er mor gref;
Ar ddarfod mae ei ddydd,
Mae'r nef i'w erbyn ef;
Ymrestrwn oll yn fyddin wiw,
Awn yn y blaen, o'n tu mae Duw.

Fe gân telynau'r nef,
Ar gwymp y gelyn mawr,
Bêr anthem hyfryd lef,
Cyduna llu y llawr;
Ceir miloedd yn moliannu 'nghyd,
Am ei alltudio ef o'r byd.

1517. Publican.—M. 9.

O'TH flaen, O Dduw, 'rwy'n dyfod,
Gan sefyll o hir bell,
Pechadur yw fy enw,
Ni feddaf enw gwell;
Trugaredd wyf yn geisio,
A cheisio etto wnaf,
Trugaredd i mi dyro,
'Rwy'n marw oni chaf.

'Rwy'n addef na bydd genyf,
Trwy'm bywyd hyd fy medd,
O hyd ond gweiddi—Pechais,
Nid wyf yn haeddu hedd;
Ca'dd miloedd roesaw genyt,
Dof finnau gyda hwy;
O maddeu'r holl anwiredd,
Na chofia'r camwedd mwy.

1518. Marwolaeth Crist.—M. 5.

O, WELE Gyfaill dynol-ryw
Yn marw. O'r fath olwg yw!
Fe ddua'r nef, y ddaear gryn,
A merched Salem ynt yn syn.

O dyma serch a phoen yn nghyd,
Ior nef yn marw dros y byd!
Ond wele mawr orfoledd sydd,
Adgodai ef y trydydd dydd.

Ein Harglwydd glân, er maint ei glwy',
Nis gallai'r bedd ei gadw'n hŵy;
Hardd lengau o'r angylaidd lu,
A'i gwylient i'r ardaloedd fry.

Dy Frenin, Sion, byth fydd byw,
Gwaredwr Hollalluog yw;
P'le mae dy golyn, angeu du?
P'le, fedd, mae'th fuddugoliaeth di?

**1519.** Dyddanwch yr Ysbryd.—M. 5.

O Ysbryd Duw, rho dy fwynhau,
Ac na foed i mi dy dristâu;
Yn dy ddyddanwch gâd im' fyw,
Yn ernes o baradwys yw.

O ddedwydd ddedwydd deulu Duw,
Yr Ysbryd eu Dyddanydd yw:
Gweinyddu cysur cryf y mae,
I lòni'r gwan mewn ing a gwae.

Dyddanwch gwir yr Ysbryd Glân
A ddeil ei rym mewn dw'r a thân;
A'i siriol ymweliadau rhad
Sy flaenbrawf hoff o'r nefol wlad.

**1520.** Porfeydd efengyl.—M. 9.

O Ysbryd pur nefolaidd,
Cyn 'r elwy'i lawr i'r bedd;
Trwy ryw athrawiaeth hyfryd,
Pâr i mi brofi hedd:
Cael profi blas maddeuant,
Maddeuant llawn a rhad,
Yw'r penaf peth wy'n geisio
Yn awr drwy rin y gwaed.

A raid i'm henaid drengu,
O eisieu'r dyfroedd clir?
'Rwyf bron llewygu'n tramwy
Y dyrys anial dir;
Dwg fi i'r dyfroedd tawel,
A'r gleision borfeydd mawr,
Lle mae y rhai lluddedig
Yn cael rhoi'r pen i lawr.

**1521.** Pa beth yw dyn?—M. 3.

Pa beth yw dyn? Canolbwynt mawr
Y ddaear lawr a'r nef,
Elfenau'r bydoedd oll yn awr
Gydunant ynddo ef.

Gall sylwi ar y pryfyn tlawd
A chwery yn y pridd,
A d'wedyd wrtho, Ti yw'm brawd,
Cyd-drigwn etto'n brudd.

Gall hefyd droi ei olwg draw
I'r nefoedd freiniol fry,
A chydag angel ysgwyd llaw,
A dweyd, Fy mrawd wyt ti.

Gall syllu ar y beddrod du,
Wrth wywo'n wael ei wedd,
Ac adrodd ar ei lan yn gu,
Fy mam, fy mam yw'r bedd.

Gall hefyd droi i dremio fry
At lys y nefol wlad,
A thystio gydag agwedd gu,—
Draw gwelaf dŷ fy Nhad.

**1522.** Pa beth yw dyn?—M. 3.

Pa beth yw dyn? Creadur hardd
A wnaed ar ddelw Duw,
Osodwyd gynt yn Eden ardd
Yn benaeth pob peth byw.

Pa beth yw dyn? Rhyw bryfyn gwael
Ymdreigla'n llwch y llawr,
A feiddia wawdio'r Duwdod mawr,
A herio'r orsedd fawr.

Pa beth yw dyn? Carcharor caeth
Gan berffaith gyfraith Ior,
Yn haeddu, am yr hyn a wnaeth,
Fod byth mewn tanllyd fôr.

Pa beth yw dyn? Carcharor sydd
Mewn gobaith i gael bod,
Trwy waed yr Oen, yn hollol rydd,
Yn plethu'n glau ei glod.

**1523.** Breuolder oes dyn.—M. 5.

Pa beth yw dyn, na neb o'i ryw,
Ond megys gwan lysieuyn gwyw?
Y boreu tyfa'n wych ei wawr,
Prydnawn y torir ef i lawr.

Pa beth yw uchder gradd, na grym,
Dan ddyrnod llaw yr angeu llym?
Dwg wych a gwael, a'r iacha'u gwedd,
Yn glau o'r byd dan gloiau'r bedd.

Er hyny'r enaid bach fydd byw,
Nid marwol ond anfarwol yw:
O wydd y farn rhaid iddo fe
Ymddeol i'w dragwyddol le.

Ystyriwn, profwn hyn mewn pryd,
Yn mha ryw fan, yn mha ryw fyd
Y bydd ein lle, 'nol gado'r llawr,
Yn y tragywydd fyd sydd fawr.

**1524.** Blodau anniflanedig.—M. 20.

Pa bryd, anwyl Iesu,
O dywed pa bryd
Y daw y dydd dysglaer
Wnes ddysgwyl gyhyd;
Pan gaffwyf lwyr adael
Pob t'w'llwch ar ol,
A choncro pob gelyn,
A 'hedeg i'th gol!

I'r meusydd gwyrdd nefol
Sydd uchod, y mae
Fy enaid am 'hedeg
O'i garchar o glai;
Hardd flodau tragwyddol
A dardd yno'n llawn,
Ac anniflanedig
Lawenydd a gawn.

**1525.** Mwynhad y nefoedd.—M. 10.

Pa bryd, fy Nhad, caf yfed dyfroedd,
Dyfroedd gloywon sy'n iachau?
Pob rhyw bleser wedi darfod,
Ond yn unig dy fwynhau;

Pwyso'm henaid ar dy fynwes,
Edrych ar dy wyneb llon,
Caru nes anghofio'r oriau
Sy imi ar y ddaear hon.

Gyda thi yr af trwy'r fyddin,
Gyda thi yr af trwy'r tân;
Af drwy ymchwydd yr Iorddonen,
Ond it' fyned o fy mlaen:
Ti yw'm Hamddiffynfa gadarn,
Ti yw'm Brenin a fy Nhad,
Ti dy hunan, ti yn unig,
Yw fy Iechydwriaeth rad.

1526. Achub yn gyfiawn.—M. 6.

Pa dafod, neu pa ddawn
A fedd angylaidd lu,
All draethu byth yn llawn
Am ras ein Ceidwad cu?
Ei waed a rodd, o'i gariad gwiw,
I gànu'r lleiddiaid dua'u lliw.

Mae cariad yn ei wedd
At wael golledig fyd;
Cyfiawnder pur a hedd
Sy'n ymgusanu 'nghyd;
Trugaredd a gwirionedd pur
A ymgyfarfu yn ei gur.

1527. Duw y duwiau.—M. 9.

Pa Dduw yn mhlith y duwiau
Sydd debyg i'n Duw ni?
Mae'n hoffi maddeu'n beiau,
Mae'n hoffi gwrando'n cri:
Nid byth y deil eiddigedd,
Gwell ganddo drugarhau;
Yn nghanol cyfyngderau
Gwnawn ynddo lawenhau.

Tangnefedd Duw yn ddiball
Sydd uwchlaw deall dyn,
A gadwo ein calonau,
A ninnau ynddo'n un;
Cymdeithas lân yr Ysbryd
Fo'n hyfryd gyda ni,
A gras ein Harglwydd Iesu,
A chariad Un yn Dri.

1528. Pwy yw y rhai hyn?—M. 5.

Pa ddynion hapus yw'r rhai hyn
Sy'n hardd eu gwedd, mewn gwisgiad [gwyn?
O b'le doi'r gogoneddus lu
I wledydd y gogoniant fry?

O'r tân a'r poenau, ni waeth p'un,
A moroedd mawr o'u gwaed eu hun:
Ond golchwyd hwynt â gwaed uwch radd,
Sef gwaed yr Oen ga'dd gynt ei ladd.

Nesâu y maent at orsedd Duw,
A'u cerddi peraidd o bob rhyw;
Ni phrofant newyn enaid mwy,
Can's Duw a dyr eu syched hwy.

Yr Oen sy'n llanw'r orsedd fry,
A dàna o'u cylch ei lewyrch cu:
Cânt wledda'n llon ar gariad Duw,
Ac yfed byth o'r dyfroedd byw.

1529. Dysglaer goron yr Oen.—M. 5.

Pa deilwng glod a gawn ni ddwyn,
I'r Iesu gwiw, ein Harglwydd mwyn;
Pan y mae cân angylion nef,
Mor bell islaw ei haeddiant ef.

Teilwng yw hardd Dywysog hedd,
Gas gynt ei ladd, a'i roi'n y bedd;
Teilwng i adgyfodi a byw
Mewn mawredd ar ddeheulaw Duw.

Caiff fythol barch o hyn i maes,
Yn lle'r drwg air a'r gwawd a gas;
Caiff ar ei ben ogoniant glân,
A choron ddysglaer heb un draen.

1530. Fflamiau cariad Crist.—M. 12.

Pa feddwl, pa 'madrodd, pa ddawn,
Pa dafod all osod i maes?
Mor felus, mor helaeth, mor llawn,
Mor gryfed ei gariad a'i ras!
Afonydd sy'n rhedeg mor gryf,
Nas dichon i bechod na bai,
Wrthsefyll yn erbyn eu llif,
A'u llanw ardderchog didrai.

Fel fflamiau angerddol o dân,
Yw cariad f'anwylyd o hyd,
Fe losgodd bob rhwystrau o'i flaen,
Fe yfodd o'r afon i gyd;
Ymaflodd mewn dyn ar y llawr,
Fe'i dygodd â'r Duwdod yn un,
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
Fe'i llanwodd â'i haeddiant ei hun.

1531. Glanhau y llwybr.—M. 4.

Pa fodd, O Dduw, y ceidw llanc
Sydd ieuanc, ei holl lwybrau?
Wrth ddwys ymgadw'n ol dy air
Ei lwybr gair yn olau.

Dy air i'm traed, fy llusern yw,
A llewyrch gwiw i'm llwybrau;
Mi dyngais, a chyflawnu wnaf,
Y cadwaf dy lân ddeddfau.

Mor gu, O Arglwydd, genyf fi
Dy ddeddf di a'th gyfammod,
Ac ar y rhai'n o ddydd i ddydd,
Y bydd fy holl fyfyrdod.

1532. Addysg y Bibl.—M. 4.

Pa fodd y ceidw ie'nctyd gwag
Eu bywyd rhag pob pechod?
Dy air sydd reol bur o'n blaen,
I gadw glân gydwybod.

Mae fel yr haul, ei oleu sydd
Ar hyd y dydd i'n fforddio;
A'r nos, drwy bob peryglon blin,
Fel llusern i'n cyf'rwyddo.

1533. Perffeithrwydd Duw.—M. 4.

Pa fodd y molai'r bythol Dduw?
  Anfeidrol yw a rhyfedd;
Pwy ddring i'w uchel drigfan draw?
  Pwy saif gerllaw ei orsedd?

Ei lygaid sydd yn effro o hyd;
  Holl gylchoedd byd mae'n ganfod;
Dyfnderoedd gras a nerth yr Iôr
  Sydd byth fel môr heb waelod.

Ar ddysglaer fainc cyfiawnder saif
  Uniondeb mae fe'n fynu:
Ond rhydd i'r truan bardwn rhâd
  Trwy rinwedd gwaed yr Iesu.

Llefara im', O Frenin hedd!
  Dangnefedd a maddeuant;
Ac yna llawenhaf trwy râs
  A seiniaf maes dy foliant.

1534. Bywyd ar ei aden.—M. 4.

Pa fwgdarth gwag yw'n hamser brau,
  A'n dyddiau'n glau sy'n darfod;
Cyflym fel saethau Indiaidd ânt,
  Neu'r sêr a redant uchod.

Ein bywyd ar yr aden sydd,
  Nesâu bob dydd mae angeu;
Y fynud gyntaf gaffom fyw,
  Marwolaeth yw yn dechreu.

Er hyn, O Dduw, mae'n dyddiau brau
  Yn cael mwynhau o'th ddoniau;
Ac o haelioni'th ras 'rwyt ti
  Yn llenwi ein blynyddau.

1535. Digonedd y pardwn.—M. 5.

Paham mae'ch gwedd, blant gweinion, [Duw,
Yn gwisgo'r fath alarus liw?
Pa ofnau sy'n gwanhau eich ffydd,
A meithrin eich anobaith prudd?

Pa beth er bod eich beiau'n llu
Mil mwy na sêr y nefoedd frŷ,
A'ch dwys euogrwydd yr un pryd,
Yn chwyddo dros derfynau'r byd?

Mae yma fôr yn llifo i maes
O fythol anffaeledig ras,
A ffrydiau gwaed ein Prynwr Crist
All foddi'r holl euogrwydd trist.

Llifeirio wnaeth dros fryniau bai,
'Does iddo'n bod na glàn na thrai;
Pe chwiliem am ein beiau mwy,
Nis gellir cael byth m'onynt hwy.

1536. Breniniaeth Crist.—M. 5.

Paham mae dynion â'u holl rym,
Mor hŷf yn gwisgo arfau llym,
Yn erbyn cadarn Iôr y nef
A'i unig Fab eneinniog ef?

Y Duw sydd yn teyrnasu frŷ,
A chwardd am ben eu balchder hŷ',
Eu bronau leinw ef â braw,
A d'wed mewn taran oddidraw—

"Fy Mrenin a sicrâf er hyn
Ei orsedd saif ar Sion fryn.
Cyfodais ef o farw i fyw,
Caiff byth reoli dynol-ryw."

1537. Anwadalwch y galon.—M. 5.

Paham mae nghalon i mor bell,
Oddiwrth fy Nuw, pa gyfaill gwell?
Mwy o'm meddyliau pa'm na bydd,
Dduw, gyda thi y nos a'r dydd?

Paham y gwibia'm nwydau gwael,
Pa le mae'r fath felusdra i'w gael,
Ag y ge's i yn y mwynhad,
O honot ti a'th gariad rhad?

Pan fyddo f'enaid gwan yn cael,
Rhyw newydd brawf o'th gariad hael;
Rhyfygu mae fy nghalon gas
Na chollaf byth mo'r cyfryw flas.

Truenus wyf, mawr oedd fy mai,
Yn myn'd ar ol pleserau gau;
Cyn colli'r olwg arnat mwy,
Byth wrth dy groes am aros 'rwy'.

1538. Nawdd yn y rhyfel.—M. 35.

  Paham yr ofnaf lu?
  Mae cadarn fraich o'm tu;
Y rhyfel sydd o ddydd i ddydd,
  Yn eiddo'n Prynydd cu;
Ac ato ef am nodded gref
  Mi goda'm llef a'm cri;
Yn llesg a chlaf taer alw wnaf;
Nerth ganddo gaf, fy Nuw, fy Naf,
  Ein Tad anwylaf ni.

1539. Eiriolwr gyda'r Tad.—M. 34.

  Paham yr ofnaf lu,
  Mae'r cadarn Iesu cu,
    Mewn nefol wlad,
  Gerbron y Tad o'm tu;
Ni cheisiaf neb yn rhan ond ef,
Mae'n gadarn graig, mae'n noddfa gref,
  Mae'n wastad dros ei bobl
Yn eiriol yn y nef.

  Yn nyfnder pob rhyw loes,
  A gorthrymderau f'oes,
    Fy nawdd a'm nerth,
  Yw aberth mawr y groes;
Rhinweddol haeddiant marwol glwy',
F'o 'nghysur yn y byd tra bwy',
  Am hunig ddigonoldeb
I dragwyddoldeb mwy.

1540. Gobaith mewn ofnau.—M. 5.

Pa hyd y caf fi, Arglwydd mwyn,
Fel un yn ofer, ddweyd fy nghwyn;
Pa hyd y cuddi'th wyneb gwiw,
Heb wrando gweddi'r gwael, O Dduw?

O Arglwydd, clyw, rho gysur clau,
Ac estyn nerth i'm dwyn o'm gwae;
Os gwel'd dy wedd ar fyr ni chaf,
Mewn nos dragwyddol huno wnaf.

Pa hyd y caiff fy nghalon flin
Gan ofnau tost fel hyn ei thrin?
O, fel y bostia uffern oll,
Os un gweddïwr â ar goll.

Dy ras yw'm hunig hyder i—
Caf etto wel'd dy wyneb di;
Caf etto felus brawf o'th hedd
A'th foli byth yn llon fy ngwedd.

1541. Pledio â Duw.—M. 4.

Pa hyd y cuddi'th wyneb pryd
A'th hyfryd lewyrchiadau?
Pa bryd y dont, O Dduw, i'm cwrdd,
Er ymlid ffwrdd fy ofnaŭ.

Pa hyd y caiff fy enaid gwan
Ymdrechu dan anghysur?
Dy air a ddichon fy nghryfhâu
Ac esmwythâu fy nolur.

Fy haul a'm tarian ydwyt ti;
O cadw fi'n dy freichiau;
Rhag cau mewn ing fy llygaid prudd,
Yn nghwsg tragywydd angau.

1542. Addysg Ddwyfol.—M. 4.

Pa le mae'r dyn a gair yn byw
I ofni Duw a'i wialen;
Sy'n hoffi llais efengyl lon
Gan blygu i hon yn llawen?

Cyfrinach nefol Duw ei hun
Y cyfryw un gaiff wybod;
A chaiff amlygiad yn ddilai
O'i gariad a'i gyfammod.

Ei enaid a gaiff ddedwydd fyw,
Gerbron ei Dduw'n dragwyddol;
A ffrwyth yr addewidion rhâd
A brawf ei hâd dilynol.

1543. Casglu Israel.—M. 20.

Palmentwch y brif-ffordd,
Daw Israel yn llu,
O'r Aifft ac Assyria
A'u Harglwydd o'u tu;
A'u dagrau yn llifo
Wrth gofio y pren,
Lle'r hoeliodd eu tadau
Dywysog y nen.

Sain udgorn y Jubil
A'u cyfyd o'u bedd,
Mawr fydd eu gorfoledd
Pan brofont yr hedd;
Mae'r Jubil yn nesu,
Palmentwch bob dydd,
Y brif-ffordd yn barod,
Daw'r caethion yn rhydd.

1544. Seliad yr Ysbryd.—M. 5.

Pa'm bydd i blant y Brenin mawr
Fyn'd yn alarus ddyddiau'u hoes?
Ddyddanydd nefol, tyr'd i lawr
Arwyddion mwy o'th gariad moes.

Ond trigo yn dy saint 'rwyt ti,
A'u selio'n blant i Dduw a wnai;
Gỳr ymaith fy amheuaeth i,
A dangos faddeu fy holl fai.

Rho i'm cydwybod eglurhad,
O'i rhan yn ngwaed fy Mhrynwr byw;
A thystia gyda'm calon i,
Fy mod i wedi 'ngeni o Dduw.

1545. Gobaith yn angeu.—M. 7.

Pa'm fy enaid y terfysgi
Gwel'd yr afon fawr gerllaw,
Er y llif a'r tònau llwydion
Ti âi trosodd maes o law;
I'r ardaloedd,
Na fydd son am farw byth.

Iesu wedi adgyfodi
Yw fy ngobaith, yw fy nghân,
Wrth wynebu afon angeu
Af dan gânu hyn yn mlaen;
"Tòrodd Iesu
Garchar angeu'n chwilfriw mân."

1546. Ofni'r glyn.—M. 5.

Pa'm, Gristion gwan, yr ofni fyn'd
Trwy'r glyn i gwrdd â Christ dy ffrynd?
Ni thyn ef byth ei fraich i bant,
Pan bo yn gyfyng ar ei blant.

Er rhoi dy gorff dros ennyd awr
I huno'n fud yn llwch y llawr,
Pa ddrwg i ti wna'r pryfaid mân,
Bu Iesu yno o dy flaen?

Pereiddiodd ef y bedd i'r saint,
O Gristion gwan, rhyfedda'r fraint!
A thrwy ei adgyfodiad Ef
Fe gyfyd myrdd yn iach i'r nef.

1547. Breniniaeth Crist.—M. 5.

Pa'm gwnai Iuddewon â'u holl rym,
A chreulawn lu y gwayw-ffyn,
Ymgodi'n erbyn Ior y nef,
I ladd ei gu Eneinniog ef?

Fy Nghrist, medd Duw, sicrhaf, er hyn,
Ei orsedd saif ar Sion fryn;
Cyfodaf ef o farw i fyw,
Caiff byth reoli dynol-ryw.

Rho'wch wrth ei draed, freninoedd byd,
Eich heirdd goronau'i lawr i gyd:
Gwyn fyd y sawl a'i hedwyn ef,
Ac ar ei ras a rydd ffydd gref.

1548. Angeu, porth gwynfyd.—M. 20.

PA'M ofnwn ni farw,
Onid ydym ar fai,
Pa bryfaid brawychus,
Yw pobl Dduw rai;
Porth gwynfyd yw angeu,
Mae'n arwain i fri,
Ac etto dychrynu
Myn'd trwyddo 'rym ni.

Y poen a'r griddfanau
Ddwg angeu i'n cwrdd,
Sy'n tarfu ein henaid
Anffyddiog i ffwrdd;
Fe dynai 'nol eilwaith
I fywyd pe cai,
Gan garu'r hen garchar,
Y claiar dŷ clai.

1549. Neb gyda thi.—M. 4.

PA'M, pwy, O Dduw, heblaw tydi
Sydd genyf fi'n y nefoedd?
Neb ni ddymunwn gyda thi,
Wrth weini daear leoedd.

Fy nghalon i, a'm nerth, a'm cnawd,
Sydd mewn rhyw balldawd beunydd;
Ond ti, O Dduw, sydd ar fy rhan,
A'm Tarian yn dragywydd.

1550. Ofn y bedd.—M. 7.

PA'M 'rwy'n drist, a llesg, ac ofnus,
Pa'm 'rwy'n brudd drwy f'oes o'r bron,
Wrth fyfyrio 'r âf yn fuan
I orwedd dan y ddystaw dòn;
Fe fu Iesu,
Yno'n gorwedd o fy mlaen.

Mae angylion yn fy nghymhell;
Edrych, meddant, dyma'r lle,
Dyma'r ardd, a'r bedd, a'r gareg
Gynt a dreiglwyd arno fe:
Gwel y carchar
Wedi'i ddryllio'n chwilfriw mân.

Ciliwch ofnau, ffowch amheuon,
Ddarfu'm blino lawer awr,
Mynych gwnaethoch i mi weled
Pethau bach yn bethau mawr:
Mae allweddau
Pyrth y bedd wrth wregys Crist.

1551. Gwagder daear.—M. 4.

PA'M 'rym yn hoffi'r ddaear hon,
A'r pethau gweigion isod?
Lle mae gofidiau yn amlhau,
A phob pleserau'n darfod.

Mae amser yma â'i ddannedd llym
Yn difa'n grym a'n cysur;
Ond gwlad o fythol hedd sydd fry,
Uwchlaw ei allu'n sicr.

Ysgafn a byrion i barhau,
Yw pob cystuddiau bydol,
Pan elom i'w cydmaru i gyd
A phethau'r byd tragwyddol.

1552. Bendithio'r bedd.—M. 5.

PA'M y dychrynwn mewn un wedd,
Drosglwyddo cyrff y saint i'r bedd?
Yno bu cnawd yr Iesu pur,
A gad'odd arogl peraidd hir.

Bendithio beddau'i saint a wnai,
Ac esmwythaodd eu gwel'au;
P'le gorphwys yr aelodau mân,
Ond gyda'u Pen fu yno o'r blaen.

Oddiyno cododd, fynu'r aeth,
A dangos i ni'r ffordd a wnaeth;
A chwyd ein cyrff o lwch y llawr,
Yn nydd yr adgyfodiad mawr.

1553. Angeu, cenad Crist.—M. 5.

PA'M y tristawn ar ol y saint?
Nid marw, ond ymado maent;
'Dyw angeu ond cenad Crist o'r nef,
I'w galw hwynt i'w freichiau ef.

Onid y'm ni yn awr o hyd
Am dynu fry i'r nefol fyd,
Mewn hiraeth am y dydd cawn fyn'd
At Iesu, ein hanwylaf Ffrynd.

1554. Dod o'r cystudd mawr.—M. 16.

PAN adeilader Sion bêr,
Fe esgyn hon yn uwch nâ'r ser
O wlad y cystudd mawr;
Heb ddim anharddwch ynddi mwy,
Na chri, na chraith, na chlais, na chlwy',
A'i thegwch fel y wawr.

Wrth gofio gwlad y cystudd mawr,
A'r holl ofidiau ar y llawr,
Pêr ganant byth i'r Oen;
Am eu bugeilio nos a dydd,
A'u dwyn o'u holl gadwynau'n rhydd,
I Salem fry heb boen.

1555. Morio mewn hedd.—M. 5.

PAN allwyf ddarllen eglurhad
O'm hawl i freintiau'r nefol wlad,
O'm hofnau oll 'rwy'n ymiachâu,
Gan sychu'm dagrau a llawenhau.

Pe codai'r byd ac uffern ddu,
Mewn arfau'n erbyn f'enaid cu;
Gwnawn wenu'n llon ar hyn o bryd,
Er llid y fall a gwg y byd.

Pe doi gofalon megys llif,
A llym ofidiau heb ddim rhif,
Mi gyrchwn at fy Nuw i'r nef,
I orphwys dan ei nodded ef.

Diflino f'enaid yno gawn,
Mewn moroedd o orphwysdra llawn,
Ac ni ddoi un flinderus dòn
Byth mwy dros fy heddychol fron.

1556. Y farn ddiweddaf.—M. 4.

PAN anwyd Crist, angylion nef
  Gyhoeddent ef yn Geidwad;
Pan ddel i'r farn yr olaf ddydd,
  Angylion fydd i'w warchad.

Cryn ei elynion rhagddo'n glau,
  Y môr a'r bryniau giliant;
Ond dwg ei blant i'r nef yn lân,
  A'r byd yn dân adawant.

Gogoniant a llawenydd llon
  I'r cyfion hauwyd yma;
Mewn nefol fyd egino wnant,
  A dygant lawn gynhaua'.

1557. Brawd yn y glyn.—M. 4.

PAN ballo ffafr pawb a'u hedd,
  Duw, o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Ffrynd a fydd
  Ar gyfyng ddydd marwolaeth.

O, Fugail Israel, dwg fi'n mlaen
  I'r dawel lân orphwysfa;
I'th nefol lys, o'm poen a'm pla,
  I ganu Halaluia.

O tywys fi drwy'r anial dir,
  Nes dod i'r eglur fywyd;
At fy nghyfeillion sydd mewn hedd,
  Yn gweled gwedd f'Anwylyd.

1558. Ceryddon brawdol.—M. 5.

PAN bechwyf, boed i'r cyfiawn cu,
Mewn cariad, fy ngheryddu'n hy',
Fel olew bydd eu haddfwyn sèn,
Ni thyr hi byth, ond llòna'm pen.

Pan welwyf hwy mewn ing a gwae,
Rho'f lef ar Dduw i'w hesmwythâu;
Dangosaf drwy fy ngweddi'n wir,
Mor fawr wy'n prisio'u cariad pur.

1559. Duwioldeb yn elw.—M. 5.

PAN bo cysuron byd yn ffoi,
Mae gan dduwioldeb le i droi;
Gwledd a hyfrydwch ganddi sydd
Mewn ffwrn a ffau i berchen ffydd.

Duwioldeb sydd yn elw gwell
Nâ holl drysorau'r India bell;
Goleuni nefol ynddi sydd,
Wna'r dywell nos yn oleu ddydd.

Pan sycho ffrydiau'r byd bob un,
Pan ballo cnawd a chalon dyn,
Try'n felus wledd a chân bryd hyn,
Yn ngolwg Iawn Calfaria fryn.

1560. Iorddonen ddu.—M. 1.

PAN bo'r Iorddonen ddu,
  A'i thònau'n ddychryn im';
Ond cael adnabod *Ffrynd* y saint,
  Mi gana' er maint eu grym.

Bydd melus yn y dw'r
  Gael Sylfaen siwr i'r gwan;
A hyfryd gwel'd y cerbyd claer
  Yn ddysglaer wrth y lan.

Myn'd ynddo i wlad y gân,
  I blith y dyddan gôr;
O'r fath lawenydd yno fydd
  Tragywydd gyda Ior.

1561. Cydymaith yn angeu.—M. 5.

PAN bwy'n wynebu angeu du,
Pan dry yn ol bob cyfaill cu,
Pwy gwyd bryd hyn fy enaid gwan,
O'r hen Iorddonen ddu, i'r lan?

I'r bythol fyd pan byddwy'n myn'd,
Bydd Iesu im' bryd hyny'n Ffrynd:
Pa frawd, pa chwaer, pa gyfaill gwell
A'm hebrwng i'r ardaloedd pell?

O cofia fi, pan bwy'n y bedd,
A dwg fy llwch i'r lan mewn hedd:
Ac arddel fi'n y farn a ddaw,
A gosod fi ar dy ddeheu-law.

1562. Amser pla.—M. 1.

PAN byddo haint a chlwy'
  Yn tramwy trwy ein gwlad,
I ddweyd ein cŵyn awn at ein Duw,
  Un tyner yw ein Tad.

Ni ddichon pläau blin
  Na dryc-hin o un rhyw,
Niweidio neb o fewn ein gwlad,
  Heb ganiatad ein Duw.

Rhown, dan ein hofnau dwys,
  Ein pwys ar Frenin nef,
Fe ddwg ei blant o dònau'r byd,
  I'w gartref hyfryd ef.

1563. Marw'n ddedwydd.—M. 9.

PAN byddo saethau angeu
  Yn glynu dan fy mron,
Ni thâl pleserau daear
  Mo'u caru'r fynud hon;
Cael gweled gwenau Iesu
  Fu farw ar Galfari,
A wna i'm henaid ganu
  Yn ngwyneb angeu du.

1564. Duw gyda ni.—M. 4.

PAN dremiwyf ar y nefoedd faith,
  A gweled gwaith dy ddwylo;
Mor hardd yw'r lloer a'r ser y sy
  Drwy'r wybren fry'n dysgleirio.

Duw! beth yw dyn, na neb o'i ryw,
  Y rhai sy'n byw mor isel,
I ti ymwel'd ag ef â'th ras,
  A'i ddwyn i drâs mor uchel.

Dy unig Fab, o'i gariad pur,
  A wisgai'r natur ddynol;

Yn is nâ neb fe'i gwnaeth ei hun,
I wared pryfyn marwol.

Coroner ef â pharch hyd nen,
Am blygu'i ben hyd angau;
Cyhoedded pawb o berchen chwyth,
Ei foliant byth â'u genau.

1565. Profedigaethau'r byd.—M. 4.

Pan dremiwyf yn ngoleuni ffydd
Ar bobpeth sydd is wybren;
Pob cnawdol chwant, bri'r byd, ac aur,
Peryglus cair eu dyben.

Duw yw fy holl-ddigonol dda,
Fy nghyfran a'm dewisiad,
Yn hwn caiff f'enaid yn ddigoll
Gyflawnu'i holl ddeisyfiad.

Ni chaiff y byd a'i weniaith lon,
Fy nghlust na'm calon demtio;
Rhy ddrud yw ei ddedwyddwch ef,
I mi roi'r nef am dano.

1566. Swper yr Arglwydd.—M. 20.

Pan dros ein pechodau,
Rai duaf eu lliw,
Y rhoes Crist ei enaid
Yn aberth i Dduw;
Gwaed gwerthfawr ei galon
Ei dywallt a wnaed,
Er cael i ni bardwn
A chyflawn ryddhad.

Gwnewch hyn hyd nes delwyf,
Mwyn archai efe,
Er cof am eich cyfaill
Fu farw yn eich lle;
Fy mwrdd amgylchynwch,
A chofiwch o hyd
Am gariad eich Arglwydd
Adawodd y byd.

1567. Angylion wrth arch Crist.—M. 2.

Pan ddaeth Mab Duw i'r byd
I weithio'n hiechydwriaeth,
Disgynodd hardd angylaidd lu
I barchu ei enedigaeth.

A phan oedd flin gan gur
Ar oerllyd dir gorweddai,
Archangel cu ymddangos wnai
I esmwythâu ei loesau.

Dan law ein Brenin mawr
Y rho'w'd yn awr eu lluoedd,
Er gweini i'r saint, a'u dwyn i gyd,
O'r anial fyd i'r nefoedd.

Llawenydd wna 'u cyffroi,
Wrth weled troi pechadur,
Drwy hyn cyll satan gaethwas trist,
A deiliad Crist a enir.

1568. Dychwelyd caethiwed.—M. 4.

Pan ddarfu'i Dduw ddatguddio'i rad,
A'm troi o'm stâd wylofus;
Fel un mewn breuddwyd hoff y bum,
Ffrwyth gras oedd im' mor felus.

Yr Arglwydd ddichon roi o'r ne'
Oleuni'n lle tywyllwch;
Trodd im', yn lle fy nagrau prudd,
Afonydd o ddyddanwch.

1569. Tawelwch yn angeu.—M. 9.

Pan ddelo'r awr i fynu,
A deued yn ei phryd,
Doed angeu pan y delo,
Ffarwel, ofidiau'r byd;
I arall fyd y'm ganwyd,
I arall fyd 'rwy'n myn'd,
Ni cheisiaf neb ond Iesu
Wrth fyn'd oddiyma'n ffrynd.

Fe ddaw fy nghorff o'r beddrod,
Fel fy Anwylyd cu,
Heb unrhyw nwyd lygredig
I'm blino fel y bu:
Yn nghanol myrdd myrddiynau
Caf hyfryd lawenhau,
A'r anthem oll fydd cariad,
A chariad i barhau.

1570. Dwyn plant at Grist.—M. 4.

Pan ddygwyd plant at Grist cyn hyn,
Fe'u cym'rodd yn ei freichiau;
Yn rasol fe'u bendithiodd, do,
Gwna etto â'n heiddo ninnau.

Bendithia ein hiliogaeth hyn,
I'th nawdd 'rym yn eu rhoddi,
Derbyniaist ni, O gâd i'n plant
Fod byth yn feddiant iti.

Ac os amddifaid yn y man
Y byddan' wedi'u gado,
Bydd di, O Ddnw, yn Dad a phlaid
I'n plant amddifaid etto.

1571. Cyfaill a bery.—M. 3.

Pan fo gwrthrychau'r byd yn ffoi,
Ac yn diflanu'n ddim,
Mae genyf Gyfaill anwyl hoff,
A bery'n ffyddlawn im'.

Er im' ei fynych adael ef,
Parhau mae ef yr un;
Rhyfeddol ei ffyddlondeb yw
I mi, annheilwng ddyn.

Gwrandawodd gri pechadur gwael,
Wnaeth ei ddystrywio'i hun;
Mi ymddiriedaf finnau mwy
Yn Iesu'r ffyddlawn un.

1572. Cynhesu'r bedd.—M. 28.

Pan fu ein Harglwydd mawr
Yn llawr y bedd,
Cynhesodd wely i ni,
Rai gwael ein gwedd;

Yn rhwydd, ryw ddydd a ddaw,
  Rhowch fi â'ch llaw 'run lle;
'Rwy'n caru, er yn wan,
  Y fan bu 'fe.

Fe genir cyn bo hir
  Yn glir ei glod,
Rhyfeddu'r cariad fydd
  Y dydd sy'n dod;
Dadseinir, Iddo Ef,
  Yn lân gan nefol lu,
Mynegant rinwedd gwaed
  Eu Ceidwad cu.

**1573.** Gobaith dan y groes.—M. 57.

Pan fyddwyf mewn rhyw ddirgel fan
  Yn griddfan dan y groes;
Bron methu croesi llawer cwm,
  Gan faich rhy drwm yn f'oes;
Daw weithiau feddwl i mi fod
  Fy Nuw i'm canfod yn mhob cell;
Na chaf ddihoeni felly o hyd,
  Y gwawria bywyd gwell.

**1574.** Anwylyd y credadyn.—M. 5.

Pan glywo pechaduriaid trist
Fi'n dweyd mor deg yw'm Prynwr Crist,
"B'le'r aeth dy Anwylyd yw eu llef,
Fel ceisiom ac y carom ef?"

Teyrnasu mae f'Anwylyd cu
Ar fryniau gwlad gogoniant fry;
Ond mynych daw i'r ddaear las,
I erddi ifainc iraidd gras.

O boed i'm henaid i bob dydd,
Ehedeg fry ar aden ffydd,
Nes dygo angeu, cenad Duw,
Fi at fy Nghariad byth i fyw.

**1575.** Nerth yn ol y dydd.—M. 5.

Pan glywy'r Iesu'n dweyd y bydd
I mi gael nerth yn ol y dydd,
'Rwy'n llawenhau mewn trallod trist,
A'm pwys ar ras digonol Crist.

Mi allaf wneyd neu ddyodde'n rhydd,
Bob peth, os fy Arglwydd yno fydd;
Os poen, bydd pleser am ei ben,
Tra bo'i law aswy dan fy mhen.

Ymffrostio 'rwyf mewn gwendid gwael,
Nerth Crist fel hyn bydd im' ei gael;
Pan ydwyf wan, 'rwy'n gadarn lân,
Gras yw fy nharian, Crist yw'm cân.

**1576.** Breintiau efengyl.—M. 3.

Pan gododd Crist, y Sylwedd mawr,
  Ei achos yn y byd,
Aeth y cysgodau oll i lawr,
  Diflanu wnaent i gyd.

O'r gwerthfawr freintiau ddaeth i ni,
  A'r goleu sy drwy'n gwlad!
Cael prawf o Aberth Calfari,
  Llawn iechydwriaeth rad.

**1577.** Glàn yr Iorddonen.—M. 58.

Pan gofiwyf rym y dw'r,
    A'i thònog genlli',
A'r mynych rymus wr
    A suddodd ynddi;
Mae braw drwy fy enaid gwan,
Mai boddi fydd fy rhan,
Cyn cyrhaedd tawel làn
    Bro y goleuni.

Ond pan y gwelaf draw
    Ar fynydd Sion,
Yn iach, heb boen na braw,
    Fy hen gyfeillion,—
Paham yr ofnaf mwy?
Y Duw a'u daliodd hwy
A'm dyga innau drwy
  Ei dyfroedd dyfnion.

**1578.** Effeithiau angeu Crist.—M. 1.

Pan grymodd Crist ei ben,
  Wrth farw yn ein lle,
Agorodd ffordd, pan rwygai'r llen,
  I bur drigfanau'r ne'.

Gorchfygodd uffern ddu,
  Gwnaeth ben y sarff yn friw,
O'r carchar caeth y dygir llu
  Trwy ras i deulu Duw.

Bu'n angeu i'n hangeu ni,
  Wrth drengu ar y pren;
A thrwy ei waed y dygir llu
  Trwy angeu i'r nefoedd wen.

**1579.** Adgyfodiad y corff.—M. 4.

Pan lon ddihunaf yn y bedd,
  Mi goda' 'ngwedd dy wyneb;
Yn ngwisg cyfiawnder Iesu glân,
  I ardal anfarwoldeb.

A'th ddiwael berffaith ddelw bur,
  Fe'm llwyr ddigonir yno:
Yn ol i'm corff o'r llwch a'r llaid,
  A'm henaid gael eu huno.

**1580.** Trymder euogrwydd.—M. 5.

Pan oedd euogrwydd heb ddim hedd,
Yn mron â'm gwasgu'n is nâ'r bedd,
A'm holl bechodau'n codi'n llu,
Datguddiodd Duw ei Fab i mi.

Gweddio 'rwyf, och'neidio'n brudd,
Rhyfela'n deg am gael y dydd;
Ond golwg ar y groes yn awr,
A dyn fy meichiau oll i lawr.

**1581.** Siampl Crist.—M. 4.

Pan oedd Mab Duw mewn agwedd dyn
  Yn rhodio 'i hun y ddaear;
Amgylchwyd ef gan ddynion drwg,
  A dirmyg, gwg, ac anair.

A'u hadfyd hwy ymdeimlo wnai;
  Eu hedd a geisiai'n wastad:
Ond talent ddrwg am dda ar gam—
  Casineb am ei gariad.

Heb achos ymgynhyrfai'u llid,
  Er hyn i gyd gweddïai
Dros ei elynion—ar y groes
  Yn ing ei loes bendithiai.

Ai'n ofer caiff dy siampl di
  Ymddangos i'm golygon?
Rho ysbryd im', fy Arglwydd cu,
  I garu fy ngelynion.

1582. Holltau'r Graig.—M. 10.

Pan oedd Sinai yn melltenu,
  A'i tharanau'n rhwygo'r nen;
Cwmwl tanllyd ei felldithion
  Bron ymdywallt am fy mhen;
Nef a daear yn fy ngwrthod,
  A'm cyhuddo 'roedd y ddraig,
Gwelais fan i droi fy ngwyneb,
  Ces ymguddfa'n "holltau'r Graig."

Pan fo stormydd arna'i'n curo
  Nes diffygio f 'ysbryd gwan,
Yma bellach tro'f fy wyneb,—
  Dyma'r unig dawel fan:
Rhedeg mwy yn mhob rhyw drallod
  Wnaf i gysgod Had y Wraig,
Hyd nes elo'r aflwydd heibio
  Llechu wnaf yn "holltau'r Graig."

1583. YR AIL RAN.

Gad im' dreulio f 'oriau, Arglwydd,
  Tra b'wyf yma yn y byd,
Dan dy aden, yn ddiogel,
  Yn y noddfa dawel glyd:
A phan toddo yr elfenau,
  Ac y berwo tônau'r aig,
A holl anian yn ymddryllio,
  Canaf finnau'n "holltau'r Graig."

1584. Diolch am wlaw.—M. 29.

Pan oedd y sychder dros ein tir,
A'r maes yn methu ffrwytho'n îr,
Ac arwydd o galedfyd hir,
  Pwy oedd pryd hyn heb fraw?
Gan eisiau clywid llawer un
A'i weddi'n ddwys ar Dduw ei hun,
Am gael o'i rad, er nawdd i ddyn,
  Yr iraidd wlith a'r gwlaw.

Ond rhyfedd iawn y gwenu wnaeth
Ein daear lon, gan addaw maeth,
A phob digonedd, pan y daeth
  Y dyner gawod wlaw:
Am hyn, fel Job, boed i ni'n awr,
Mewn diolchgarwch i'r Duw mawr,
Gydseinio clod o'r ddaear lawr
  Hyd lys y nefoedd draw.

1585. Caru gelynion.—M. 6.

Pan oe'm elynion cas,
  Truenus gwael ein gwedd,
Anfeidrol oedd y gras
  Amlygodd T'wysog hedd;
Ei fywyd pur ro'es yn ein lle,
O cofiwn am ei gariad E.

Boed i'r Messia mawr
  Y moliant byth, Amen;
Rhoed pawb trwy'r nef a'r llawr
  Y goron ar ei ben:
Teilwng yw'r Oen—doed dae'r a nef
I ganu am ei gariad ef.

1586. Ceryddu prudd-der.—M. 5.

Pan o'wn dan swn pistylloedd nen,
A thonau trallod dros fy mhen,—
A'r amser cûl, pan wnaethym gwyn,
Bryd hyny profais Dduw yn fwyn.

Am hyny pa'm rhaid im' lesgâu,
Pa'm 'rwyt, fy enaid, yn tristâu?
Cred yn yr Arglwydd, canmol ef,
Dy gymmorth yw, a'th noddfa gref.

1587. Bloedd yr Archangel.—M. 30.

Pan rydd yr Angel lef,
Nes siglo dae'r a nef,
  Ag udgorn Duw,
Y meirw, fach a mawr,
Sy'n llechu'n llwch y llawr,
A godant ar yr awr
  O'u beddau'n fyw,

Mae agoriadau'r bedd
Wrth wregys Brenin hedd;
  Fe ddaw y dydd;
A dydd nodedig yw
Y dydd a drefnodd Duw,
I godi'r marw'n fyw,
  O'i wely pridd.

1588. Crist yn y preseb.—M. 6.

Pan yn y preseb gynt,
  Y cafwyd Ior y nef,
Yr holl angylaidd gôr
  A'i haddolasant ef;
Cydunwn ninnau gyda hwy
I gofio am ei gariad mwy.

Seiniasant yn gytun
  Yr anthem glodfawr wiw,
I Iesu Mab y dyn,
  Anfeidrol fythol Dduw;
Henffych i'r dydd cawn uwch y nen
Gydroddi'r goron ar ei ben.

1589. Parhad cariad Duw.—M. 17.

Parhau
Mae cariad Duw i'w anwyl rai,
Hwy gânt yn wastad ei fwynhau,

Heb achwyn trai, yr ochr draw;
O na bawn gydag ef yn byw,
Fy Mhriod yw, Pa bryd y daw?

Mae, mae,
Ein Harglwydd hael yn trugarhau,
A'i ryfedd gariad sy'n parhau;—
Nis gallwn lai nâ'i foli'n 'nawr,
Am iddo'n dwyn i oleu'r dydd,
A'n tynu'n rhydd o'r cystudd mawr.

1590. Gwasgfa Crist.—M. 5.

Pa wasgfa deimlai Iesu mâd
Pan gollodd siriol wedd y Tad?
Bu baich ein holl euogrwydd trwm
Yn pwyso arno fel y plwm.

Gras, doethder, a chyfiawnder drud,
A gyfarfuant ar y pryd;
Y Bugail mwyn! ei daro wnaed
I ni gael bywyd trwy ei waed.

Pe gallem, dylem godi'n llef
Mewn hymnau, megys teulu'r nef,
Ond nid oes dyn, nac angel chwaith
All gyflawn ddiolch am y gwaith.

1591. Cwrdd hyfryd y nef.—M. 50.

Pawb sydd yma'n caru Duw
Gwedi marw a gânt fyw,
A chanu yn y nef:
O hyn fydd yn hyfryd,
Hyfryd, hyfryd, hyfryd,
O hyn fydd yn hyfryd!
Cwrdd heb byth ymadael mwy!

Pawb brofasant yma hedd
Iesu—a gânt wel'd ei wedd,
A chanu iddo byth.—O hyn, &c.

Duwiol a santeiddiol blant
Sy'n gweddio, yno'r ânt,
O'r holl ysgolion Sul;—O hyn, &c.

Ein hathrawon rhad a rhydd,
A'n rhieni yno fydd,
Dros byth yn llawenhau:—O hyn, &c.

Ein bugeiliaid gyda hwy,
Yno fydd heb ofid mwy,
A'u bronau'n llawn o hedd.—O hyn, [&c.

1592. Manylrwydd y gyfraith.—M. 11.

Pe cadwn y gyfraith o'm mebyd,
Holl ystod fy mywyd o'r bron,
A phechu un fynud cyn marw,
Cawn benyd tra chwerw gan hon;
Nis gall, oddiar burdeb ei nhatur,
Ddim maddeu un pechod mewn oes;
Mae'n foddlon i faddeu'r dyledion
Ar gyfrif archollion y groes.

1593. Presennoldeb Duw.—M. 5.

Pe cawn adenydd boreu wawr,
I ffoi tu hwnt i'r cefnfor mawr,
Dy law âi yno'n gynt, mi wn,
A daliai y ffōadur hwn.

Ni ddichon llen y nos, na dim
Fy nghuddio rhag dy lygad llym;
Y dywell nos, a'r goleu ddydd,
Dduw mawr, i ti 'run ffunud sydd.

O boed im' feddwl hyn o hyd,
P'le bynag byddwyf yn y byd;
Fel na chydsynio f'enaid gwan
I bechu—am fod Duw'n y fan.

1594. Angen enaid.—M. 4.

Pe cawn i'm rhan holl gyfoeth byd,
A phob rhyw wynfyd gorau,
Och'neidiai f'enaid ar bob tro,
Mae rhyw beth etto'n eisiau.

Yr wyf o achau uwch nâ'r byd,
Gan hyny, ynfyd ceisio
Fy llenwi'n glir, a'm llŏni'n glau,
A'r holl deganau s' ynddo.

O'r nef y daethum, oddiwrth Dduw,
A'm cartref yw Paradwys;
Mae'm tynfa byth tua'r hyfryd borth
Am ymborth, cymhorth cymhwys.

1595. Y fraint benaf.—M. 1.

Pe cawn y ddaear gref,
A'i mheddu yn ei mhaint,
Cael Iesu'n rhan, a'i ddilyn ef
Sydd fil rhagorach braint.

Pe bawn mewn cystudd trist,
Yn dyoddef trwy fy oes,
Un olwg ffydd ar gariad Crist
Felusai bob rhyw loes.

1596. Teyrnwialen aur.—M. 10.

Pechadur aflan yw fy enw,
O ba rai y pena'n fyw;
Rhyfeddaf byth fe drefnwyd pabell
Im' gael yn dawel gwrdd â Duw;
Yno mae yn llon'd ei gyfraith,
I'r troseddwr i gael gwledd,
Duw a dyn yn gweiddi—Digon,
Yn yr Iesu'r Aberth hedd.

Anturiaf ato yn hyderus,
Teyrnwialen aur sydd yn ei law,
Estyniad hon sydd at bechadur,
Ni wrthodir neb a ddaw;
Af yn mlaen dan weiddi—Pechais,
Af, a chwympaf wrth ei draed,
Am faddeuant, am fy ngolchi,
Am fy nghànu yn y gwaed.

1597. Dringo tua'r nefoedd.—M. 12.

Pechadur, fy Arglwydd a'i gŵyr,
Pechadur a garwyd yn rhad;
Pechadur a gliriwyd yn llwyr
Trwy rinwedd tra ryfedd y gwaed;

Pechadur a orfu fyn'd drwy
Ryw stormydd o ddyfroedd a thân;
Pechadur, na orphwys byth mwy,
Nes dringo i'r nefoedd yn lân.

1598. Pechadur archolledig.—M. 5.

Pechadur wyf, da gŵyr fy Nuw,
Llawn o archollion o bob rhyw!
Yn byw mewn eisieu o waed y groes,
Bob mynud awr o'r dydd a'r nos.

Edrychodd Duw o'r nef yn rhad
Ar un yn gorwedd yn ei waed;
A d'wedodd, Yn dy waed bydd fyw;
Rho'f iddo'r clod, fy nyled yw.

Moliannus fyth fo enw Duw,
A wnaeth fy enaid marw'n fyw;
Ac a'm cyfododd fel o'r bedd,
I gael mwynhau ei ras a'i hedd.

1599. Ymbil am faddeuant.—M. 9.

Pechadur wyf, O Arglwydd,
Sy'n curo wrth dy ddôr;
Erioed mae dy drugaredd,
Heb ddiwedd fel y môr;
Er i ti faddeu beiau
Rifedi'r tywod mân;
'Gwn fod dy hen drugaredd,
'Nawr gymmaint ag o'r blaen.

Dy hen addewid rasol
A gadwodd rif y gwlith;
O ddynion wedi eu colli,
A gân am dani byth;
Er cael eu mynych glwyfo
Gan bechod îs y nen,
Iacheir eu dyfnion glwyfau
A dail y bywiol bren.

1600. Cofia fi.—M. 3.

Pechadur wyf, y dua'n fyw,
Trugaredd yw fy nghri;
Gostwng dy glust, a'm llefain clyw,
O Arglwydd, cofia fi.

Y mae tosturi fel y môr,
Heb fesur ynot ti;
O'th ras sy'n annherfynol stor,
O Arglwydd, cofia fi.

Boddlonodd Crist y nef yn llawn,
Ar fynydd Calfari;
Er mwyn ei berffaith ddwyfol Iawn,
O Arglwydd, cofia fi.

1601. Enw ar ddwyfron Iesu.—M. 5.

Pe gwenai f'Arglwydd 'nawr yn llon,
A dangos f'enw ar ei fron;
Fy mhoen dros dro'i anghofio wnawn,
A phleser yn lle blinder gawn.

Fy enw ar ei ddwyfron sydd,
A byth yn Llyfr y bywyd bydd;
Dewisach genyf yno'i fod,
Nag yn nghoflyfrau bydol glod.
Pan losga'r tân diwedda'r byd,
Dysgleiria f'enw i yno o hyd;
O Lyfr mwyn yr Oen ni 'mâd
Byth argraff llaw'r tragwyddol Dad.

1602. Dyn i farw.—M. 4.

Pe hoffwn deg bleserau'r byd,
Pe medrwn gael y rhai'n i gyd,
Fy Iesu gwiw, da gwyddost di
Mai dyn i farw ydwyf fi.

Pe cawn fwynhau holl chwantau'r cnawd,
A byw mewn hedd o gyrhaedd gwawd,
'Rwy'n gwel'd, O Dduw, yn dy air di
Mai dyn i farw ydwyf fi.

O ennyn ynof fywiol ffydd,
A difa'r llygredd ynof sydd,
Dysg i mi fyw i'th foddio di,
Can's dyn i farw ydwyf fi.

1603. Cariad byth ni chwymp.—M. 5.

Pe meddwn ar dafodau doeth
Angylion ac areithwyr coeth,
Os na fydd cariad gyda rhai'n,
Wyf megys efydd gwag ei sain.

Pe bawn o'r dawn i draethu'n hy'
Ddirgelion nef ac uffern ddu,
Neu feddu ffydd i symud byd,
Heb gariad nid wyf ddim o hyd.

Pe bawn yn rhoddi, megys brawd,
Fy näoedd oll i borthi'r tlawd,
Neu roi fy nghorff yn rhwydd i'r tân,
Er ynnill enw merthyr glân;—

I Dduw a dyn, os cariad fydd
Yn brin, fy ngwaith yn ofer fydd;
Nid tafod tanllyd, sel, na dawn,
All wneyd gwaith cariad byth yn llawn.

1604. Heddyw ac efory.—M. 4.

Pe meddwn barch a moddion byd
A phawb i'm cyd-dderchafu,
Ac eistedd heddyw wrth y wledd
Rhaid myn'd i'r bedd y fory.

Yn noeth y daethom bawb i'r byd
Heb degwch, pryd, na gallu;
Y modd y daethom felly'r awn,
A'n lle adawn y fory.

Os yw ein boreu'n hyfryd iawn,
Hi ddaw'n brydnawn er hyny;
Fy enaid anwyl meddwl di
Pa le y byddi fory!

1605. Pentewyn.—M. 4.

Pentewyn wyf a gadwodd grâs,
O'r tân i ma's fe'm tŷnodd;
Bu Iesu droswyf farw'n rhad,
A'i werthfawr wa'd fe'm prynodd.

O'r nef disgynodd, gwisgodd gnawd,
Goddefodd wawd a dirmyg;
O gariad mawr! bu farw'i hun
Er achub dyn colledig!

Am hyn fe genir ar y llawr
Gan dyrfa fawr yn ddiau,
A thelynorion nefoedd byth,
Rhifedi gwlith y borau.

1606. Pentewyn.—M. 5.

Pentewyn wyf, du iawn fy lliw,
Pentewyn wyf o'r gwaethaf ryw;
Er hyn, pentewyn wyf a gân
Am achub ac am olchi'n lân.

O ras i gyd daeth hyn i'm rhan,
A gras sy'n achub yn mhob man;
Trwy ras 'rwy'n sefyll hyd yn hyn,
A'm cân fydd—Gras Calfaria fryn.

1607. Ganwyd Ceidwad.—M. 7.

Peraidd gânu a chlodfori
Wnaeth y côr o engyl fry;
Mwy yw'r testun gorfoleddu
A chlodfori sydd i ni;
Ganwyd Ceidwad
I drueiniaid gwael y llawr.

1608. Hiraeth am Salem.—M. 13.

Pererin llesg a llaith,
Dechreuais daith oedd bell;
Trwy lu gelynion mawr eu brad,
Gan geisio gwlad sydd well;
Am ffoi mae f'enaid tlawd,
At f'anwyl Frawd a'm Pen,
Yn Salem fry par'to fy lle,
Mewn llŷs o fewn y llen.

Mae 'mrodyr uwch y nen,
Yn cânu ar ben eu taith,
Er hyn hwyrfrydig iawn wyf fi,
Ac oedi lawer gwaith;
Ond bellach tyn fi'n ddwys
Ar Grist rho'f bwys fy mhen,
Yn Salem fry par'to fy lle,
Mewn llŷs o fewn y llen.

1609. Pererin Canaan.—M. 16.

Pererin wyf i'r Ganaan fry,
I gynes gôl fy Iesu cu,
Lle caf dragwyddol nyth;
Yn mhell uwch sŵn y ddraig a'i saeth,
Na gelyn mwy i'm gwneyd yn gaeth,
Caf dawel orphwys byth.

Cyssegrwyd ffordd sy'n rhydd a rhad,
Un newydd fywiol at y Tad,
Trwy werthfawr waed yr Oen;
Mae'n ffordd i minnau deithio'n llon,
Nes dod yn berffaith ger ei fron,
Heb bechod, braw, na phoen.

1610. Goleuni natur.—M. 4.

Perffeithrwydd y tu yma i'r bedd,
Mi welais ddiwedd arno;
Galluoedd dynion sy mor fyr,
Fel nas cyrhaeddir ato.

Nid eu rheolau puraf hwy,
Gyhoeddwyd trwy eu llyfrau,
A allant ddangos byth i ni
Un pechod wedi'i faddau.

Ni roddant gysur pur difraw,
Am fyd tu draw i'r beddrod;
Ond gair Duw ddengys in' ar g'oedd,
Y ffordd i'r nefoedd uchod.

1611. Gwaed yr Oen.—M. 51.

Pe rhoid gwerth pob peth yn nghyd,
Pob creadur yn y byd,
Ni fyn Duw ond Crist ei hun,
Yn iawn dâl am enaid dyn.

Gwaed yr Oen sydd yn iachâu,
Ac yn achub rhag y gwae,
Gwaed ei groes, fel Duw a dyn
Wnaeth y ddwyblaid ddig yn un.

1612. Gardd Duw.—M. 4.

Peth hyfryd iawn yw bod a byw
Mewn gardd a blenaist di, O Dduw;
Gwna fi o fewn cynteddau'th ras
Fel teg gedrwydden iraidd lâs.

Planhigion gras byth fyddant byw,
Adfeilia natur, tyf gras Duw;
Mewn amser methu mae pob peth,
Ond hwy flodeuant yn ddifeth.

Mewn henaint, wrth eu ffrwythau llawn,
Mynegant fod Duw'n gyfiawn iawn:
Ni chaiff a wylio wrth borth Duw
Byth dd'wedyd—mai anffyddlon yw.

1613. Aros yn y ty.—M. 7.

Plana'm corff a'i holl alluoedd,
Plana'm henaid oll o'r bron,
Yn dy dŷ, a chyda'th bobl
Tra b'wyf ar y ddaear hon:
Cymmer feddiant,
Cyflawn byth o honwyf mwy.

Yn y deml gydag Anna
Mi arosaf ddyddiau f'oes,
Byth o'th dŷ ni cheisiaf ysgog
Er ei myn'd yn dywyll nos;
Gwell bod yno'n
Cadw'r drws, nâ lle'n y byd.

Ar ol dysgwyl fel Simeon
Ddyddiau meithion, pwy a ŵyr
Na chaf wel'd dyddanwch Israel,
Megys yntau yn yr hwyr;
Os caf hyny,
Mewn tangnefedd marw wnaf.

**1614.** Plant digofaint.—M. 10.

PLANT digofaint oeddym ninnau,
Wrth naturiaeth dan ei ŵg;
Dyeithriaid hefyd a gelynion, [drwg;
Mewn meddwl trwy weithredoedd
Ond fe drefnwyd ffordd i gadw
Pechaduriaid gwael eu rhyw;
Pwy a ŵyr na chedwir ninnau
Trwy ryfeddol ras ein Duw.

Bywyd a marwolaeth Iesu
Wedi ei gyfrif i ni'n rhâd,
Dyma ddigon rhag digofaint,
Dyma yw ein cyfiawnhâd;
Ysbryd Crist yn trigo ynom,
Er mor waeled yw ein llun,
A gyfnewid ein heneidiau
Ar ei ddelw ef ei hun.

**1615.** Gobaith gogoniant.—M. 33.

PLANT Duw, er saled yw eu gwedd
Wrth ymdaith ar y llawr,
A ddont i Sion cyn bo hir,
Yn dorf anneirif fawr:
Ni bydd yno neb yn wylo,
Darfu'r griddfan a'r och'neidio,
Cysson ganu maent heb flino,
Halaluia, Halaluia,
Halaluia byth i'r Oen.

Llawenydd byth fydd ar eu pen,
Ac yn eu genau gân;
Oll wedi cario'r dydd ar lu
O elynion fawr a mân;
Ni bydd yno, &c., &c.

**1616.** Dysgwyl am y stâd.—M. 3.

PLANT ydym etto dan ein hoed,
Yn dysgwyl am y stâd;
Mae'r etifeddiaeth i ni'n dod,
Wrth destament ein Tad.

Gwna ni yn ffyddlon yma o hyd,
A'n golwg at dy glod;
Ac na foed i ni bleser mwy,
Ond cyrchu at y nod.

Dod yn ein genau fawl ar g'oedd,
Ac yn ein hysbryd dân;
Ac yn mheryglon anial dir,
Erfyniau pur a chân.

**1617.** Ceisio gorphwysfa.—M. 48.

P'LE ca'r blin orphwysfa wiw,
Heb rym tymhestloedd mwy;
'Does 'run i'w chael i'm henaid briw
Ond yn dy farwol glwy':
Tro fy ngolwg at y fan
Y derfydd ofnau trist a braw;
Yna llon fy enaid fydd
Yn nydd y farn a ddaw.

**1618.** Ol y waywffon.—M. 17.

P'LE, p'le
Y gwnaf fy noddfa dan y nef,
Ond yn ei glwyfau dyfnion ef;
Y bicell gref aeth dan ei fron,
Agorodd ffynnon i'm glanhau,
'Rwy'n llawenhau fod lle yn hon.

Yr Oen
Aeth dan fy mhenyd, dan fy mhoen,
Ni thawaf byth am dano son;
Ei gariad tirion fydd fy nghân,
Am achub un mor wael ei lun,
A'm tynu ei hun o'r gyneu dân.

**1619.** Agoriad addoldy.—M. 5.

P'LE'r awn i geisio ac i gael
Preswylfa ddiwael i'r Duw mâd,
Lle teilwng i'r tragwyddol Ion
Fyw gyda meibion cig a gwaed!

Duw Jacob dewis wnaeth cyn hyn
Ar Sion fryn orphwysfa wiw;
Yn Sion etto trigo myn,
Presennol yn ei eglwys yw.

"Yn hon sefydlaf orsedd gras,"
Medd ef, "a'm teyrnas yma gair;
Fy nghariad yma eglurhaf,
A'm bendith roddaf gyda'm gair.

Cyfarfod â'r newynog wnaf,
I'w enaid rhoddaf fara byw;
A'r sawl ddysgwyliant wrth fy mhorth
Gânt yma felus ymborth gwiw."

**1620.** Pleserau twyllodrus.—M. 5.

PLESERAU'r byd ni charaf mwy,
Sy'n temtio'm meddwl, ffwrdd â hwy;
Fel llyfn fôr twyllodrus ynt,
A gweigion fel chwibanog wynt.

'Rwy'n moli'th ryfedd ras, fy Ior,
A'm tynodd o'r fath enbyd fôr,
A pheri i mi gadw'n mhell,
Ac ymgais am ddedwyddwch gwell.

'Nawr tua'r gwledydd dysglaer fry,
Er gwaeled wyf, fy ngolwg sy;
O am adenydd c'lomen fwyn,
Oddiyma i'r drydedd nef i'm dwyn.

Yno o fynwes Duw y rhed
Byth foroedd o bleserau ar led;
Fy nhrigfa yno a sicrhawn,
A boddi'm holl ofidiau wnawn.

**1621.** Galwad yr Iuddewon.—M. 10.

PLYGED yr Iuddewon bellach
I fwyn lais efengyl hedd,
Boed i sain yr udgorn arian
Agor pyrth eu tywyll fedd;
Aed eu dyddiau diffrwyth heibio,
Tored gwawr eu Jubili,

Pan y deuant oll i gredu
Yn yr Hwn fu ar Galfari.

Doed, o'r pedwar gwynt, yr anadl
Ar y lladdedigion hyn;
Fel y gwelont o'r holl wledydd
Aberth mawr Calfaria fryn;
Doed y llwythau gwasgaredig
O bellenig gyrau'r byd,
At y Silo'n llon dan gredu,
A dyrchafu'r aberth drud.

1622. Cyfaill yn angeu.—M. 5.

Pob câr a chyfaill yn y byd,
Yn fuan iawn a'm gâd i gyd;
Hwy dro'nt eu cefnau, ânt ar goll,
Gadawant fi yn unig oll.

Pob un a dry yn angeu draw,
Nid oes dim un yn mhellach ddaw,
Wrth gladdu'm llwch, yr eithaf fydd
I'r dagrau dreiglo dros y rudd.

Yn gyfaill im' bydd di, O Dduw;
Tydi yw gobaith f' enaid byw;
Yn angeu du i ddal fy mhen,
A gwylio'm llwch tra dan y llen.

1623. Gweledigaeth yr Oen.—M. 20.

Pob gwagedd daearol,
Aed ymaith yn drist,
Heb demtio fy llygad,
Na blino fy nghlust;
Yn nghanol gorseddfainc
Dragwyddol yr Ion,
'Rwy'n gwel'd gweledigaeth
O degwch yr Oen.

Gogoniant fel harddwisg
Am dano sy'n bod,
A'i waedlyd farwolaeth,
Mae'n ddwyn megys nôd;
A lluoedd y nefoedd
O'i amgylch bob gradd,
Sy'n bloeddio, mai teilwng
Yw'r Oen ga's ei ladd.

1624. Cân brydnawnol.—M. 4.

Pob mawl i'th enw'n deilwng sydd
Am nerth y dydd aeth heibio;
Dod râs i'm arwain bywyd pur
Mewn natur egwan etto.

O dan dy nodded di dy hun
Y rhoddaf hûn i'm llygad;
Gâd i mi'r bore godi'n bur
I gofio'th gur a'th gariad.

Golch fi'n y ffynnon fawr ddidrai
Oddiwrth holl fai fy mywyd;
Dod ras i'th deg was'naethu di
A chalon ddifrycheulyd.

1625. Rhagoroldeb Crist.—M. 1.

Pob rhagoroldeb sydd
Yn ein Gwaredydd mawr;
Telynau fyrdd yn cânu fydd
I'w enw uwch y llawr.

Yr oedd ein natur ni
A'r Duwdod ynddi'n llawn,
Ar groes, dan loes, a'r gwaed yn lli',
Wrth roddi perffaith Iawn.

O hyn dyweddi hardd
Ddaw'n drefnus ar ei thraed;
Ei cheisio 'roedd drwy chwys yr ardd,
A'r gwerthfawr ddafnau gwaed.

1626. Ateg gref y Cristion.—M. 5.

P'odd cwympaf drwy'r fath ateg gref,
Ag ydyw braich fy Nuw o'r nef?
Deil hon golofnau'r ddaear ddu,
A chonglau'r maith wybrenau fry.

P'odd galla'i farw, a'r Iesu'n fyw?
O'r bedd esgynodd ef at Dduw;
Pardwn a gras wy'n gael o'r nen,
Oddiwrth fy nyrchafedig Ben.

Yr oll ag wyf, ac feddaf fi,
Gaiff fod yn eiddo byth i ti,
Beth bynag ddylwn roi, er llwydd,
Fy nwylaw gânt gyfranu'n rhwydd.

1627. Cael y fendith.—M. 46.

P'o tryma'r groes i'n hoes o hyd,
Melusaf fydd y nef;
P'o boetha'r rhyfel, ucha'r gân
A seinir iddo ef;
I'r duwiol, da yw'r troion chwith
Wrth arfaeth nefoedd wen;
Caiff Jacob rodio'n gloff o'i glun,
A'r fendith ar ei ben.

Rhag gwneyd ein cartref yn y byd,
Tra pery dyddiau'n hoes,
Y chwerwaf gwpan, melys yw,
Ac ysgafn yw y groes;
Ar fore'r farn daw'r yrfa oll
Yn amlwg iawn heb len;
Caiff Jacob rodio'n ddisgloff byth,
A'r fendith ar ei ben.

1628. Preswyl y Goruchaf.—M. 9.

Preswylfan y Goruchaf
Yw trugareddfa'r arch;
Y Dwyfol haeddiant perffaith
A rodd i'r gyfraith barch;
Oddiyno rhed bendithion
Yr addewidion mawr,
Yn siriol ffrwd cysuron,
I Sion ar y llawr.

Mae hylwydd afon helaeth,
Yr iechydwriaeth wiw;
A'i ffrydiau golau gwiwlwys
Yn dod i eglwys Dduw;
Mae'n rhoi llawenydd calon
I'r dinasyddion sydd

I'r Iesu'n wir ddilynwyr,
Trwy feddu cywir ffydd.

1629. Priodas.—M. 5.

Priodas sydd osodiad hardd
A drefnodd Duw yn Eden ardd;
Llawenydd f'o a llwydd o hyd
I'r ddau sy'n awr hyd angeu 'nghyd.

Cymdeithas hoff fo'n esmwythâu,
Eu hanwyl briodasol iau;
A boed i'w rhan dragwyddol hedd
Tu yma a thu draw i'r bedd.

1630. Priod yr eglwys.—M. 10.

Priod hoff a Phen yr eglwys
Ydyw Iesu, Brenin nef;
Pob credadyn sy'n ymorphwys
Ar ei Iawn anfeidrol ef;
Er ystormydd a llif-ddyfroedd,
Tra b'o Iesu byw yn Ben,
Dwg ei waredigol luoedd
Adre'n iach i'r nefoedd wen.

Arch-offeiriad uwch nâ'r nefoedd
Yw ein Harch-offeiriad ni,
Er mor ddirmygedig ydoedd
Pan yn marw ar Galfari;
O ddyfnderoedd ei drallodion
Esgyn wnaeth i nef y nef;
Cyfaill a Gwaredwr Sion,
A'i chyflawnder ydyw ef.

1631. Braich o gnawd.—M. 8.

Profais ganwaith, er fy ngofid,
Mai oferedd ydyw dyn;
Braich o gnawd os pwysir arni,
Drŷ'n siomedig i bob un;
Iesu mwy, byth tra b'wyf
F'o fy Meddyg dan bob clwyf.

Mae e'n gadarn graig, a chysgod,
Bellach darfod wnaf â'r dyn,
Iesu'n unig f'o fy Mhriod,
Nid oes neb ond ef ei hun
Ddeil y gwan yn mhob man,
Nes y delo'n iach i'r lân.

1632. Gorphwysfa'r saint.—M. 10.

Pryd caf wel'd y tir dymunol,
Hyfryd baradwysaidd wlad?
Lle mae brodyr i mi filiwn,
Lle mae Mhriod a fy Nhad;
Lle caf orphwys o fy llafur,
A gwellhâu fy nghlwyfau'n rhâd,
A hoff wledda byth yn berffaith,
Wrth y bwrdd, yn llŷs fy Nhad.

Yno llenwir fy nymuniad,
Er ei faint ac er ei gri,
A'm holl wagter wneir i fynu,
O gyflawnder Un yn Dri;

Mi gaf yfed o ffynnonau,
Pur bleserau llawn didrai,
A mwynhau nefolaidd wynfyd,
Annherfynol i barhau.

1633. Haeledd gras.—M. 4.

Pwy all amgyffred, Arglwydd Ion,
Dy fawredd tirion tradoeth?
Haelionus yw dy nefol ddawn
Pob lle sy'n llawn o'th gyfoeth.

Mae genyf i bechadur gwael
Holl arlwy hael drugaredd,
Trwy d'anwyl Fab sy'n eiriol draw,
Ar ddeheu law dy fawredd.

Mae'n deilwng i ti fawl a chlod,
O Arglwydd dod i'th weision
Dy nefol ras, fel gallom ni
Dy foli di o'r galon.

1634. Olwynion Rhagluniaeth.—M. 10.

Pwy all ddarllen dyfnion lyfrau
Doeth fwriadau Iôr y nef?
Mae olwynion glân Rhagluniaeth,
Oll dan ei reolaeth Ef;
Ymlonyddwn dan law'r Arglwydd,
Plygwn at ei draed yn nes,
A chawn brawf y dwg holl droion
Ei olwynion i ni les.

1635. Mawredd Duw.—M. 10.

Pwy all olrhain i fanylrwydd
Ffyrdd yr Arglwydd, pwy a'u gŵyr?
Mawredd synwyr sant ac angel,
Er mor uchel, fetha'n llwyr;
Anchwiliadwy ei ddoethineb,
Môr diwaelod mawredd Duw,
Ein Creawdydd a'n Cynnalydd,
Ynddo beunydd 'rym yn byw.

Mawr yw ef a'i ryfeddodau,
Mawr yn yr elfenau fry,
Mawr ei nerth a'i uchel wyrthiau,
Mawr daranau'i lais a dry,
Mawr ei wibiog fellt hedegog,
Mawr odidog Dad y gwlaw;
Ymostyngwn i'w lywodraeth,
Iechydwriaeth gawn o'i law.

1636. Agoriad addoldy.—M. 9.

Pwy bynag a ddyrchafo
O fryd difrifol fron,
At Frenin nefoedd uchod,
Eu llef o'r babell hon:
At bob rhyw ffyddiog weddi
Gogwydded Ner ei glust;
A miloedd fo'n rhoi moliant
Am haeddiant angeu Crist.

Bendithied Duw â chynnydd
Ein Sion newydd ni;

A boed heb wrth'nebiadau
  Hedd rhwng ei muriau hi;
Cymundeb fo rhwng brodyr,
  Heb rwystr cas gerbron;
A phresennoldeb Iesu
  Fo'n llenwi'r Babell hon.

1637. Llawenydd yn y nef.—M. 5.

Pwy draetha'r fath lawenydd sy
Drwy holl gynteddau'r nefoedd fry,
Pan ddel afradlon tua thref,
Pan aner un etifedd nef.

Boddloni'n llawen y mae'r Tad,
Wel'd ffrwyth ei fythol gariad rhad;
Y Mab yn llon a edrych lawr
Ar bwrcas ei ddyoddefaint mawr.

A hoffi gwel'd mae Ysbryd Duw
Yr enaid marw wnaeth e'n fyw;
A seintiau ac angylion glân
Am gynnydd teyrnas Dduw a gân.

1638. Priodas yr Oen, Dat. 19.—M. 7.

Pwy Dywysog—beth yw'r cerbyd?
  Welir draw uwch ser y nen,
A hardd osgordd ar feirch gwynion,
  Llawer coron sy ar ei ben!
    Brenin ydyw,
  Dacw'i enw ar ei wisg.

Treiddia'i olwg drwy'r gre'digaeth,
  Fel fflam dân ei lygaid sy:
Pwy yw Hwn—ond Priod Sion,
  Gwena'n dirion arni hi:
    Hawdd ei 'nabod,
Wrth ei wisg sydd goch o waed.

1639. YR AIL RAN.

Pwy yw'r hardd Briodferch welir
  Draw yn dod drwy byrth y bedd?
Gwridia'r wawr, er maint ei harddwch,
  O flaen tegwch hoff ei gwedd!
    Sion ydyw,
Yn ei gwisg o liain main.

'Sgubed engyl bob rhyw frychau
  Oddiar lwybrau ser y ne',
Gwisged natur ei holl addurn,
  Pob blodeuyn fo'n ei le:
    Bloeddied ganu,
Dyma ddydd dyweddi'r Oen.

1640. Goruchafiaeth ffydd.—M. 5.

Pwy ddamnia'r etholedig rai—
Can's Duw sydd yn eu cyfiawnhau?
Pwy farna'r saint i uffern mwy—
Crist a fu farw drostynt hwy?

A byw yw ef, mae'n eistedd fry,
O hyd i eiriol drosom ni;
Ein bywyd yw, ein plaid, a'n grym,
A'n hateg gref, ni chwympwn ddim.

Nid ofnwn mwy nâ thrallod maith,
Na chledd, na chlwyf, na noethni chwaith;
Yr hwn a'n carodd a'n cryfha,
Nes bod yn lân oddiwrth bob pla.

1641. Nerth yn angeu.—M. 17.

Pwy ddaw
Yn angeu i 'mafiyd yn fy llaw,
Pan ddelo byddin Brenin braw,
I'm cyrchu draw i'm cartref hir?
  Nid oes a saif yn graig a thŵr,
Yn ngrym y dw'r ond Iesu'n wir.
Fy sail,
A'm hunig noddfa dan yr haul,
A'm cysur mwy fydd Adda'r ail;
Rho'f f'adail arno, dyma'r graig
  A ddeil fy enaid i barhau,
Nes dianc fry o ddrygau'r ddraig.

1642. Eiriolaeth Crist.—M. 4.

Pwy ddyn na phecha, pwy, O Dduw!
  Ein gobaith yw pan bechom,
Fod i'n Eiriolwr gyda'r Tad
  Yn dadlu'n wastad drosom.

Ein Duw a drugarha am hyn,
  A dywed cyn ein marw;
"Gollyngwch ef"—mi gefais iawn
  Gan Iesu'r cyfiawn hwnw.

1643. Gobeithio yn Nghrist.—M. 9.

Pwy glywodd am bechadur
  Mewn unrhyw oes na gwlad,
Erioed a ddaeth at Iesu,
  Fu farw wrth ei draed?
Ni thyr y gorsen ysig,
  Ni wrthyd neb a ddaw,
Ni ddiffydd lin yn mygu,
  Af ato yn ddifraw.

Mi glywais son am dano,
  Mi glywais lawer gwaith
Fod ynddo drugareddau
  Sydd fwy nâ'r moroedd maith;
Ymbiliaf am drugaredd,
  A dysgwyl byth y'm cair;
Os trengu wnaf, mi drengaf
  A'm gobaith yn ei air.

1644. Drws trugaredd.—M. 3.

Pwy glywodd son am neb erioed,
  Mewn unrhyw oes na gwlad,
A ddaeth at Grist, ac wedi dod,
  Fu farw wrth ei draed.

At ddrws trugaredd minnau af,
  Ac aros yno'm cair;
Os marw fyddaf, marw wnaf
  A'm gobaith yn ei air.

1645. Cuddio yn y frwydr.—M. 52.

Pwy'm cynnal ar y rhiwiau serth,
  Pwy'm cuddia yn y frwydr boeth?

Pwy ond Preswylydd mawr y berth
  A'm dysga i ryfela'n ddoeth ?
Duw, dysg fy enaid gwan o hyd
I bwyso arnat yn y byd.

O dan dy gysgod dwyfol byth,
  Mae rhyw amddiffyn mawr yn bod;
Tydi fo im' yn nawdd a nyth,
  Tra b'wyf mewn rhyfel is y rhod;
O dysg fy enaid gwan o hyd
I bwyso arnat yn y byd.

1646. Llawenydd y cyfiawnion.—M. 4.

Pwy, medd llawerodd y pryd hyn,
  A ddengys in' ddaioni?
O Arglwydd, dercha'th wyneb-pryd,
  Daw digon iechyd ini.

Rho'ist dan ein bron lawenydd mwy,
  A hyny drwy dy fendith,
Nag byth a brofant hwy wrth drin
  Amlder eu gwin a'u gwenith.

Ti, Arglwydd, a anfoni wlith
  Dy fendith ar y cyfion ;
A'th gywir serch, fel tarian gref,
  Roi drosto ef yn goron.

1647. Dyfais dwyfol glwyf.—M. 17.

Pwy, pwy
All chwilio dyfais dwyfol glwy',
Sy'n hollol anchwiliadwy trwy
Bob rhan o honi oll i gyd?
  Dyfnderau mawr ei gariad ef
Adseinia'r nef pan ddarfo'r byd.

Trwy ffydd
Yn ngwaed yr Oen y'n gwnaed yn rhydd
O'n carchar a'n caethiwed prudd ;
Ond ein Meichniydd—dyoddefodd E
  I ateb holl ofynion Duw,
O rhyfedd yw !—aeth yn ein lle.

1648. Trysorau trefn gras.—M. 17.

Pwy, pwy
Na roddai'r mawl i'r Arglwydd mwy,
Trwy'r byd yn hardd heb oedi'n hwy,
Mae'n sylwi ar glwy'r iselion gwael:
  Yn rhwydd o'r nef mae'n rhoddi nawdd
O'i stor yn hawdd, tosturia'n hael.

Rhad, rhad
Yw hen gyfammod hedd y Tad,
Llawn addewidion graslon mâd;
Mae cyfiawnhad i'r euog rai,
  A phob graslonrwydd fel y môr,
Cyflawnder stor, heb hanes trai.

1649. Unig Waredwr.—M. 43.

Pwy wrendy gŵyn fy enaid gwan?
Pwy gyd-ymdeimla yn mhob man?
Pwy ŵyr fy eisieu nos a dydd?
Pwy wna fy enaid caeth yn rhydd?

Neb ond yr hwn fu ar y groes
Yn dyoddef drosof farwol loes;
Efe sy'n awr tu draw i'r llen,
Yn eiriol yn y nefoedd wen.

Fy enaid, cân o herwydd hyn,
A chofia am Galfaria fryn;
A than ei gysgod gwna dy nyth,
Mae yno ddiogelwch byth:
Nid oes dim damnedigaeth mwy
I'r neb a guddiwyd yn ei glwy';
Rhyfedda byth rinweddau loes
Yr Hwn fu farw ar y groes.

1650. Cyd-ymdeimlad Iesu.—M. 5.

Pwy wrendy gŵyn fy enaid gwan,
Pwy'm dwg o'm holl ofidiau i'r lan?
Pwy ddwg fy maich fel Brenin ne'?
Pwy gyd-ymdeimla fel efe?

Wel, dyma un, O d'wedwch p'le
Y gwelir arall fel efe:
A bery'n ffyddlawn im' o hyd,
Yn mhob rhyw drallod yn y byd.

1651. Pwyso ar Iesu.—M. 5.

Pwy ydyw hon sy'n deg ei phryd
Yn teithio i'r lan o'r anial fyd;
Gan faint y blinder mae'n ei ddwyn,
Ei phwys sydd ar ei Harglwydd mwyn.

O gâd, medd hi, i'm henw gwael
Fod ar dy law a'th galon hael;
A selia ar dy fraich fel nôd,
Mai eiddo byth i ti gaf fod.

A dod o'th ras dy enw'n llon,
Fel dysglaer sel ar fy nwy fron,
Nes dygech fi i'r lle ni ddaw
Amheuon byth, na phoen, na braw.

1652. Anwylyd yr eglwys.—M. 5.

Pwy ydyw hon sy'n llesg a gwan
O'r anial fyd yn dod i'r lan;
Gan faint ei bai blinedig yw,
A'i phwys ar ei Hanwylyd gwiw.

Er cael ei herlid yma o hyd,
A'i llwyr ddirmygu gan y byd;
Mae'i henw da, a'i pharch, a'i bri,
Yn nghadw yn y nefoedd fry.

Yn mhen rhyw oesoedd rîf y gwlith,
Ni flina'r saint ei garu byth;
A blas o newydd iddynt hwy,
Fydd canu am ei farwol glwy'.

1653. Brwydr Edom.—M. 19.

Pwy ydyw Hwn
  Sy'n dod o Edom dir
Yn hardd ei wisg,
  Yn brydferth oll yn wir?
Medd Ion, "Myfi'n
  Orchfygwr sy'n nesâu,

Mewn iawnder pur
 Wyf gadarn i iachau.

"Awr pan nad oedd
 Gynnorthwy o un man,
Fy mraich fy hun
 A'm daliodd i i'r lan;
Gorchfygu wnes,
 A mynaf wel'd y dydd
I'm gwaredigion
 Ddod yn hollol rydd."

1654. YR AIL RAN.

O FOREU gwych,
 Pan welir teulu'r Oen
Yn iach o'u pla,
 O'u gofid, ac o'u poen;
Yn cadw Sabbath
 Yn eu gwisgoedd glân,
Am waed yr Oen
 Bydd peraidd iawn eu cân.

1655. Pwy yw Hwn?—M. 43.

PWY yw? mae'n hoff ei wedd a hardd,
 O'i flaen y chwardd anwylion nef;
Tryliwiog wrîd tlŵs flodau gardd
 A siriol dardd drwy'i ruddiau ef;
Pelydrau serch yn ddysglaer lu
 A chwery'n gu o'i lygaid gwiw,
Mae'n lân heb fai, ei ail ni fu,
 O hawddgar un, mae'n deg, *Pwy yw!*

Pwy yw? mae'r bryniau'n crynu nghyd,
 A'r dreigiau'n crymu dan ei draed,
Gordanbaid nerth sydd yn ei bryd,
 A'i loywaf wisg yn lif o waed;
Gwroldeb ar ei drem ymdaen,
 Grym buddugoliaeth sy'n ei ryw,
Ei holl elynion ysa o'i flaen,
 Heb un o'i du, mae'n gryf, *Pwy yw?*

Pwy ydyw hwn? mae'i enw'n Iôr,
 A'i ddirfawr drysor yn ddidrai,
O'i fewn y mae haelioni'n fôr,
 Bywhâ y beius, lladd y bai;
I'r tlawd newynog mae'n rhoi mael,
 Mae'n gwisgo'n wyn y du ei liw,
Mae'n hardd, mae'n gryf, mae'n gu a hael,
 Clyw Sion wael, DY IESU YW.

1656. Pwy yw hon?—M. 43.

PWY yw? mae hon a'i bron yn brudd,
 A llwyd ei grudd o dan y groes;
Y cnawd, a'r byd, i'w hymlid sydd,
 Braidd colli'r dydd mewn ingol loes;
Grym uffern oll sy'n llethu hon,
 Trwy wneyd ei gwirion fron yn friw?
Yn wael a llesg, heb lewyrch llon,
 Tàn aml dòn mae hon, *Pwy yw!*

Pwy yw? mae'n brwydro'n uwch nâ'r llawr,
 Ymloywa 'nawr fel lleuad ferth;
Mil purach, gwychach yw ei gwawr,
 Nâ'r heulwen ddirfawr yn ei nerth;
Mae'n sengi'n rymus ar y ddraig,
 Rhoes naid o'r aig ofnadwy'n fyw,
Mae pwys ei phen ar ddigryn graig,
 O ryfedd wraig, mae'n hardd, *Pwy yw?*

Pwy yw? y goncwest droes o'i thu,
 Banerau i fynu gwelaf fyrdd,
Mae'n dod yn deg fel dirif lu,
 Gan dremio'n hŷf ar Wr o urdd;
Ei Blaenor, cadarn Iôr yw ef,
 Mae'n llon ei llef, a'i gwedd yn wiw,
Bu'n wael, mae'n wych; bu'n wan mae'n [gref,
 Adseinied nef—On'd SION YW?

1657. Yr afradlon.—M. 10.

PWY yw'r blin bererin acw,
 Welaf yn ymdynu'n brudd,
Trwy'r anialwch tua'i artref,
 Yn bistyllog wlyb ei rudd?
Beth mae'n lefain wrtho'i hunan?
 "Dad, nid teilwng mwy wyf fi
Fod yn Fab, ond gwas a fyddaf,
 Os caf fod o fewn dy dŷ."

Beth yw'r adlais hyn a glywaf
 Ar beiriannau aur y nef?
"Teithia'n mlaen, bererin egwan,
 Groeso, groeso, tua thref;
Mae trigolion gwlad goleuni
 Wrth dy wel'd yn llawenhau,
Mae y wisg yn barod i ti,
 Daw dy Dad i'th gwrdd yn glau."

1658. GORPHWYSIAD.

Dos yn mlaen, bererin egwan,
 Trwy'r diffeithwch dos yn mlaen,
Er mor athrist yw dy olwg,
 Try dy alar etto'n gân;
Llygaid nef sydd ar dy gamrau,
 Teithia'n mlaen, bererin gwan,
Ronyn etto, ffrydiwch ddagrau,
 Chwi a sychir yn y man.

Dacw'i Dad yn dod â gwisgoedd,
 Hardded â goleuni'r wawr,
Yn cusanu'r crwydryn eiddil
 Ar ei wddf yn syrthio'i lawr;
Uwch ac uwch yn awr dyrchafa
 Tànau'r nef eu sain ynghyd;
O, a yw dy werth di gymmaint
 F'enaid bach, wyt ti mor ddrud!

1659. Gogoniant Pen yr eglwys.—M. 10.

PYNCIED pêr gantorion Sion,
 Deiliaid ffynnon Calfari;
Gweled gânt ogoniant gwiw-lwys,
 Mawredd Pen yr eglwys fry;
Draw i'r llen ei hardd fynediad,
 Sydd yn cael derchafiad gwiw;
Gwna breninoedd iddo blygu,
 A'i addoli ef yn Dduw.

Fel offeiriad, hardd dderchafodd,
Mae'r holl nefoedd wrth ei bodd;
Ei drysorau sy'n ddiderfyn,
Gwna i'r cyndyn dderbyn rhodd!
Barnwr gweddwon, Tad amddifaid,
Iôr bendigaid ydyw ef;
Cyd-foliannwn Grist ein Harglwydd,
Sydd yn llywydd nef y nef.

1660. Ymffrost yn Nghrist.—M. 7.

Rhad i gyd yw'r iechydwriaeth,
Tawed dyn a'i ymffrost gau;
Nid drwy haeddiant dyn daeth gobaith
Ond o Dduw sy'n trugarhau;
"Rhad drugaredd,"
Fydd ar ddrws y nefoedd byth.

Minnau orfoleddaf bellach,
Haeddiant ynwyf er nad oes,
Cafwyd haeddiant perffaith droswyf,
Haeddiant Aberth mawr y groes;
Hyn yn unig,
Fydd fy ymffrost tra f'wyf byw.

1661. Diddymu'r enwaediad.—M. 4.

Rhad oedd yr hen addewid wiw
Roes Duw o'i gariad helaeth;
"I Abram byddaf byth yn Dduw,
Ac hefyd i'w hiliogaeth."

A gwaedlyd sêl gwnaeth gadarnhau
Y geiriau dd'wedodd iddo;
Hir deimlodd meibion Abram bwys
Yr iau flinderus hono.

Pan ddaeth Mab Duw i ddwyn y groes
Ei gnawd a roes i waedu;
A rhyddid o'r caethiwed hyn
Yn awr sy'n cael ei feddu.

1662. Rhad ras.—M. 17.

Rhad ras
Yw'r newydd gân bereiddia'i blâs,
Fu 'rioed ar wyneb daear lâs;
Hi ddeil ei blâs pan losgo'r byd,
A berwi'r môr, a'i dònau'n dân,
Y nefol gân fydd gras i gyd.

Mae'r awr,
I'm gael yn llwyr fy meiau'r llawr,
Yn ngolwg fy Eiriolwr mawr;
Bu farw ef, caf finnau fyw,
Er amled yw 'ngelynion câs,—
Mae newydd flâs ar air fy Nuw.

1663. Cyflawnder Crist.—M. 4.

Rhaid i mi gael pob gras a dawn,
O'th drysor llawn yn gyfan;
Ac oni chaf, fy enaid prudd,
A gyll y dydd yn fuan.

Dy wisg dy hun, cyfiawnder hael,
Raid i mi gael yn mlaenaf;
Nid oes ond ofnau dan fy mron,
Nes caffwyf hon am danaf.

1664. Amser dyn.—M. 4.

Rhai y'm i farw oll i gyd
Pan dreulio hyd ein blwyddau,
Ein dyddiau a'n hwythnosau glân,
A dront yn fân fynudau.

Pan lynco'r bythol fyd yn ol
Bob peth amserol iddo;
O am gael gorphwys yn ein rhan
Pan el y cyfan heibio.

1665. Adgyfodiad dedwydd.—M. 5.

Rhag angeu ni rwgnachaf mwy,
Ond rho'f yn rhwydd—bwriadu 'rwy'—
F'aelodau llesg, gwywedig wedd,
I gyd-falurio yn y bedd.

Difaed y pryf fy nghnawd o'i drwch,
A maled f'esgyrn yn y llwch;
Ail lunia Duw fy mhabell frau,
Pan adgyfodo'r cyfiawn rai.

Tyr'd, anwyl Arglwydd, brysia o hyd,
P'am 'r oeda dy olwynion c'yd?
Fy enaid sy'n diffygio mron
Am weled gwedd dy wyneb llon.

1666. Magu plant yn Sion.—M. 9.

Rhagwelodd y prophwydi
'R ai heibio'r dywell nos,
Na safai y canolfur
Ddim hwy nag angeu'r groes:
Cenadon hedd sy'n myned
At y cenedloedd pell,
A chlyw yr holl ynysoedd
Am y newyddion gwell.

Yr hon fu'n anmhlantadwy
Wrth gadw tŷ a gân;
Bydd plant i'w magu ganddi
Rifedi'r tywod mân;
Trwy genadwri'r cymmod
Fe gesglir torf ddiri',
I'r wledd ar fynydd Sion,
A'u cân am Galfari.

1667. Dyfroedd santaidd.—M. 36.

Rhed afon iechydwriaeth,
Cyn bo hir, cyn bo hir,
Dros fyd yr anwybodaeth,—Cyn, &c.
Mae'n awr yn is mewn manau
Nâ rhediad hyd y gliniau,
Daw'n lanwaith at y lwynau,—Cyn, &c.
Rhed hon dros uchelfanau,—Cyn, &c.

Clir rediad grym yr afon,—Cyn, &c.
A gliria ddrwg fy nghalon,—Cyn, &c.
Wrth rodio drwy ei rhydau,
Er llesgrwydd a chystuddiau,
A mawredd grym fy meiau,—Cyn, &c.
Caf rym i nofio adre',—Cyn, &c.

1668. Rhediad ffrydiau gras.—M. 6.

Rhed ffrydiau gras yn lli',
O Galfari daw rhai'n,

A llwythau'r anial dir
Gân am y goron ddrain;
A'r Hwn fu yn y bedd cyn hyn
Fydd mwy yn Frenin bro a bryn.

Ceir gweled torf ddirif
Yn fyrdd mwy glân nâ'r gwlith,
Ar Sion fryn bob un
Yn gorfoleddu byth;
Heb unrhyw boen i'w blino mwy,
A'u cân o hyd am farwol glwy'.

1669. Cyfaill a lyn.—M. 7.

Rhedodd ganwaith fy serchiadau
Ar dwyllodrus bethau'r llawr;
Collais felly gwmni'm Priod
Lawer diwrnod, lawer awr:
Yntau'n glynu!
Drwy fy ngwrthgiliadau'i gyd.

Darfuasai am fy mywyd
Yn y rhyfel enbyd llym,
Oni buasai i'm hanwyl Briod
Fod gerllaw yn gysgod im';
O mor dirion!
Drwy fy holl ofidion fu.

1670. Rhedeg yr yrfa.—M. 5.

Rhedwn ar frys, mawr ydyw'r fraint,
Y nef yw diwedd gyrfa'r saint;
Er maint y llid, par'towd ein lle,
Yn mynwes Naf, o fewn y ne.'

Yno mae'm Iesu a fy Nuw,
A brodyr fyrddiwn i mi'n byw;
Mae yno rai'n clodfori o hyd,
Fu'n teithio gyda mi'n y byd.

Caf yno weled oll yn nghyd
Y saint o bob oes fu'n y byd;
A gorphen fy holl lafur waith,
A chanu byth ar ben y daith.

1671. Gwaed y dwyfol Oen.—M. 3.

Rhinweddol waed y dwyfol Oen
A bery byth mewn nerth;
A chlywir cydsain myrdd heb boen,
Yn canu am ei werth.

Bydd melus ganu am ei rin,
Gan fyrdd yn ngwlad yr hedd;
Pan byddo'r bloesg dafodau hyn
Yn ddystaw yn y bedd.

Mwyn fydd y gân yn Salem fry,
O fewn y nefol gaer;
Pan tery'r ddedwydd dorf ddirif
Holl dannau'r delyn aur.

1672. Canmol gwyrthiau gras.—M. 19.

Rho allu im',
Fy Nuw a'm hanwyl Dad;
I ddweyd yn dda,
Am iechydwriaeth râd;
Na fydded gwaith
Byth genyf yma mwy,
Ond canmol rhin
Dy ddwyfol farwol glwy'.

Cael gwel'd dy wedd,
A phrofi'th nefol ddawn,
Wna ynof ryw
Gyfnewid rhyfedd iawn;
Dim ond cael gwel'd
Dy wyneb hyfryd sydd
Yn troi fy nos
Yn hyfryd oleu ddydd.

1673. Addewid yr ysbryd.—M. 7.

Rhoddodd Iesu yr addewid,
Cyn ei fyn'd i ben ei daith,
Yr anfonai ef ei Ysbryd
I roi bywyd yn ei waith;
Dawn yr Ysbryd,
Digon i'r dysgyblion fu.

Mae digonedd cyflawn etto
Yn yr hen addewid wiw;
Glynwn ninnau wrth weddïo
Am ymweliad Ysbryd Duw;
O tywallter
Ef yn helaeth arnom ni.

1674. Deddf yn gwenu.—M. 9.

Rhoes Crist anrhydedd perffaith
I'r gyfraith yn ddigoll;
Ei aberth a'i mawrhaodd,
Fe'i cadwodd hefyd oll;
Yn awr mae ffordd ardderchog
I'r euog fyn'd yn rhydd;
Ar bawb a gred yn Iesu
Y ddeddf yn gwenu sydd.

1675. Hunan-ymroddiad.—M. 17.

Rhoes, rhoes
Fy nghred i'r Gwr fu ar y groes,
Mi rodiaf er ei glod drwy f'oes;
Drwy farwol loes fe dalai'r iawn,
A dattod wnaeth fy rhwymau'n rhwydd
Rhoed im', er llwydd, waredіad llawn.
I ti
Fy addunedau dalaf fi,
Yn ngwydd y rhai a ddel yn llu,
I'th gyd-addoli di drwy ddawn,
Gan wledda ar ddanteithion ne',
Mewn hoffus le—a phiol lawn.

1676. Calon newydd.—M. 9.

Rho i mi galon newydd
Ac ysbryd at dy waith,
A'th ddwyfol gyfarwyddyd
I'm tywys ar fy nhaith;
Fy ngolwg fo ar Iesu,
Y teilwng flaenor mawr,
A'i ganlyn ef a wnelwyf
Tra byddwyf ar y llawr.

1677. Llef am ffydd gref.—M. 6.

RHO im', O Dduw, ffydd gref,
I bwyso ar dy fraich;
Dysg i mi godi llef
Am gymhorth dan fy maich;
Yn nydd y prawf a'r rhyfel dwys,
Ar nerth dy ras rho'f byth fy mhwys.

Am roddi im' ryddhad,
A'm dwyn yn iach i'r lan,
Bydd clod it', Iesu mâd,
Am sefyll ar fy rhan;
Mi'th folaf byth yr ochr draw,
Ar nefol wedd, heb boen na braw.

1678. Dyfroedd yn yr anial.—M. 31.

RHO im' y dyfroedd gloyw clir,
Mewn anial sych a dyrus dir,
Maddeuant llawn, maddeuant llawn,
O'th nefol ddawn, tra byddwyf byw.

O fewn yr anial dyrus maith,
Yn dysgwyl hyfryd ben y daith, [wir,
'Rwy'n gwel'd yn wir, 'rwy'n gwel'd yn
Yr oriau'n hir heb dy fwynhau.

1679. Dwyn y groes.—M. 14.

RHO nerth i ddwyn y groes,
Tra paro dyddiau f'oes,
Na âd im' byth dy adael mwy:
Mae im' elynion lu,
A'u saethau'n llymion sy,
O cuddia fi o fewn dy glwy'.

Mi dreuliaf oriau f'oes
Yn dawel dan y groes,
Ond im' gael edrych ar dy wedd;
Perffeithrwydd pleser yw,
Y wledd o gariad Duw,
Fy holl ddyddanwch a fy hedd.

1680. Clod am Aberth y bryn.—M. 16.

RHO'IR uchel fythol glod i'r Ion,
Am ei drugaredd rad bydd son,
Am gofio marwol ddyn;
A'i ymgeleddu yn ei waed,
Trugaredd heb ei bath a gaed,
Trugaredd Tri yn Un.

Daeth Crist o'r nef i lawr at ddyn,
I'w geisio pan yn wael ei lun,
Trwy farw ar y bryn;
Dim damnedigaeth mwy nid oes
I'r hwn a gred yn angeu'r groes,
Mi ganaf byth am hyn.

1781. Da yn y diwedd.—M. 4.

RHO'TH gred yn Nuw, fy enaid tlawd,
Na âd i gnawd dy faeddu;
Fel gallot, drwy amynedd lân,
Er dw'r a thân, orchfygu.

Dystawa yn yr Arglwydd mwy,
Rhed d' yrfa drwy amynedd;
Daw it' o groesau fwy nâ rhi',
Ddaioni yn y diwedd.

Pryd hyn y gwel yr enaid gwyw
Mai da yw ei gystuddio;
A chân i'w Dduw â melus dant,
Gan roi'r gogoniant iddo.

1682. Mawl i Dduw yn Sion.—M. 5.

RHO'WCH glod yn awr i'r Arglwydd nef,
Ei weision ef sydd yma'n un;
Mewn hyfryd gân rho'wch fawl ar g'oedd
Yn ei gynteddoedd yn gytun.

Ei goffadwriaeth fydd o hyd
Yn hŵy nâ'r byd, a'i enw'n ben;
Rhyfeddu'n wir fydd am ei waith,
Drwy'r ddaear faith, a'r nefoedd wen.

Y sawl sy'n ofni'r Arglwydd nef,
Bendithiwch ef tra ynoch chwyth:
Y gwr a'ch prynodd ar y pren
A saif yn Ben i Sion byth.

1683. Rhagluniaeth.—M. 5.

RHO'WN fawl i'r Ion, dyrchafwn ef
Sy'n taenu'r cwmwl dros y nef;
Darpara yno ffrwythlawn wlaw,
I loni'r ddaear sych fe ddaw.

A gwellt mae'n harddu'r bryniau'i gyd,
A gwisga'r meusydd llon ag ŷd;
Yr anifeiliaid bortha ef,
Pan ro'nt dan eisieu bwyd eu llef.

Ond câr ei saint sydd ger ei fron,
Ei blant yw ei hyfrydwch llon;
Eu gobaith gwel, a'u hofnau gŵyr,
Ei ddelw'i hun mae'n hoffi'n llwyr.

1684. Mawl i'r Drindod.—M. 6.

RHO'WN fythol glod i gyd
I'r Tad a'i gariad cu,
Am holl gysuron byd,
Ac am well gobaith fry;
O'i fynwes rhoes ei Fab ei hun
I farw dros anwiredd dyn.

Gogoniant a mawrhad
I'r Mab perthynu mae,
Fe'n prynodd drwy ei waed
Oddiwrth dragwyddol wae;
Yn nef y nef teyrnasa'n awr,
A gwel'd mae ef o'i lafur mawr.

I Dduw yr Ysbryd Glân
Rho'wn fythol gân bob rhyw;
Trwy rym ei ras mae'n gwneyd
Yr enaid marw'n fyw;
Amcanion Crist mae yn gwblhau,
A'r enaid trist mae'n lawenhau.

1685. Gras yr orsedd.—M. 2.

RHO'WN glod i'n Harglwydd glân,
Mewn hyfryd gân anfarwol;

Dadseinier drwy'r holl ddaear faith
  Ei ras a'i waith rhyfeddol.

Y Tad, mewn pryd, o'i fodd,
  Anfonodd ei Anwylyd,
I'n codi ni, druenus rai,
  O bydew gwae a gofid.

Gras lanwai'r fainc i gyd,
  Gostegai'r llid yn hollol,
Pan y daeth Crist â phardwn pur,
  I wrthryfelwyr marwol.

Dewch, bechaduriaid gwan,
  At Grist, nac anobeithiwch,
A phlygwch i'w deyrnwialen fo,
  Derbyniwch ganddo heddwch.

1686. Rhagluniaeth a gras.—M. 6.

Rho'wn glod i'r uchel Dduw
  Wnaeth nef a daear las;
Brenin breninoedd yw,
  Rhyfedded pawb ei ras:
Ei gariad rhad sy'r un heb dawl,
I'w enw mâd byth boed y mawl.

Fe'n canfu'n myn'd ar goll
  Trwy bechod oll i gyd;
O'i ras tosturio wnaeth
  Wrth gyflwr caeth y byd:
Trugaredd Duw a bery byth,
A'i air dilyth safadwy yw.

Anfonai'i Fab ei hun
  I'n gwared ni o'n gwae,
Rhag ofnau angeu blin
  A phechod achub mae;
Ei gariad rhad sy'r un heb dawl,
I'w enw mâd byth boed y mawl.

1687. Cnawd ac ysbryd.—M. 5.

Rhwng cnawd ac ysbryd rhyfel fydd
Tra b'om mewn 'stad o brofiad prudd;
Er beio pechod—ynof mae
Yn gwneyd yr hyn yr wy'n gasâu.

Galaru 'rwyf a chwyno'n brudd
Os pechod yn gorchfygu fydd;
A chânu 'rwyf a llawenhâu
Can's eilwaith gras gorchfygu mae.

Tywyllwch a goleuni sydd
Mewn ymdrech hyd y perffaith ddydd;
Ond caf roi fynu'm marwol chwyth,
Ac yna derfydd pechod byth.

1688. Marwolaeth Crist.—M. 28.

Rhyfedda hyd a lled,
    Fy enaid trist,
Uchder a dyfnder maith
    Marwolaeth Crist:
Pan gym'rodd agwedd gwas,
    A phechod cas ei ryw;
Bu farw yn ddigwyn
    I'n dwyn at Dduw.

Gorphenodd ei holl waith,
    Ac aeth i'r nef;
Lle mae ef yr awr hon,
    Yn gwrando'n llef;
Mae'n eiriol drosom draw,
    Ar fyr daw i'n rhyddhâu:
Mae'r amser ddydd a nos,
    Yn agosâu.

1689. Cyfoeth gras.—M. 6.

Rhyfeddir byth i Dduw
  Ymddangos yn y cnawd,
Trysorau'i gariad ef,
  Sy'n cyfoethogi'r tlawd;
Gwnaeth Iawn anfeidrol ar y groes,
A chofir byth ei angeu loes.

"Gorphenwyd," dyna'r gair
  A bair i'm henaid gwan
Obeithio dod drwy ffydd,
  Yn iach ryw ddydd i'r làn:
Agorwyd ffordd drwy Galfari
I'r cyssegr santeiddiolaf fry.

1690. Cân plant a'u rhieni.—M. 4.

Rhyfeddir gweled mam a thad
  Yn nghyd â'u hâd yn cânu,
Am rîn y ffynnon sydd o hyd
  O ddechreu'r byd yn golchi.

Yr hen yn nghyd â'r baban gwan
  Yn yr un fan a olchir;
'Nol maddeu'r bai a chânu'n wyn
  Byth fry am hyn fe genir.

1691. Heb frycheuyn.—M. 16.

Rhyfeddir gwel'd yr Ethiop du,
Yn wyn ei wedd yn Salem fry,
Trwy rin yr Iawn a gaed;
A'r pechaduriaid dyfna'u clwy',
Heb un brycheuyn arnynt mwy,
Yn cânu am y gwaed.

Wrth gofio am y pydew blin,
Ac am y gwaed o nefol rin,
A'u golchodd hwy fel hyn,
A'u traed yn rhydd, ac ar y graig,
Hwy gânant byth, uwch drygau'r ddraig,
Am ras Calfaria fryn.

1692. Dirgelwch trefn gras.—M. 11.

Rhyfeddod a bery'n ddiddarfod,
  Yw'r ffordd a gymmerodd efe,
I gadw pechadur colledig,
  Drwy farw ei hun yn ei le:
Fe safodd ein Brenin ei hunan,
  Gorchfygodd awdurdod y ddraig;
Ein Samson galluog ni ydyw;
  O câned preswylwyr y graig.

1693. Gwyrthiau angeu Crist.—M. 10.

Rhyfeddodau annhraethadwy
  Sy'n yr iechydwriaeth lân;

Daeth Mab Duw i lenwi'r adwy
Rhwng y soflyn sych a'r tân;
Cânaf am ei iechydwriaeth,
Buddugoliaeth Hâd y wraig;
Cofiaf wyrthiau ei farwolaeth
Marw â'i droed ar ben y ddraig.

Pa ryw elyn all fy ngorfod?
Wele gymmod yn y gwaed;
Lle i gael maddeuant pechod,
Lle i olchi'r duaf gaed;
Dyma i mi gadarn noddfa,
Byth er maint fy meiau câs;
Nid oes un peth a gyd-bwysa
Anchwiliadwy olud gras.

1694. Darostyngiad Crist.—M. 5.

Rhyfeddod fawr i'r nefol lu,
Oedd gweled eu Creawdwr cu,
Yn gwisgo natur wan ei rhyw,
Yn waelaf ddyn! anwylaf Dduw!

Mae myrdd o ryfeddodau mwy
Yn rhinwedd glân ei farwol glwy',
Nis gall holl luoedd nef yn un,
Byth draethu doniau Mab y dyn.

O am y ddedwydd hyfryd awr,
Pan wawrio'r dydd tragwyddol mawr,
Im' wledda byth ar rin ei glwy',
Gan ddechreu mawl na dderfydd mwy.

1695. Sïon yn dod o'r anial.—M. 12.

Rhyfeddod fod Sion yn dod
Trwy'r cystudd a'r trallod i'r lan,
A'i thynfa mor gywir ei nhôd,
A'r olwg sydd arni mor wan;
Fel mŵg y mae'n esgyn i'r nef
Er cryfed awelon y cnawd;
Derchafa ochenaid ei llef
Am gymhorth at orsedd ei Brawd.

1696. Baban Mair.—M. 5.

Rhyfeddod pob rhyfeddod yw,
Fod Iesu'n ddyn ac yn wir Dduw;
Ar liniau Mair yn faban gwan,
Yn Dduw presennol yn mhob man.

Mae'n Fugail da i'w ddefaid oll,
Mae'n gallu cael y rhai sy ar goll;
Mae'n wisg i'r noeth, a nerth i'r gwan,
I'w ddwyn o'r anial dir i'r lan.

Mae ynddo ef bob peth i'w gael,
Sy'n eisieu ar bechadur gwael;
Yn ïe mae, ac yn Amen,
I'w blant dilyth mae byth yn ben.

1697. Rhyfeddodau achub.—M. 3.

Rhyfeddod pob rhyfeddod yw,
I'r Duw anfeidrol ddoeth
Wneyd sylw o syrthiedig ddyn,
Oedd iddo'n elyn noeth.

Er trefnu ffordd i'w gadw'n fyw,
Y Duw tragwyddol dda,
A fynodd ddryllio'i Fab ei hun,
I dynu dyn o'i bla.

Y goron fydd am hyn ar g'oedd,
Byth bythoedd ar ei ben;
Ac iddo ef bydd torf ddirif
Yn canu uwch y llen.

1698. Aberth drud.—M. 20.

Rhyfeddod, rhyfeddod
I Brynwr y byd,
Roi'i enaid yn aberth,
Yn daliad mor ddrud,
Er codi pechadur
O ddyfnder ei wae,
A'i ddwyn i ogoniant
Sydd byth i barhau.

1699. Angeu drud.—M. 23.

Rhyfeddod y byd
Yw angeu mor ddrud,
A gwreiddyn caniadau'r
Ffyddloniaid i gyd.

Mae'm beiau o'r fath liw,
Mor ffiaidd eu rhyw,
'Does dim all eu golchi,
Ond haeddiant fy Nuw.

Fe'm golchodd yn rhad,
Do'n wir yn ei waed;
Gan selio fy mhardwn
Rhoes i mi ryddhad.

Moliannu mwy fydd
Fy mhleser bob dydd;
Agorwyd y carchar,
Pwy all fod yn brudd?

1700. Adgyfodiad.—M. 4.

Rhyfeddol yw dy iawnder, Ion,
A mawrion yw'th weithredoedd;
Uwch wybren aeth d'ogoniant di,
Ni fedraf fi mo'i adrodd.

Drwy brofiad hir adnabum i
Dy allu i waredu;
Anturiaf i briddellau'r bedd,
Wrth d'arch i orwedd obry.

Pan fwy'n y llwch a'm gwedd yn dlawd,
Duw, am fy nghnawd gofeli:
F'aelodau hyn gwywedig i,
Teg, cedyrn, ti a'u codi.

1701. Tywyllwch Rhagluniaeth.—M. 5.

Rhyfeddol yw'th amcanion, Ior,
Mae'th ddofn Ragluniaeth fel y môr;
Rhy ddofn i ni â'n deall tlawd,
Ei heglur wel'd â llygaid cnawd.

'Nawr gwisgo 'rwyt dy wyneb cu
Mewn digllawn wg, fel cwmwl du;

Trwy'r cwmwl credu'th ras a wnawn,
Mae'th brofi o hyd yn dirion gawn.

Tros dônau dyfnion, geirwon, llym,
Wrth ffydd, nid golwg, morio 'ry'm:
Trwy dd'rysni'r daith, mewn anial le,
Ffydd yw'n harweinydd tua'r ne'.

Dad doeth! os yw dy wialen di
Ar fedr yma'n cospi ni;
Ni bwyswn ar dy fraich o hyd,
Dy nerth a'n dwg yn iach drwy'r byd.

1702. Amynedd Duw.—M. 25.

Rhyfedd na buaswn 'nawr
Yn y fflamiau;
Wedi cael fy nhôri lawr,
Am fy meiau;
Gan fy mod i heddyw'n fyw,
Mi rof deyrnged
O glod a mawl i'm Harglwydd Dduw,
Am fy arbed.

Rhyfedd yw i Dduw erioed
Edrych arnaf;
Mawr yw'm rhwymau i roi'r clod,
I'r Goruchaf;
Os cai 'nwyn i ben fy nhaith
Yn ddiangol,
Moli Iesu fydd fy ngwaith
Yn dragwyddol.

1703. Cyfeillach bur y nef.—M. 35.

Rhyfeddu bytha fydd,
Os gwelir fi ryw ddydd,
Uwch cyrhaedd byd, a'i saethau gyd,
A'r llid o'i fewn y sydd;
Heb friw na chraith, na galar maith,
Na chystudd chwaith, na chûr;
Fry yno cawn gyfeillach iawn,
A'r llu sy'n llawn o nefol ddawn—
Gwynfyd na bawn yn bur.

1704. Rhyfeddol gariad Duw.—M. 10.

Rhyfedd uchder, rhyfedd ddyfnder,
O anfeidrol led a hyd!
Anfesurol ydyw cariad
Y Duw tirion at y byd!
Ac ni ddichon holl dafodau
Dynion nac angylion nef,
I ddiderfyn dragwyddoldeb,
Ddatgan maint ei gariad ef.

1705. Cynnydd yr eglwys.—M. 6.

Rhyfeddu mawr a fydd,
Am gynnydd eglwys Crist;
Ceir gweled yn y man
Yr un fu'n wan a thrist,
Mewn tegwch, bri, a phurdeb mawr,
Yn llenwi wyneb daear lawr.

Ar fyr y daw yn nes
I fynwes Crist yn wir;
Daw'n gryfach yn ei gras,
A'i hurddas ddaw'n fwy clir;
Iuddewon a Chenedloedd fydd
Yn unol dorf yn hon ryw ddydd.

1706. Enw gwell.—M. 19.

Rhyfeddu 'rwyf,
A mawr rhyfeddod yw,
Fy ngharu erioed,
Y gwaela o ddynolryw:
Cael yn ei dŷ,
O fewn ei furiau le,
Ac enw gwell
Nag un sydd is y ne'.

Paham yr wyf
Mor bell oddiwrth fy Nuw?
Fy nghalon wâg,
Mor ffol a gwamal yw!
Pa fodd na bai
Fy meddwl nos a dydd
Fry gyda'm Duw,
Yn tawel fyw drwy ffydd.

1707. Ebenezer y pererin.—M. 5.

Rhyfeddu 'rwyf, rhyfeddod yw
Fod un mor wan hyd yma'n fyw;
A thynfa f'enaid, er pob tôn,
At wlad sydd ganmil gwell na hon.

'Rwy'n teimlo'm hysbryd llesg yn awr,
Yn diolch i'm Harweinydd mawr;
Am guddio 'mhen yn ngwres y dydd,
A dwyn fy nhraed o'r rhwydau'n rhydd.

Cyfododd, do, fy enaid gwan
O lawer pydew blin i'r làn;
Rhoes yn fy ngenau newydd gân,
Am nerth ei iechydwriaeth lân.

1708. Iawn Crist.—M. 3.

Rhyfeddu 'rwyf, rhyfeddu wnaf,
I oesoedd maith am hyn,
I Grist dros elyn euog ddod
I ben Calfaria fryn.

Boddlonodd yno ddeddf y nef
Drwy roi anfeidrol Iawn,
Ei waed a roes er mwyn i ni
Gael rhad faddeuant llawn.

I'r bedd yr aeth fel un f'ai'n rhwym
Gan angeu brenin braw;
Ond daeth y trydydd dydd i'r làn
A phardwn yn ei law.

Esgynodd fry i'r nef yn ol
Ac ni bydd farw mwy,
I oesoedd tragwyddoldeb maith
Fe genir am ei glwy'.

1709. Cariad Crist.—M. 23.

Rhyfeddwn bob pryd,
Tra b'om yn y byd,
Na buasem o gyrhaedd
Trugaredd i gyd.

Mawryger ein Iôr,
Mae ynddo ef stôr,
O gariad sy'n lletach,
A meithach nâ'r môr.

Ein Iesu pan aeth,
O'i gariad yn gaeth,
Gwir ryddid i'r caethion
Yn ëon a wnaeth.

Un addas iawn yw,
Rhwng dynion a Duw;
Bu farw; mae'n eiriol
Ar ran dynolryw.

**1710.** Doniau cariad Duw.—M. 5.

Rhyfeddwn gariad Duw o hyd,
Yn achub damniol farwol fyd;
Myrddiynau fry gânt byth ail-fyw,
Trwy ddawn ei ras i ddynolryw.

Ei Fab a roes yn Aberth llawn,
Oddiar ei groes dyferai'r Iawn;
Y ffynnon friw oedd dan ei fron
O gariad Dùw agorwyd hon.

**1711.** Porth cyfyng.—M. 5.

Rhy gul i chwant yw'r llwybr sy'
Yn arwain i'r baradwys frŷ,
Porth cyfyng iawn, a ffordd y groes,
Yw ffordd y bywyd yn mhob oes.

Dywedodd Crist fod rhaid o hyd
I'w holl ganlynwyr yn y byd,
Gyfodi'r groes a'i ganlyn ef,
Drwy'r ddyrus daith, nes myn'd i'r nef.

**1712.** Afon o'r orsedd.—M. 23.

Rhyw afon a gaed,
O ddwfr a gwaed,
O'r orsedd ddysgleirdeg
Mae'n rhedeg yn rhâd.

I wella fy mriw,
A'm beiau o bob rhyw,
A chànu fy enaid,
Er dued ei liw.

Mae'n ffynnon ddidrai,
I olchi fy mai;
Er maint yw fy nghulni
'Dyw'n llenwi dim llai.

Ac er 'mod i 'nawr,
Yn llesg ar y llawr,
Fe'm cènir yn ddiau,
O feiau fu fawr.

**1713.** Gwîn o'r cwpan chwerw.—M. 6.

Rhyw chwerwder chwerw sydd
Yn nghroesau dydd fy nhaith;
Er hyn, o'r cwpan blin
Ces rawnwin lawer gwaith;
Do'i cysur i'm yn ngrym y lli',
O swn griddfanau Calfari.

Yn wan dan dònau'r lli',
Yn ofni boddi bûm;
A thòn ar dòn sy'n awr,
A chystudd mawr lle'r y'm;
Ond cânu wnaf, ce's gadarn sail
I fyw dan gysgod Adda'r ail.

**1714.** Gwaed yr Oen.—M. 5.

Rhyw destun bythol hyfryd yw
I engyl nef a dynol-ryw—
Un na wnaeth bechod, er ei fri,
A wnaed yn bechod drosom ni.

Etifedd nef, gwir ddelw'r Tad,
A ddaeth o'i fodd o'r nefol wlad;
Duw ymddangosodd yn y cnawd
I wared dyn o'i gyflwr tlawd.

Fel oen yn addfwyn bu o hyd,
Mewn llawer ing dan wawd y byd;
Fel oen, yn fud, arweiniwyd ef
Dros euog rai i'r lladdfa gref.

Fel Oen mae heddyw'n eiriol fry
Ar sail ei aberth drosom ni;
Ac oddifewn y wahan-len
Rhydd pawb y goron ar ei ben.

**1715.** Dirgelwch duwioldeb.—M. 9.

Rhyw foroedd o ddoethineb
Oedd yn y Duwdod mawr,
Pan y cyfranai'i gariad
I bryfaid gwael y llawr;
A gwneuthur i'w drugaredd,
A'i dostur maith yn nghyd,
I redeg megys afon
Lifeiriol dros y byd.

O ras didranc diderfyn,
Tragwyddol ei barhad;
Yn nghlwyfau'r Oen fu farw
Yn unig mae iachad:
Iachad oddiwrth euogrwydd,
Ac ofnau dwys y bedd,
A chariad wedi ei wreiddio
Ar sail tragwyddol hedd.

**1716.** Hiraeth am y nef.—M. 13.

Rhyw hiraeth ynof sydd
Am weled gwlad yr hedd,
Lle mae trysorau'm hegwan ffydd
Tu draw i byrth y bedd:
Ni ddywed neb o'r llu,
"Claf ydwyf," yn y nef;
Coronau ar eu pen y sydd,
Llawenydd fydd eu llef.

Paham y caraf mwy
Siomedig bethau gwael,
Dedwyddwch im' ni roddant hwy,
Mae golud gwell i'w gael;
Mae'm golwg ar y wlad
Sydd uwch gofidiau'r llawr,

Gwlad hoff fy etifeddiaeth rad,
Lle mae fy Mhrynwr mawr.

1717. Lles dyfroedd Mara.—M. 24.

'Rwyf bron gorphen fy holl yrfa,
Derfydd yfed dyfroedd Mara;
Pob cwpanaid wyf yn yfed,
Sy'n fy ngwneuthur yn fwy addfed;
Ar fyr daw'r dydd caf rydd orphwyso,
Derfydd galar draw ac wylo;
Mewn nefol dir, goleu clir,
Y gwelir fy enaid,
Wedi dianc o'i gaethiwed,
Gyda'r Oen, heb boen na lludded.

1718. Caethiwed Babel.—M. 3.

'Rwyf fel y gwyliwr ar y mur,
Yn dysgwyl gwel'd y wawr;
Dydd i gyhoeddi'r Jubil fwyn,
Fy ngwaredigaeth fawr.

Mae dyddiau griddfan i mi'n hir,
Caethiwed Babel fawr;
O na chawn deimlo'r Jubil fwyn
Yn agor dorau'r wawr.

Pererin wyf mewn anial dir,
Yn crwydro yma a thraw;
A dysgwyl 'rwyf o awr i awr
Fod tŷ fy Nhad gerllaw.

1719. Gorphwysdra enaid.—M. 3.

'Rwyf finnau'n dod yn llwythog flin
At Iesu'r Meddyg rhad,
Heb neges genyf yn y byd,
Ond 'mofyn esmwythâd.

Mi gym'ra'n rhwydd y baich a'r iau,
Heb omedd cario'r un,
Wrth gofio'r baich a'r pwysau mawr
A gariodd ef ei hun.

Rhyw ofni 'rwyf, a rhyw dristâu,
Drwy oriau maith fy oes;
'Does dim a wna i'm hofnau ffoi,
Ond edrych ar y groes.

1720. Cyfeillach y nefoedd.—M. 24.

'Rwyf fi'n myn'd i wlad i drigo,
Lle mae gloyw hedd yn llifo,
At gyfeillion mil mwy hawddgar
Nâ neb a welwyd ar y ddaear;
Lle mae cyfoeth pur diddarfod,
Pleser gwiw, heb friw na thrallod,
Gyda'r llu santaidd sy
Yn canu i'm Hanwylyd;
Gan ymborthi ar wleddoedd hyfryd,
Fyth ac fyth yn nhir y bywyd.

1721. Mordaith bywyd.—M. 38.

'Rwyf yma ar y moroedd
Yn ceisio rhwyfo rywfodd,
Tua'r hafan hyfryd;
Fel llong yn nghanol tònau
Yn ofni myn'd yn ddrylliau,
A cholli 'mywyd;
Mor wan i dynu tua'r lan
Trwy fôr trafferthus,
A gwynt gwrth'nebus,
O hyd yn ofnus,
Rhag soddi yn mhob man;—
Os safaf yn y diwedd—
Bydd rhyfedd yn fy rhan:
Os dod, a chyrhaedd at y nod,
Wna un drylliedig,
A fu mor debyg,
O fewn ychydig,
I yn golledig fod,
Yr hwn i'r lan a'm dygodd
Dros byth gaiff gyhoedd glod.

1722. Cwyn dan y tònau.—M. 30.

'Rwyf yma dan y don
Yn digaloni bron,
Gan wendid ffydd;
O Iesu bydd o'm rhan,
A nertha f'enaid gwan,
I ddod o'r tònau i'r lan,
Yn hollol rydd.

1723. Nofio i hedd.—M. 9.

'Rwyf yma dan y tònau,
Yn griddfan lawer awr;
Wrth fethu cadw 'ngolwg
Ar y Messia mawr;
Ar fyr daw'r dydd caf nofio,
I mewn i'w dawel hedd,
Na chollai'r olwg arno
Yr ochr draw i'r bedd,

Ni bydd y wledd ond dechreu
Pan ddel yr olaf ddydd;
Fel yr amlhao'r dyrfa,
Caniadau fwyfwy fydd;
Pan godir cyrff y seintiau
Yn gryno oll o'r bedd,
Melusach a melusach
Fydd y dragwyddol wledd.

1724. Anghyfnewidioldeb Duw.—M. 13.

'Rwyf yn terfynu 'nghred
'Nol pwyso oll yn nghyd,
Mai cyfnewidiol ydyw dyn,
Ond Duw sy 'r un o hyd:
Ar ei ffyddlondeb ef,
Sy'n noddfa gref i'r gwan,
Mi gredaf do'i 'mhen gronyn bach,
O'r tonau'n iach i'r lan.

Mae pen fy nhaith gerllaw,
Ar fyrder gwawria'r dydd,
Im' ddianc o'm cadwynau caeth,
A chanu'n berffaith rydd:
Yn nghanol tyrfa faith,
Pob llwyth, a iaith, a dawn,

Un Sabboth heb na haul na lloer,
Na bore na phrydnawn.

1725. Rhedeg am gamp.—M. 5.

'Rwy'n awr yn cyrchu at y nod,
Am gamp ragorol uwch y rhod;
Ca pawb a redo'r yrfa hon
Oruchel fraint a gwynfyd llon.

Cânt delyn auraidd yn eu llaw
Pan ânt yn iach i'w cartref draw,
Cânt hefyd wisgo'r palmwydd gwyrdd
Yn mhlith hardd-deg angylion fyrdd.

Cânt foli'r Oen fu ar y pren,
A rhoddi'r goron ar ei ben;
Ar ben eu taith, cânt yn y nef
Fod byth yn debyg iddo ef.

1726. Pabell ar ogwydd.—M. 22.

'Rwy'n brysio bob dydd
Tua therfyn fy ngyrfa;
Ar fyr yn y pridd
Y bydd fy ngorweddfa;
Ergydion beunyddiol
Sydd yn fy malurio;
Mae'm pabell ar ogwydd,
Yn ebrwydd gwna syrthio;
Tragwyddoldeb o'm blaen
Sy'n agor ei ddorau;
Ar ol im' fyn'd yno
Mi fydda'n fy ngartre'.

1727. YR AIL RAN.

Wrth edrych yn ol,
A chofio fy llwybrau,
Mi weláf mai'n ffol
Y treuliais fy nyddiau:
Y pethau sy'n darfod
Ga'dd ormod o'm sylw,
Pa les a wnant i mi
Pan ddelwyf i farw?
Tragwyddoldeb o'm blaen, &c.

1728. Gwagder mwyniant byd.—M. 5.

'Rwy'n darfod mwy a mwyniant byd,
Gwag a siomedig yw i gyd;
Da, daear, dyn, oddiwrthych chwi
Edrychaf draw i Galfari.

Er yfed yma, syched sydd,
Ond llawenhaf, nesâu mae'r dydd
Caf fy nigoni'n llawn ar wedd
Fy Mhrynwr cu, mewn bythol wledd.

Pan ddelo bloedd yr udgorn mawr
I agor holl garcharau'r llawr,
Dihuno wnaf i'm braint bryd hyn,
I ganu am Galfaria fryn.

1729. Trysor goreu.—M. 5.

'Rwy'n dewis d'air i mi o hyd
O flaen pob golud fedd y byd;
Ni fu, nid oes, ac fyth ni chair,
Drysorau fel trysorau'r gair.

O! arwain fi â'th air heb goll,
Nes elwyf o'r anialwch oll,
Tu draw i'r byd a'i boen yn mhell,
I'th weled byth wrth lewyrch gwell.

1730. Swper yr Arglwydd.—M. 14.

'Rwy'n dod, fy Arglwydd mawr,
At fwrdd dy ras yn awr,
O dyro wawr dy hyfryd wedd!
Dy wedd, fy Arglwydd da,
A'm dedwydd lawenha;
O trugarha, goleua'r wledd!

Wrth gofio am dy gur
Pan dan yr hoelion dur,
Rho galon bur, a gwylaidd barch;
Gwna f'enaid caeth yn rhydd,
Cryfha fy egwan ffydd
Hyd hwyr fy nydd i gario'r arch.

1731. Llw sacramentaidd.—M. 14.

'Rwy'n dwys ymrwymo'n awr
I'm Hior, tra ar y llawr;
O Iesu mawr, rho ras i mi
I lynu gyda'th waith
Yn myd yr anial maith,
Hyd ben y daith, a'th ganlyn di.

Mae'n rhaid ymado'n awr
A gwleddoedd goreu'r llawr,
Mae'r cystudd mawr i bara'n hwy;
Ond derfydd cario'r cledd,
Cawn gydfwynhau mewn hedd,
Fry, nefol wledd na dderfydd mwy.

1732. Dinas gadarn.—M. 33.

'Rwy'n dysgwyl am y ddedwydd awr
I'm cadwyn fyn'd yn rhydd,
A gorfoleddu 'rwyf yn awr
Wrth feddwl am y dydd:
Caf yn fuan wneyd fy nhrigfan
O fewn muriau'r nef ei hunan,
Uwchlaw cyrhaedd byd a Satan;
Dinas gadarn, dinas gadarn,
Ar anfeidrol ddwyfol graig.

Er trigo mewn anialwch maith,
Mewn galar ac mewn gwae;
A themtasiynau ar fy nhaith
Yn mron a'm llwfrhau;
Caf yn fuan, &c. &c.

1733. Hiraeth am Iesu.—M. 3.

'Rwy'n edrych dros y bryniau pell
Am danat, Iesu mawr;
O tyr'd f'anwylyd, mae'n hwyrhau,
A'm haul bron myn'd i lawr.

Tebygwn, pe bai 'nhraed i'n rhydd
O'r blin gaethiwed hyn,

Na wnawn ond canu tra fawn byw
  Am ras Calfaria fryn.
Mae arnaf hiraeth am y wlad
  Lle mae torfeydd diri',
Yn canu'r anthem i barhau,
  Am angeu Calfari.

1734. Cwyn dan gerydd.—M. 9.

'Rwy'n gorwedd dan dy gerydd,
  O Arglwydd, clyw fy nghŵyn;
Tydi a'm gwnaeth yn ysig,
  Tydi yw'r Meddyg mwyn:
'Rwy'n wylo gan fy nolur,
  Mewn llafur dan dy law;
Dad anwyl, bydd yn dyner,
  Gan droi dy ddigter draw.

O, tyr'd i'm cynnorthwyo,
  A chlyw fi'n wylo'n awr;
Er cymmaint fy euogrwydd,
  O maddeu, Arglwydd mawr:
Rho brofi dan geryddon
  Dy fod yn dirion Dad,
Drwy roi ymweliad eilwaith
  O'th iechydwriaeth rad.

1735. Taith yr anialwch.—M. 13.

'Rwy'n gwel'd yr oriau'n hir
  Mewn anial dir i fyw,
Heb i mi ynddo gael o hyd
  Hoff wyneb-pryd fy Nuw;
O dyro im' fy nghais,
  A gwrando lais fy llef,
Ac yn y diwedd o dy ras
  Dwg fi i deyrnas nef.

Rho i mi nerth drwy ffydd
  I ddod o'r cystudd mawr,
I wel'd dy wenau dedwydd di
  A'th foli uwch y llawr;
Lle ni ddaw gelyn mwy,
  I roi im' glwy' na briw,
Lle caiff fy enaid hyfryd hedd
  Dros byth yn ngwedd fy Nuw.

1736. Angor y credadyn.—M. 23.

'Rwy'n gweled bob dydd,
Mai gwerthfawr yw ffydd,
  Pan elwy'i borth angeu,
  Fy angor a fydd.

Mwy gwerthfawr im' yw,
Nâ chyfoeth Peru,
  A'i gwrthddrych a'm cynnal
  Ddydd dial fy Nuw.

Fy enaid i sydd
Yn awr nos a dydd,
  Am ganmol yr Iesu
  A'm rhoddodd yn rhydd.

1737. Ofn angeu.—M. 3.

'Rwy'n llesg, a gwan, ac ofnus iawn,
  'Rwyf bron llewygu'n awr,
Wrth feddwl am wynebu llif
  Y gref Iorddonen fawr.

Mae dyffryn cysgod angeu du
  Yn ymyl i mi'n awr;
Mae'n ddu, a minnau'n wan i gyd,
  Ond rhaid myn'd iddo'i lawr.

Adenydd angel, O na chawn,
  O'r byd mi awn i maes,
Fel Enoc neu Elias gynt,
  Dros glawdd yr angeu glas.

O dywed, Iesu, dywed im',
  Pan bwy'n y cyfyng fan,
Y caf dy blaid wrth rodio'r glyn,
  A chynnal hyn fi'r lan.

1738. Cwyn yr afradlon.—M. 5.

'Rwy'n llesg, 'rwy'n dlawd, 'rwy'n marw
O newyn mewn dyeithrol dir; ['n wir,
A digon gan fy Nhad i'w gael,
Ac yntau'n rhoddwr rhwydd a hael.

Af, cwympaf ger ei fron i lawr,
A d'wedaf, dan alaru'n fawr,
Dad, digiais di â'm pechod cas,
Ac nid wy'n haeddu cael o'th ras.

Pan ganfu'r Tad y mab fu ar goll,
Cynhyrfodd ei 'mysgaroedd oll;
Rhedodd, ac ar ei wddf yn glau
Fe syrthiodd, a'i gusanu wnai.

Rho'dd iddo wisgoedd glân eu drych,
Ac ar ei law fodrwyau gwych;
Ordeiniodd ddydd o hyfryd wledd,
A bu gorfoledd llawn, a hedd.

1739. Morio tua'r nef.—M. 3.

'Rwy'n morio tua chartre'm Ner,
  Rhwng tònau maith 'rwy'n byw;
Yn ddyn heb neges dan y ser,
  Ond 'mofyn am ei Dduw.

Mae'r gwyntoedd yn fy nghuro'i 'nol,
  A mi nid wyf ond gwan;
O cymmer, Iesu, fi'n dy gol,
  Yn fuan dwg fi i'r lan.

Na âd fi ar aswy nac ar dde,
  I redeg o dy flaen;
Ond dilyn llwybrau Brenin ne',
  Trwy ddyfnder dw'r a thân.

1740. Tragywyddoldeb.—M. 12.

'Rwy'n myned, yn myned o hyd,
  Heb aros 'run fynud wrth ddim,
Ond brysio'n ddiorphwys o'r byd,
  I fyd fydd yn rhyfedd iawn im';
Mur egwan a theneu, mi wn,
  Sydd rhyngof, fyd bythol, â thi;
Ond beth sydd tu arall i hwn,
  Mae hyny'n anhysbys i mi.

Gan fod tragwyddoldeb o hyd,
  Yn tynu mor agos i mi,

Mi welaf mai gwagedd yw'r byd,
Ei gyfoeth, a'i fawredd, a'i fri;
I mi sydd yn ymyl y bedd,
'Dyw pob peth gweledig ond dim,
Cael Duw a'm cydwybod mewn hedd,
Yn unig all fod o les im'.

1741. Penderfyniad ffydd.—M. 3.

'Rwy'n penderfynu myn'd yn gloff
I mewn i deyrnas nef;
Yn well na chadw'm melus chwant,
A cholli ei gwmni Ef.

Saif ei gyfammod sicr Ef
Yn gadarn yn ei rym;
Pan fo pob cysur is y nef
Wedi diflanu'n ddim.

N'âd im' foddloni ar ryw rith
O grefydd heb ei grym;
Ond rho adnabod Iesu Grist
Yn fywyd anwyl im'.

1742. Noddfa yn angeu.—M. 24.

'Rwy'n rhoi'm pechod, 'rwy'n rhoi'm camwedd,
I lawr yn gryno wrth dy orsedd,
Maddeu i'r brwnt, a maddeu i'r aflan,
Sydd o flaen dy fainc yn griddfan;
Rhad drugaredd wy'n ddymuno,
Darfu haeddiant dyn yn gryno;
Nid oes dim noddfa im',
Yn ngwyneb grym angeu,
Ond yr Aberth maith rinweddau
Fu ar y groes dros fy mhechodau.

1743. Nesu tua'r dw'r.—M. 12.

'Rwy'n tynu tuag ochr y dw'r,
Bron gadael yr anial yn lân,
Mi glywais am goncwest y Gwr
A rydiodd yr afon o'm blaen;
Fe dreiglodd y maen oedd dan sel,
Fe gododd y Cadarn i'r lan;
Mi a'i caraf, a deued a ddel,
Mae gobaith i'r truan a'r gwan.

1744. Glyn cysgod angeu.—M. 9.

'Rwy'n tynu tua'r terfyn,
'Rwyf ar ddisgynfa'r bryn;
Ai dyffryn cysgod angeu
Yw'r dyffryn tywyll hyn?
I'r didranc dragwyddoldeb,
Heb undyn i mi'n blaid,
Rhwng ofni a gobeithio,
Anturio iddo raid.

Nac ofna, cred, fy enaid,
Yr Arglwydd yw dy Dduw,
Efe yw'r adgyfodiad,
A'r bywyd hefyd yw;
Dan chwerwon loesau marw
Gafaela yn ei air,
Yr hwn a gredo ynddo,
Er marw fe'i bywhair.

1745. Cwyn y gwan.—M. 3.

'Rwyt ti o hyd, ein Harglwydd mwyn,
Yn gwrando cŵyn y gwan;
Clyw, clyw riddfanau'r gwana' 'rioed
Sy'n chwennych dod i'r lan.

O trugarha, fy Iesu cu,
Wrth enaid sy mewn braw,
Nis gallaf symud cam yn mlaen,
Heb help dy gadarn law.

Terfysglyd yw fy enaid gwan,
'Rwy'n ofni angeu loes;
O Iesu, dal fi, dal fi'r lan,
Rho gymhorth dan y groes.

1746. Pwyso ar Iesu.—M. 8.

Safodd Iesu ar Galfaria,
Mewn ystormydd tywyll iawn,
Yfodd y cwpanaid chwerw
Oll wrth farw un prydnawn;
Boed ein cân iddo'n lân
Mwyach yn y dw'r a'r tân.

Arwain heddyw ei fyddinoedd,
Llywia luoedd nef a llawr;
Egyr foroedd ac afonydd,
Fel y gwnaeth, gwna etto'n awr:
F'enaid gwan, yn mhob man
Pwysa arno, ti gei'r làn.

1747. Teyrnas ddisigl.—M. 10.

Saif Breniniaeth gras a bywyd
A'i gorseddfa'n fythol lân;
Saif ei heddwch yn dragywydd,
Saif ei chysur byth, a'i chân;
Hedd, maddeuant, meddyginiaeth,
Iechydwriaeth ynddi gaed;
Gras i fywyd sy'n teyrnasu,
Deddf yn gwenu yn y gwaed.

Saif heb siglo yn dragwyddol,
Eiriau yr anfarwol Fôd;
Saif ei gynghor a'i gyfammod
Pan ddatodo rhwymau'r rhod;
Teyrnas ydyw na ddiflana,
Rhodia'i deiliaid oll yn rhydd,
A phan syrth gogoniant anian,
Llewyrch hon yn fwyfwy fydd.

1748. Lloches ffydd.—M. 3.

Saif ffydd, a gwel mai digon yw
Ffyddlondeb Duw a'i nerth;
A chofia yn mhob cyfyng awr
Breswylydd mawr y berth.

Mae ganddi loches gref i ffoi,
Gall droi i holltau'r graig,
Rhag hudawl frâd, a gwen a gwawd
Y byd a'r cnawd a'r ddraig.

I'r làn o'r dyfnder du trwy'r dòn,
Daw etifeddion ffydd,
A'u cân yn llòn heb unhryw loes
Am angeu'r groes ryw ddydd.

1749. Sail eiriolaeth Iesu.—M. 5.

SAIL yr eiriolaeth fry o hyd
Yw'r Aberth drud fu ar y groes;
Nid rhaid mwy golli gwaed i'r llawr,
'Nol gwaed yr Aberth mawr a roes.

Bu farw ar Galfaria fryn,
Gorweddodd yn y beddrod caeth;
Ond yn ei swydd mae'n eiriol fry,
O'r carchar du mewn hedd y daeth.

Mae llef ei waed mewn uchel fri;
Am Galfari bydd côf di-baid;
Ac eiriol mae ar orsedd nef,
A gwrendy lef pob gwan wrth raid.

1750. Caniadau'r cyfiawnion.—M. 20.

SAIN cân fo drwy'r ddaear,
Iachawdwr a gaed;
Fe ddaeth i'n gwaredu
Trwy golli ei waed;
Agorwyd y carchar,
Daw'r caethion yn rhydd,
Gorfoledd tragwyddol
Gan filoedd a fydd.

Am symud o feddiant
Marwolaeth i hedd,
Am faddeu'r holl feiau,
A gwared o'r bedd,
Bydd cânu tragwyddol,
A'r testun fydd hyn—
Yr Oen a fu farw
Ar Galfari fryn.

1751. Udgorn mawr efengyl.—M. 3.

SAIN udgorn mawr efengyl hedd
A egyr feddau fyrdd;
A chyfyd pechaduriaid lu
Trwy nerth ei Ddwyfol urdd.

O'r dywell Aifft, o Basan bell
Daw tua'r babell lân,
Lu mawr i foli'r Arglwydd Iôr,
A thir a môr a gân.

Daw'r gwaredigion oll yn un
O dir y gelyn câs;
I Salem lân i ddedwydd fyw,
Dan ganmol Duw a'i râs.

1752. Claddedigaeth.—M. 4.

SAITH deg o flwyddau, dyna'i gyd,
Yw eithaf hyd ein hymdaith;
Os cyrhaedd mwy nâ hyny wnawn,
Tra buan yr awn ymaith.

Trafferthion blin y ddaear hon
Y'nt oll o'r bron yn ofer;
I mi sy'n gÿru'n glau o'r byd,
O hyd yn ngherbyd amser.

Ychydig yw fy oes a drwg,
Mae'n ddigon amlwg hyny;
Dysg fi, O Dduw, o'th ras dysg fi,
O hyd i'w cyfri' felly.

1753. Swynion satan.—M. 4.

SATAN a'i swynion wy'n gasâu,
A'i ddichell a'i hudoliaeth,
Mewn mil o ffyrdd mae'n llithio'n llon
Blant dynion i farwolaeth.

Eu porthi mae â hyder gau
Neu'u lladd ag ofnau diffaith;
Fe'u gÿr yn llyn yn mhell o'u lle
I ryfyg neu anobaith.

Wrth *ie'nctyd* d'wed am beidio dro
Myfyrio am awr angau;
Am grefydd haera'n hŷf, na rydd
I neb ond prudd bleserau.

Ond wrth yr *hen*, newidia'r iaith,
D'wed am y gwaith o geisio
Trugaredd rad, mai ofer fydd,
Am fyn'd o'u dydd hwy heibio.

"Hawdd ydyw cael y ffordd i'r ne,"
Hyf haera fe'n bresennol;
Ond chwydda'r pechod yn y fan,
A d'wed—"Mae'n anfaddeuol."

Am hyn gwrth'nebwn ef yn hŷ',
A'r temtiwr ffŷ yn fuan;
Ein Blaenor cu i'r ymdrech aeth
A'i faeddu wnaeth ei hunan.

1754. Sarph bres.—M. 51.

SAWL a frathwyd gan y ddraig
De'wn at Iesu, Hâd y Wraig,
Ac edrychwn arno 'n brudd,
A chalon friw a llygad ffydd.

Iesu, sylwedd y sarph bres,
Ladd y gwenwyn, ddofa'r gwres;
O edrychwn arno mwy,
Nes iachâu yn llwyr ein clwy'.

1755. Heddwch Sion.—M. 14.

SEFYDLODD Crist ei fainc,
Yn Sion fawr ei braint,
Gweinyddir gras a barn yn hon,
Ei saint gânt lawenhâu,
Gwna i ddynion drwg dristâu,
A'r isel gwan a wneir yn llon.

O fewn dy byrth boed hedd,
Llawenydd yr un wedd,
I lòni'th westwyr di a'th hîl;
Y dyn sy'n erfyn cael
It' hedd a llwyddiant hael,
Boed ar ei ben fendithion fil.

1756. Gwledd gan Dri yn Un.—M. 7.

SYCHODD bronau penaf natur,
Teimlaf newyn dan fy mron,

Darfu'n lân am bob pleserau
O hoff bethau'r ddaear hon;
Ond mi ganaf,
Wrth wel'd hulio bwrdd y nef.

O fy enaid, brysia ato,
Gwledda arno drwy dy oes,
Gwel mae'n llawn o'r melus ffrwythau
Baratoed drwy angeu'r groes;
Câna bellach,
Uwch danteithion Tri yn Un.

1757. Llwydd efengyl.—M. 7.

Taened gweinidogion bywyd
Iechydwriaeth Iesu ar led;
Cluded môroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai digred;
Aed efengyl, &c.,
Ar adenydd Dwyfol wynt.

Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn;
Doed y rhai sydd ar y cefnfor
I garu'r iechydwriaeth hyn:
Nes b'o adsain, &c.
Moliant yn amgylchu'r byd.

1758. Crist fel ei frodyr.—M. 3.

Tad tragwyddoldeb—rhyfedd yw!
Y cadarn Dduw yn ddyn—
Wnaed fel ei frodyr yn mhob man:
Bu'n faban gwan ei hun.

Gorweddodd, do, mewn preseb gwael,
O olud hael ei hedd;
Bu fyw dan wawd, bu farw'n drist,
Fe'i claddwyd yn y bedd.

Ond drylliodd byrth y carchar caeth,
Nis gall mawolaeth mwy,
Na Satan chwaith, byth gadw'n ol
Ddybenion marwol glwy'.

1759. Diogelwch yn Nghrist.—M. 10.

Tan dy aden byddaf dawel,
Tan dy aden caf gasâu,
A galaru yn ddrylliedig
Am bob pechod a phob bai:
Tan dy aden, ar bob chwantau,
Y caf fuddugoliaeth lawn,
A difyrwch a thangnefedd
O foreuddydd hyd brydnawn.

Yn dy fynwes di mae noddfa,
Nid oes arall mewn un man;
Ni raid i mi ofni yno
Er nad wyf ond eiddil gwan;
Dysg im' aros yno'n llonydd,
Heb ffol wibio yma a thraw;
Arwain eiddil yn ddiangol,
I'r fro nefol yn dy law.

1760. Pwysi myrr.—M. 6.

Tan gystudd o bob rhyw,
A chroesau mawr diri',
Ceir nerth i ddwyn y groes
Wrth gofio Calfari:
O beraroglau marwol glwy'
Daw hedd a iechyd i mi mwy.

Fel pwysi myrr y mae
F'anwylyd hardd i mi,
Dros nos o dywyll wae
Pan gofiaf Galfari;
Y cof am loes fy Mhrynwr glân
A dry fy ngalar oll yn gân.

1761. Iachâu y gwahan-glwyf.—M. 9.

Tangnefedd ar y ddaear,
Daeth Meddyg mawr i'n gwlad,
Mae'r clefion gwahan-glwyfus
Yn derbyn llwyr iachâd;
Yn mysg y gwahan-gleifion
'Rwyf finnau'r estron pell,
Mewn gobaith yn wynebu
At Iesu'r Meddyg gwell.

O dywed wrthyf finnau,
Fel wrth y rhai o'r blaen,
Yr wyf yn ewyllysio
Dy wella, bydd yn lân;
Mi gaf fy ngwella'n hynod
O'm nychdod o bob rhyw,
A rhof yr holl ogoniant
O'm bodd i enw Duw.

1762. Cystudd byr ac ysgafn.—M. 5.

Tan rym cystuddiau o bob rhyw,
Trwy ras, ni awn yn nes at Dduw;
Gall cofio trwm gystuddiau'r groes
Felusu i ni bob rhyw loes.

Na rwgnach mwy, fy enaid gwan,
Am ddim gofidiau ddont i'th ran,
Byr iawn ac ysgafn ynt i gyd
Wrth ingawl boen Iachawdwr byd.

Godidog a rhagorol iawn
Yw pob rhyw gystudd yma gawn,
Gweithredu maent yn awr i ni
Dragwyddol bwys gogoniant fry.

1763. Goruchafiaeth gweddi.—M. 3.

Tawdd y mynyddoedd mawr o flaen
Anadliad gweddi ffydd;
Gyr holl gymylau'r nen i ffoi,
Try'r nos yn oleu ddydd.

O Basan bell, a dyfnder môr,
Clyw'r Arglwydd Ior ei chri;
Nid oes a saif o'i blaen pan wel
Farwolaeth Calfari.

1764. Cynhauaf ffrwythlawn.—M. 4.

Teilyngu mawl ac unawl gân
Mae Awdwr glân Ragluniaeth,
Fu'n gwneyd i'r ddaear gnydio'n dda,
I'n lloni gyda lluniaeth.

Fe roddodd ar ein meusydd gnŵd,
A thywydd brŵd a thawel,
I'w gasglu'n ddefnydd ymborth da,
Yn ddigoll a diogel.

Er it' ein bygwth, Arglwydd da,
A niwed pla o newyn;
Hyd yma'n harbed wnest bob tro,
Cyn ein niweidio wedi'n.

Pa beth a dalwn i ti'n Tad,
Am gariad mor rhagorol—
Cael ffon ein bara yn ddidor
Dda genyt, mor rhagorol.

1765. GORPHWYSIAD.

Haeddasom deimlo'r newyn du,
I'n gwasgu dan ein gwisgoedd,
Am gam-ddefnyddio ffrwyth y tir
Mewn gloddest hir a gwleddoedd.

Dysg in' aberthu i ti fawl
Byth am dy rasawl drysor!
Gwynt, daear, dw'r, a haul a ro'ist
I'n hachub, tro'ist o'n hochr.

Cyhoeddwn glod y Duwdod da,
Am roddi'n bara'n buriach;
Dysg i ni bellach dduwiol fyw,
Dan garu Duw'n gywirach.

1766. Cartref y Cristion.—M. 25.

Teithio 'rwyf fynyddau maith,
Dyrus anial;
A gelynion ar fy nhaith
Sy'n fy attal;
Ond mi welaf hyfryd wlad,
Faith ei llawnder;
Ac i mewn i dŷ fy Nhad
Af ar fyrder.

Iesu, cymmer fi'n dy gol,
Rhag diffygio;
Na âd f'enaid llesg yn ol
Byth i grwydro;
Arwain fi trwy'r anial maith,
Tŷr fy rhwymau;
Fel na flinwyf ar fy nhaith
Nes myn'd adre'.

1767. Gwrthgiliad yn boenus.—M. 5.

Teganau natur teg eu pryd,
A'u swynion hudol sydd o hyd
Am wthio mewn i'm calon ffol,
A thaflu'm Ceidwad mwyn yn ol.

Yna 'rwy'n blino f'enaid trist,
Edifarhau i'm adael Crist;
Ond o'i dosturi eilwaith daw
A phardwn i mi yn ei law.

Fy nyddiau, brysiwch at y nôd,
I mi gael gorphwys byth a bod;
Ar ganol bwynt fy enaid byw,
Dwyfron fy Mhrynwr mwyn a'm Duw.

1768. Dyled y Cenedloedd.—M. 34.

Teg wawriodd arnom ddydd
A welwyd gynt trwy ffydd,
Gan rai sy'n awr
O'r cystudd mawr yn rhydd;
Ac os oedd dyled arnynt hwy
Foliannu'r Oen am farwol glwy',
Mae'n dyled ni, Genedloedd,
Fil miloedd foli mwy.

Crist Iesu, Brenin nen,
Fu farw ar y pren,
Gofidus awr,
Pan rwygai i'r llawr y llen;
Y gyfraith bur a gadwodd ef,
Mae'n awr yn eiriol yn y nef;
Cyflawniad prynedigaeth
Yw grym eiriolaeth gref.

1769. Nerth yn yr anial.—M. 7.

Teithio 'rwyf trwy ddyrus anial
Tua Salem bur yn awr;
Rhaid im' gael o hyd fy nghynnal
Onide mi sudda i lawr:
Ior anfeidrol,
Dal fi â dy allu mawr.

Wedi teithio trwy'r anialwch,
Melus iawn fydd pen y daith,
Perffaith burdeb a dyddanwch
Geir am dragwyddoldeb maith:
Moli'n Brenin
Yno fydd ein hyfryd waith.

1770. Aros wrth y groes.—M. 10.

Testun penaf fy myfyrdod
Fyddo Crist a'i farwol glwy';
Yna ni wna byd o drallod
Ddifa cysur f'enaid mwy;
Aros wrth ei groes yn gysson
Edrych arno'n rhoddi'r Iawn,
Hyn a darfa fy ngelynion,
Hyn a rydd im' heddwch llawn.

1771. Testun rhyfeddod.—M. 49.

Testun syndod nef y nef
Yw ei iechydwriaeth Ef;
Gwneyd yr euog marw'n fyw
Trwy rinweddau marwol friw!
Cofir am Galfaria fryn,
Cân o'r newydd byth fydd hyn.

Deffro mwy, fy enaid, cân,
Ffynnon gaed i'th olchi'n lân;
Cafwyd meddyginiaeth hael
I drueiniaid euog gwael;
Golchi wneir y dua'n wyn,
Canwn am Galfaria fryn.

1772. Diwedd y cysgodau.—M. 21.

Terfyn ddaeth i'r holl aberthau,
Ciliodd draw y tew gysgodau;

Llyncodd Iesu hwynt yn gyfan,
Yn ei aberth mawr ei hunan.

Dyma'r Oen a laddwyd unwaith,
I ddwyn beiau llawer ymaith;
Yn ei angeu y mae rhinwedd
I ddileu pob rhyw anwiredd.

**1773.** Adgyfodiad Crist.—M. 34.

Terfynodd Crist ei oes
Yn rasol ar y groes,
A rhoddwyd ef
Mewn bedd 'nol goddef loes:
Ond i'r rhai hunant yn ei hedd,
Gwnaeth Iesu berarogli'r bedd,
A dont o'r gwely priddlyd
I wynfyd ar ei wedd.

**1774.** Teyrnasiad Crist.—M. 4.

Teyrnasu mae ein Prynwr da,
Y byd, addola'th Arglwydd;
Cerubiaid ger ei fron a gair
Yn gwneyd ei air yn ebrwydd.

Yn Sion mae gorseddfa'i ras,
Mawr yw ei urddas yno;
Ei wyrthiau draethir yn ei dŷ,
A'i gariad sy'n dysgleirio.

Gwirionedd, cariad, gras, a hedd,
I'w orsedd gyd-weinyddant;
Par'toed pob calon iddo le,
Teilynga ef ein moliant.

**1775.** Edrych ar y truan.—M. 5.

Teyrnasu'n uchel mae Duw'r nef,
Yr uchel balch ddirmyga ef,
Ond plyg o'i orsedd fawr i'r byd,
I wel'd y tlodion isel-fryd.

Yn nghanol mil o faglau a braw,
Fy nghadw a'm cynnal mae dy law;
Cryfhau fy enaid llesg mae'th air,
A'm marwaidd ffydd drwy hwn fywhair.

**1776.** Cadarn dwr.—M. 26.

Ti Arglwydd yw fy nhŵr,
A'm trysor yn mhob man;
A noddfa gadarn yn mhob gwae
I'm henaid gwan;
Rho nerth i eiddil ffoi
I fynwes bur fy Ner,
Pan f'o gelynion yn crynhoi
Rifedi'r sêr.

Crist bellach fydd fy nghraig,
A'm castell cadarn clyd,
Fy nhŵr, fy nerth, a'm nodded glân,
A'm cân i gyd;
Fe dalodd werthfawr waed,
Pwy all gondemnio mwy?
Can's anfeidroldeb maith a gaed
Mewn Dwyfol glwy'.

**1777.** Maddeuol ras.—M. 7.

Ti faddeuaist fyrdd o feiau,
I'r pechadur gwaetha'i ryw;
Maddeu, maddeu, etto i minnau,
Ar faddeuant 'rwyf yn byw;
Boed dy haeddiant, &c.,
I mi'n ymffrost ac yn rym.

Mae e'n maddeu beiau mawrion,
Ac yn caru yn ddidrai;
Ac lle caro, mae ei gariad
Yn dragywydd i barhau;
Nid oes derfyn, &c.,
Byth ar rym maddeuol ras.

**1778.** Ofni'r bedd.—M. 9.

Ti Farnwr byw a meirw,
Agorwr dorau'r bedd;
Terfynau eitha'r ddaear
Sy'n dysgwyl am dy hedd;
'Dyw gras i ti ond gronyn,
Mae gras ar hyn o bryd,
Ryw filoedd maith o weithiau,
I mi yn well nâ'r byd.

Pwy rydd im' falm o Gilead,
Maddeuant pur a hedd,
Nes gwneyd i'm henaid edrych
Heb ofni ar y bedd;
A dianc rhag gwasgfeuon
Euogrwydd creulon cry',
'Does neb ond ef a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari.

**1779.** Hyfrydwch yn Nghrist.—M. 9.

Ti, Iesu, fo'n hyfrydwch
Fy meddwl i'w fywhâu,
A gwrthddrych pur fy nghariad,
I'th hoffi a'th fwynhâu;
Fy ymffrost a'm gogoniant,
Trwy hyn o anial daith;
A'm cyflawn iechydwriaeth
I dragwyddoldeb maith.

Tydi sy'n llawen wledda
Holl luoedd nefoedd fawr;
A thi sy'n lloni calon
Pechadur ar y llawr;
Tydi sy'n tynu ymaith
Bob llwyth, a baich, a phoen;
Melusder pob melusion,
Wyt nefol, addfwyn Oen.

**1780.** Einioes fel dyrnfedd.—M. 4.

Ti wne'st fy nyddiau fel lled llaw,
I'm heinioes daw byr ddiwedd;
Diau, i'th olwg di, O Dduw,
Fod pob dyn byw yn wagedd.

O paid â mi, gâd im' gryfhâu
Cyn darfod dyddiau' mywyd;
O gwna i mi sy' mron fy medd
Drugaredd a syberwyd.

Daw dydd i'r cyfiawn, trannoeth teg,
Daw iddo 'chwaneg estyn;
Daw iddo o'r bedd godiad i fyw,
Deheulaw Duw a'i derbyn.

1781. Dyddanydd.—M. 5.

Ti Ysbryd yr addewid lân,
Dyddanydd wyt mewn dwr a thân,
O cynnal f'ysbryd gwan bob awr,
Nes dod yn iach o'r cystudd mawr.

Pan byddo croesau fwy nâ rhif
Yn chwyddo drosof fel y llif,
O dywed air wrth f'enaid gwan,
A'm dygo drwyddynt oll i'r làn.

Pan byddwy'n disgyn at y glŷn
Rho dy ddyddanwch im' bryd hyn,
Datguddia'r gwaed i'm henaid gwan
Yn iechydwriaeth yn mhob man.

1782. Cyffes y Cristion.—M. 4.

Ti yw fy Nuw, a rhof fy mhwys,
A'm coel yn dra dwys arnad;
Fy Arglwydd wyt, boed dan fy mron
Y gyffes hon yn wastad.

Mynegaf dy rinweddol wyrth
Ar gân, yn mhyrth merch Sïon,
A chanmol wnaf â genau ffraeth
Dy iechydwriaeth dirion.

1783. Blaidd gyda'r Oen.—M. 10.

Tored afon iechydwriaeth
Dros ardaloedd pella'r byd;
Llifed dros bob anial diffaith
I'w ffrwythloni'n hardd i gyd;
Trigfa dreigiau a'u gorweddfa,
Ddont yn gyfle cyrs a brwyn,
A'r bwystfilod fu'n dyfetha,
Ddaw'n ddiniwed fel yr ŵyn.

1784. Marw yn yr Arglwydd.—M. 7.

Torf o'm brodyr sydd yn gorwedd
Yn y bedd, anghofus dir,
Yn y dyffryn lle maent hwythau,
Byddaf finnau cyn b'o hir
Lle na chlywir,
Dim o swn trafferthion byd.

Gwyn eu byd y rhai fu feirw
Yn yr Arglwydd, gwyn eu byd,
Maent yn gorphwys yn y porthladd
Fuont yn ei ddysgwyl cy'd;
Gwell yw yno,
Deng mil gwell nâ chyda ni.

1785. Cri mewn adfyd.—M. 4.

Tosturia, clyw, fy Nuw a'm Ner,
Llewyrcha'n dyner arnaf;
Ac onide, yn angeu dir
'Rwy'n ofni'n wir yr hunaf.

Yn dy drugaredd rho'is fy nghred,
A'm holl ymddiried hefyd;
O'th ras, fy Nuw, erglyw fy nghri,
A gwared fi o'm hadfyd.

1786. Tosturi calon Iesu.—M. 5.

Tosturi at golledig ryw
Gynhyrfodd galon fwyn mab Duw,
A disgyn wnaeth o'i nefol lys,
Gan adael mainc ei Dad ar frys.

Tywysog y gogoniant mawr
A daflai'i nefol wisg i lawr;
A'i Dduwdod blygodd yn ddilai,
Mewn llen o gnawd, neu gorff o glai.

A marw o gariad atom wnaeth,
I'n gwared ni o'n cyflwr caeth;
A chododd ein syrthiedig ryw
I gymmod eilwaith gyda Duw.

1787. Diolch am gynhauaf.—M. 3.

Tosturi Duw sydd yn ddi-gel,
A'i gariad fel y môr;
Gwrandawodd gŵyn trueiniaid gwan
O'i lys, anfeidrol Ior.

Er mor annheilwng oeddym ni
Eleni yn ei law,
Arbedodd ef, caed bwyd i ddyn,
Fe droes y newyn draw!

O'i dirion law y gwlaw a'r gwlith
Ai'n fendith i'r holl fyd;
Ei hen gyfammod gyda dyn
Mewn hedd sy'r un o hyd.

A chalon glau dychwelwn glod
Yn lân i'r Bôd dilyth,
A cheisiwn oll o ras ein Ner
Y Bara bery byth.

1788. Cofia fi.—M. 3.

Tra bwyf yn teithio anial wlad
Yn mysg gelynion lu,—
Wrth eiriol fry gerbron y Tad,
O Arglwydd, cofia fi.

Wrth rydio'r hen Iorddonen gas,
Na soddwyf yn y lli';
O dan ddyrnodau angeu glas,
O Arglwydd, cofia fi.

Pan ddelo'r saint i'r lan o'r bedd
Yn moreu'r Jubili,
I'm codi'n berffaith ar dy wedd,
O Arglwydd, cofia fi.

Pan ddyger adref oll yn llon
Dy etholedig ri',
I fyw mewn gwynfyd ger dy fron,
O Arglwydd, cofia fi.

1789. Ofni pechu.—M. 9.

Tra byddwyf yma'n teithio
Ar wyneb daear lawr,

Rho 'rym i'th anrhydeddu
A'th ofni, Arglwydd mawr;
Gwna i mi ofni pechu
Yn fwy nag ofni'r tân,
A charu yn fy nghalon
Dy union gyfraith lân.

1790. Adgyfodiad.—M. 5.

Tra Duw gerllaw, mae'm ffydd yn gref,
Fy nghynnal wna ei freichiau Ef:
Fy nghalon, cân, a llawenha—
Fy nghnawd a drig mewn gobaith da.

Er rhoi fy mhen dan ddaear ddu,
Ni edy Duw mo'm henaid cu;
Llwch cyrff ei saint nid â ar goll,
Ond cyfyd y marwolion oll.

Fy nghnawd, pan alwo, yn y fan
A gwyd yn llon o'r bedd i'r lan;
Ac esgyn ga, trwy'r nefol len,
I'r gwledydd pur sydd fry uwch ben.

Mae yno ffrydiau per eu blas,
A datguddiadau llawn o ras—
Na phrofir yma ond o ran—
Maent yno'n llenwi yr holl fan.

1791. Allorau Duw.—M. 5.

Tra f'om o gylch allorau Duw,
Griddfanau esgyn fynu'n fyw;
A gweddi ddychwel i ni'n glau
O'r nef fendithion amryw rai.

Os cnawd a phechod fo'n cryfhau,
Cawn air o gysur yma'n glau,
Ac arfau da'r efengyl wiw,
I ymladd teg ryfeloedd Duw.

Os ein hysbrydoedd a lesgânt,
A'n cydwybodau eu clwyfo gânt,—
Cwyd Haul Cyfiawnder yma'n glau,
A rhîn o'i esgyll i'n hiachâu.

1792. Tragwyddoldeb.—M. 10.

Tragwyddoldeb! mawr yw d'enw;
Ti mae'n ddiau fydd fy lle;
Teithiwr un diwrnod ydwyf;
O am gartref yn y ne':
Mae fy niwrnod bron a darfod,
Mae fy haul bron myn'd i lawr,
Mae pob awel yn fy chwythu
Tua'r tragwyddoldeb mawr.

Cofia f'enaid, cyn it' dreulio
D'oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn ehedeg draw oddiyma,
Pa un a ge'st ti'r trysor drud:
Yn mha ardal bydd dy letty?
'Fath bryd hyny fydd dy wedd?
Pa un ai llawen ai cystuddiol
Fyddi'r ochor draw i'r bedd?

1793. Môr tragwyddoldeb.—M. 7.

Tragwyddoldeb sydd eangfor
Heb un terfyn iddo'n bod;
Nid oes modd lleihau ei drysor,
Oesau newydd byth yn dod:
Iesu grasol,
Bydd i mi'n dragwyddol ran.

Nid yw amser, byd, a'i elw,
Ddim wrth dragwyddoldeb maith,
Cyflym beunydd, bob mynudyn,
Tuag yno mae fy nhaith;
Cyn myn'd yno,
O am iechydwriaeth rad.

1794. Caethiwo caethiwed.—M. 9.

Tragwyddol glod i'r Cyfiawn
Fu farw dros fy mai,
Fe adgyfododd eilwaith
O'r bedd i'm cyfiawnhau:
Ar orsedd ei drugaredd
Mae'n dadlu yn y ne',
Ei fywyd a'i farwolaeth
Haeddiannol yn fy lle.

Palmantodd ffordd i'r bywyd,
O'r ddaear hyd y nen,
Mewn ing a loesau chwerw,
Wrth farw ar y pren:
Caethiwodd bob caethiwed,
Rhoes roddion i'w holl saint,
Na fedr neb tafodau
Fynegu byth eu mhaint.

1795. Addewidion sicr.—M. 20.

Tragwyddol ogoniant
A rodder o hyd
I'r Hwn a sylfaenodd
Golofnau y byd;
Da ydyw, a grasol,
Ei enw fawrhair,
Mae'n doeth lywodraethu
Y bydoedd â'i air.

Ei fwyn addewidion
I ddynion ro'dd Duw,
Ac arnynt yn felus
Mae'r duwiol yn byw:
Lleferydd Ion ydynt,
Rhof ynddynt fy nghred,
Eu Hawdwr a daenodd
Y nefoedd ar led.

1796. Genedigaeth Crist.—M. 16.

Tra gynt yn gwylio'u praidd un tro
A'r wybren a'r flodeuog fro,
Dan gysgod nosawl len,
Melltenai ffrwd o nefol ddydd
Ar olwg syn fugeiliaid prudd
Fry o'r arswydol nen.

O'r cwmwl torai cerub gwyn,
Ac mewn iaith ddynol d'wedai hyn,
Ond gyda thirion lef;
Fe ddaeth y dydd fu'n destun brud
I feirdd a saint hen oesau'r byd,
Llawened dae'r a nef.

Fe aned heddyw Geidwad byd,
Croesäwch chwithau'r bore i gyd,
A cheisiwch Frenin nef: [cnawd,
Yn Methl'em gwelwch Dduw mewn
Daeth Crist yr Arglwydd i chwi'n Frawd,
Ewch a chyhoeddwch ef.

Ar hyn dadseiniai nefol gôr,
Boed fry ogoniant i Dduw Ior,
A dynion, hedd gânt hwy:
Mewn cydgerdd â'r seraphaidd lu
Canmolwn gariad rhad Duw cu
Mewn per ganiadau mwy.

1797. Wylo a llawenhau.—M. 27.

Tra'n dysgwyl cael rhyw degwch,
Goleuni a thawelwch,
Tywyllwch yma sydd;
Er wylo brydnawn,
Trwy ffydd yn yr Iawn
Ar fyrder cawn lawenydd.

Os yn y byd 'rym ynddo
Ceir galar trist ac wylo,
Cawn gofio, er yn wan,
I'n Prynwr a'n Brawd
Fyn'd drosom yn dlawd,
A dyodde'r gwawd ei hunan.

1798. Angeu.—M. 5.

Tra'n gŵyro i lawr dros ddibyn oes,
Fy enaid ofnus saif yn syn,
Ar nofio afon angeu croes
Wrth dy orchymyn, Iesu gwyn.

Pan gefno pob cydymaith mwy,
Pan lènir pob golygfa hardd,
Pan ddaw'r uchenaid olaf trwy
Fy mynwes lesg yn ddiwahardd;—

O Dduw'r dyddanwch! dy fraich glau
Yn unig weryd awr o bwys;
Gwasgara'r caddug sy'n amgau
Y gul fynedfa at y gwys!

Gan bwyso ar dy ddwyfron di
Boed i mi dynu'm holaf ffûn;
Goleua'm marwol wely i
A gwenau llon dy serch dy hun.

1799. Gweddio yn ddibaid.—M. 3.

Tra'n teithio trwy'r anialdir cras,
Llewygu'n lân nid rhaid;
Cawn anfon llef at orsedd gras,—
Gweddiwn yn ddibaid.

Wrth fyn'd trwy'r byd gwna gweddi ffydd
Ein codi uwch y llaid;
Ac o law'r gelyn dwg ni'n rhydd—
Gweddiwn yn ddibaid.

Nac ofnwn mwy, addawodd Duw
Gyflawni ein holl raid;
Hyd nes awn ato byth i fyw,
Gweddiwn yn ddibaid.

1800. Cwmni Iesu.—M. 21.

Tra rhaid i mi wisgo'r arfau,
Dwyn y groes drwy orthymderau,
Rho dy gwmni, dyna ddigon,
Nes myn'd adre' i wisgo'r goron.

Dyro nerth im' wir goncwero
Pob rhyw elyn sy'n fy mlino,
Yna derfydd fy nghystuddiau,
Troir fy ngalar yn ganiadau.

Mwyn rhyfeddol fydd y canu,
Pan ddel Sion oll i fynu,
At y rhai sy'n awr yn hwylus
Chwareu eu tànau yn mharadwys.

1801. Cyfaddef bai.—M. 5.

Tra tawaf son, gan gelu o hyd
Euogrwydd trwm fy enaid drud,
Pa ing trwy fy nghydwybod sydd!
Pa boen o'm mewn wy'n brofi'n brudd!

Cyffesu wnaf gerbron fy Nuw,
Fy nirgel feiau o bob rhyw;
Ei air gyhoedda bardwn rhydd,
A'i Ysbryd yn ei selio sydd.

Am hyn, pob enaid duwiol fryd,
Weddia wrth dy fainc mewn pryd,
Pan lifo temtasiynau mawr,
Ni chânt nesâu i'w soddi'i lawr.

1802. Meddyg cyn clwyf.—M. 10.

Trefnu wnaed, O syndod dirfawr!
Feddyg clodfawr cyn bod clwy';
Cyn bod camwedd trefnwyd cymmod,—
Nis gall fod rhyfeddod fwy:
Un o bleidiau y cytundeb
Fu yn nhragwyddoldeb draw,
Ddaeth i'r byd,—a bywyd ydoedd
I ryw luoedd yn ei law.

Llwyr orchfygodd uffern isod;
Yn y bedd dri diwrnod bu;
Ond buddugol o'r bedd eigion
Daeth y cyfion Iesu cu:
Mae cyfiawnder ynddo'n foddlon,
Cafodd ddigon ynddo ef;
Dros yr euog mae'n bresennol
Fry yn eiriol yn y nef.

1803. Diwedd a dechreu blwyddyn.—M. 10.

Treuliwyd blwyddyn ar ol blwyddyn,
Roddwyd in' gan Frenin nef;
Cawsom etto ddechreu blwyddyn
O'i ddaioni rhyfedd ef:
Uwchben llawer un eleni
Oedd y llynedd yn dra llon,
Gellir heddyw ysgrifenu—
Byddi farw'r flwyddyn hon.

'Hedeg wna fy oriau innau,
A'm blynyddau oll i gyd,
Brysio'r ydwyf tua'g adre',
I drigfanau bythol fyd:

Mae fy amser yn myn'd heibio,
Rhaid im' ado daear gron,
Gallai mod i'n un o'r werin
A fydd marw'r flwyddyn hon.

1804. YR AIL RAN.

NID wyf etto'n gallu dirnad
Pryd daw'r alwad ar fy ol;
Ond cael Iesu'n gyfaill i mi,
Ni raid ofni yn ei gôl:
Cael yr Alpha a'r Omega
I mi'n noddfa rhag pob tòn,
A wna farw i mi'n elw,—
Os rhaid marw'r flwyddyn hon.

1805. Deddfau Duw.—M. 13.

TROADAU dydd a nos,
Sy'n dangos mawredd Duw,
Gan ogoneddu yn eu hiaith
Ei berffaith allu byw;
Ni dd'wedant hwy er hyn,
Un gronyn im' am Grist,
Ond deddfau'r Iôn yn berffaith gaed
Er troi yr enaid trist.

Mwy gwerthfawr ydyw hedd
A rhinwedd pur y rhai'n,
Nâ miloedd lawer o aur coeth—
Holl gyfoeth daear gain;
Melusach y'nt nâ'r mêl,
Mor uchel yw eu nerth,
O'u credu ac o'u cadw hwy,
Mae'r wobr fwya'i gwerth.

1806. Troi'r olwg i Galfari.—M. 28.

TRO d'olwg f'enaid gwan,
I'r làn tan loes,
At hoff Dywysog hedd
Ymgeledd d'oes;
A gwel ar Galfari,
Ei waed yn lli' i'r llawr,
Tro yma am iachâd—
O gariad mawr!

Gwel, dyma'r unig fan
I'r gwan i ffoi;
Yr unig noddfa rydd
I'r llofrudd ffoi;
Sef clwyfau'r Oen dinam
Groeshoeliwyd am ein bai;
Rhy fyr at hyn oedd gwerth
Pob aberth llai.

1807. Cyfaddef bai.—M. 30.

TROSEDDAIS ddeddf fy Nuw,
Fy mhechod dirfawr yw,
O flaen y nef;
Fy enaid plyg i lawr,
Mewn duwiol dristwch mawr,
Mae gobaith i mi 'nawr,
Y maddeu ef.

Fy nghalon, caled yw,
O tyred, Ysbryd Duw,
Chwilfriwia hon;
Dwg fi at Grist a'i groes,
I wel'd ei farwol loes,
Dim arall byth nid oes,
All ddryllio' mron.

1808. Diderfyn gariad.—M. 9.

TRUGAREDD a gwirionedd
Yn Nghrist sy'n awr yn un;
Cyfiawnder a thangnefedd
Yn nghyd am gadw dyn;
Anfeidrol yw y Ceidwad,
Trysorau'i hedd sy'n llawn;
Diderfyn yw ei gariad,
Difesur yw ei ddawn.

1809. Gweddi am galon bur.—M. 2.

TRUGAREDD dod i mi,
Duw o'th ddaioni tyner;
Ac ymaith tỳn f'anwiredd mau
O'th drugareddau lawer.

O crea galon bur.
Dod i mi gysur beunydd;
I fyw yn well tra fwy'n y byd
Dod ynof ysbryd newydd.

Aberthau Duw yn wir
Yw ysbryd gwir ddrylliedig;
Ac ni ddirmygi, O Dduw Ion,
Y galon gystuddiedig.

1810. Diogelwch yn Sïon.—M. 4.

TRUGAREDD ein Duw ni sydd fawr,
Ei fawl fo'n ddirfawr hefyd;
O fewn preswylfa'i demlau glân
Y mae ei drigfan hyfryd.

Yn Sion adnabyddir ef,
Yn noddfa gref mewn trallod;
Drwy holl balasau hon yr aeth
Llawn iechydwriaeth barod.

Mewn gorthrymderau o bob rhyw,
I dŷ ein Duw cawn fyned,
I ymbil am ei gariad ef;
Cawn yno gref ymwared.

1811. Nerthu'r gwan.—M. 27.

TRUGAREDD sy'n teyrnasu
Gan godi'r gwan i fynu,
A'i nerthu 'nol ei ddydd,
I deithio yn mlaen
Er dŵr ac er tân,
Tua'r Ganaan nefol beunydd.

Ac yno y gorphwysa,
Pan y gorpheno'i yrfa,
Mewn noddfa nefol rydd;
Ac yna heb friw,
Caiff ganmol ei Dduw,
A dedwydd fyw'n dragywydd.

**1812.** Gwyrddlas fryn Sion.—M. 5.

Trwy ddrain a drysni mae ein taith,
Ond dringo fynu 'rym er hyn;
Anghofir y blinderau maith,
Ond cyrhaedd fry i Sion fryn.

Mae wrth y pyrth angylion mwyn
I'n gwawdd yn addfwyn mewn i'r nef;
Mae'r Iesu'n croesaw yno'i hun
Y pererinion blin i dref.

Fry ar flodeuog wyrddlas fryn,
Ein henaid blin gaiff eiste' i lawr;
A chyfri'n llawen y pryd hyn
Ein teithiau trwy'r anialwch mawr.

Gwagedd ni lygra'n tafod glân,
A phethau gwael ni flina'n clust;
Anfeidrol ras fydd byth ein cân,
A'i gwrando'n llawen y bydd Crist.

**1813.** Etifeddiaeth lân.—M. 4.

Trwy Dduw y syrthiodd i mi ran
O fewn y fan hyfrydaf
Dygwyddodd i mi, er fy maeth,
Yr iechydwriaeth lanaf.

O cadw fi, fy Ior, rhag twyll,
Fel anwyl ganwyll llygad;
Dan gysgod dy adenydd di,
O cuddier fi yn wastad.

O tywys fi ar hyd yr iawn
Nes dod i'th lawn lawenydd,
Ar dy ddeheulaw'n ddedwydd fry
Digrifwch sy'n dragywydd.

**1814.** Cân am Iawn y groes.—M. 39.

Trwy farwolaeth Crist ar bren,
Llawn foddlonwyd nefoedd wen;
Er mor ffiaidd yw fy nghlwy'
Iechydwriaeth Crist sydd fwy;
Iawn difai yr addfwyn Oen
Lona'm henaid er ei boen;
Drwy ei waed câf ddod yn lân,
Iddo byth y bydd fy nghân.

**1815.** Rhagor-amlhaodd gras.—M. 5.

Trwy glwyfau'r Oen a'i boenau drud
Daeth iechydwriaeth lawn i'r byd,
Lle yr amlhäai ein beiau mawr,
Mwy yr amlha rhad ras yn awr.

Golch ni, O Dduw, yn ngwaed yr Oen,
A'th heddwch pur iachâ ein poen,
Glanha ni'n llwyr, a gwrando'n llef,
A'th foli wnawn fyth yn y nef.

**1816.** Rhad faddeuant.—M. 34.

Trwy Grist a'i werthfawr waed,
Y daeth maddeuant rhad
I ddynol-ryw,
Iachawdwr gwiw a gaed;
Ei fywyd pur a'i angeu loes,
A'i ddyoddefaint ar y groes,
A ddygo fy serchiadau,
Tra pery dyddiau f'oes,

Daeth ffynnon loyw lawn
O nefol ddwyfol ddawn,
Yn rhad i ni—
Ein golchi ynddi gawn;
Mae yn y nef ryw dorf yn awr,
A gànwyd ynddi fel y wawr,
A miloedd yn cael trwyddi
Eu llòni ar y llawr.

**1817.** Moses a Christ.—M. 4.

Trwy Moses daeth y gyfraith bur,
Ond heddwch, gwir, a chariad,
A ddaeth i bechaduriaid trist,
O'r nef, trwy Grist ein Ceidwad.

Yn nhŷ Dduw, gyda llawnder llwydd,
Pob un ei swydd gyflawnodd;
Moses fu ffyddlon was ger bron,
Ond Crist Mab ffyddlon ydoedd.

Am hyny rho'wn ufydd-dod ffydd
I'w eirchion newydd odiaeth;
Ar dŷ ei Dad yr Iesu sydd
Yn Llywydd ac yn Benaeth.

**1818.** Teilwng yw'r Oen.—M. 23.

Trwy'r byd y bo son
Am bwrcas ei boen,
A chaned pob teulu
Mai "Teilwng yw'r Oen."

Fy Mhriod a'm Pen
A rwygodd y llen,
Ffordd newydd a bywiol
Sy i fyned uwch nen.

Mor felus y wledd
Fydd gweled hoff wedd
Fy Mrenin a'm Proffwyd,
Mwyn hyfryd mewn hedd.

**1819.** Cân y nef.—M. 15.

Trwy'r nef y trysor penaf yw
Anfeidrol rinwedd gwaed fy Nuw;
Holl sylwedd y caniadau i gyd:
A'r gwaed a roddodd berffaith iawn
I eithaf llym gyfiawnder llawn,
Yw'm hedd a'm cysur yn y byd.

Trwy rinwedd hwn caf dawel fyw
Uwch brad gelynion o bob rhyw;
O swn pob trafferth a phob gwae:
A threulio tragwyddoldeb mwy
I ganu am ei ddwyfol glwy',
Mewn anthem fythol i barhau.

**1820.** Siom mewn dyn.—M. 16.

Trwy siom cyfeillion cefais glwy',
Twyll calon ddu ro'es siomiant mwy,
Ond Duw sy'r un o hyd;

Rhed, rhed, fy enaid ato ef,
Cofleidia drysor nef y nef,
Wna les pan losgo'r byd.
Os oes blinderau i mi'n stor,
Fel fflamau llym neu dònau'r môr,
Mewn byd sy'n llawn o bla;
Pob tòn wna les i'm dwyn yn lân,
A chaf fy mhuro yn y tân,
Am hyn, pob peth yn dda.

**1821.** Ac at Iesu.—M. 36.

Trwy waed ac aberth Iesu,
Diolch byth, diolch byth,
Daeth gobaith bywyd ini,
Diolch byth:
Ar Galfari llifeiriodd
Gras allan, fel y moroedd,
A'r llen i'r llawr a rwygodd,
Diolch byth;
Daeth gras i ran Cenedloedd,
Diolch byth.

**1822.** YR AIL RAN.

At Iesu mae'r efengyl,—
Diolch byth, diolch byth,—
Yn dwyn yr enaid eiddil,
Diolch byth;
Ein Cyfathrachwr nefol,
A'n Testamentwr grasol,
Ac at ei waed rhinweddol,
Diolch byth:
Cawn drwyddo fywyd bythol,
Diolch byth.

**1823.** Cân babanod.—M. 5.

Trwy waed mae golchi, ac nid llai
All ysgar rhyngom byth a'n bai;
Ac am ei rin y peraidd gân
Babanod fyrdd yn gwbl lân.
Ac os yw'r ffynnon fawr yn rhâd,
Rydd i fabanod lwyr iachâd,
Pwy luddias arwydd dwr am hyn,
I ddangos gras Calfaria fryn.

**1824.** Sylwedd y cysgodau.—M. 58.

Trwy y cysgodau cudd,
'Roedd rhai yn canfod
O bell, â golwg ffydd,
Oen Duw yn dyfod:
Y Sylwedd mawr ei ddawn
I dalu perffaith iawn,
A rhoi gollyngdod llawn,
Drwy waed y cymmod.
A syllu draw o bell
A wnaent yn fynych,
Gan waeddi—Gwlad sydd well
Yr y'm yn chwennych:
Dyeithriaid am eu hoes,
Cyfarchent bob rhyw loes,
A'u cred yn Oen y groes—
Ef oedd eu gwrthddrych.

**1825.** Bendithion arfaeth.—M. 19.

Trysorwyd gras,
Ryw annherfynol stor,
Yn Iesu Grist,
Cyn creu na thir na môr,
A rhedeg wnaeth
Bendithion arfaeth ddrud,
Fel afon gref
Lifeiriol dros y byd.
Cyn llunio'r byd,
Cyn lledu'r nefoedd wen,
Cyn cadarnhau'r
Cymylau mawr uwch ben,
Fe drefnwyd ffordd
Yn nghynghor Tri yn un,
I achub gwael,
Golledig, euog ddyn.

**1826.** Bywyd enaid.—M. 5.

Trywanai poen y meddwl hwn,
A'm calon dòrai'n ddwy, mi wn,
Pe Duw, mewn dig, yn niwedd f'oes
A ddywedai wrthyf—"Ymaith dos."
Nis gallaf yma'n foddlon fyw,
Heb gael o lewyrch gwyneb Duw;
Ac heb ei wên ni byddai'r ne',
Ond tywyll a blinderus le.
Gorphwysfa arall hebot ti,
Fy Iesu gwiw, ni cheisiaf fi;
A phan caf ado'r cnawd ar ol,
I b'le'r â f'enaid ond i'th gôl?

**1827.** Trywanu'r Prynwr.—M. 16.

Trywanwyd, do, fy Mhrynwr mâd,
Nes daeth o'i galon ddwr a gwaed,
Yn ffrŵd fel afon bur,
Oedd, ar y llawr i'w wel'd yn llŷn,
Ar hynod ben Calfaria fryn,
O f'enaid, cofia'i gur.

**1828.** Ymdawelu.—M. 10.

Tybiais 'mod i yn y porthladd
Draw o holl ofidiau'r byd,
Wedi cefnu ar y stormydd,
Wedi croesi'r tònau' gyd;
O fy Nhad, eb f'enaid egwan,
Gaf fi ddyfod i dy gol,
Cânu'n iach i bob rhyw bechod
A'm cystuddiau oll ar ol?
Hust, fy mhlentyn, taw, distawa,
Gwybydd di mai fi sydd Duw,
Ymdawela i'm hewyllys,
Cred fy ngofal tra b'och byw;
Os rhaid ymladd â gelynion,
Fy nerth i fydd o dy blaid,
Er yn wan, cei rym i sefyll,
Cei fy nghymhorth wrth bob rhaid.

**1829.** YR AIL RAN.

Boddlon fyddaf doed a ddelo,
Ond dy feddu i mi'n Dduw;

Rhoist dy Fab i brynu'm bywyd,
Trwy ei ryfedd farwol friw,
Llecha'n dawel dan ei gysgod,
Cysgod haeddiant Dwyfol glwy',
Darfod wnaf â'r oll sydd isod,
Ymhyfrydaf ynot mwy.

Edrych bellach a wnaf beunydd,
Gan hiraethu am yr awr—
Pan y derfydd im' a phechod,
Ac y caf roi 'maich i lawr;
Pan ddihunwyf â dy ddelw,
Pan caf wel'd dy wyneb gwiw,
Pan caf foli byth heb dewi,
A bod yn debyg i fy Nuw.

1830. Tegwch Iesu.—M. 5.

Tydi dy hunan, Iesu mawr,
Yw'm dinas noddfa ar y llawr;
Mae tegwch llon dy wyneb pryd,
Yn fil hawddgarach im' nâ'r byd.

Rho im' dy nawdd a'th nerth o hyd,
Wrth fyn'd drwy gyfyngderau'r byd;
Byth wrth dy draed dymunwn fyw,
Hyfrydwch hoff fy enaid yw.

Yn ddiogel, yn dy fynwes gu,
Af drwy yr hen Iorddonen ddu;
Ac byth, mewn hedd, uwchlaw pob tòn,
Caf dawel orphwys ger dy fron.

1831. Tarian y Cristion.—M. 4.

Tydi, O Arglwydd, yn mhob man,
Wyt ran a tharian imi;
Tydi yn unig sydd i'm dal,
I'm cynnal, ac i'm codi.

I'r Arglwydd byth, o herwydd hyn,
Y perthyn iechydwriaeth,
Ac ar ei saint y disgyn gwlith
Ei fendith yn dra helaeth.

1832. Diolchgarwch.—M. 3.

Tydi wyt deilwng o fy nhân,
Fy Nghrewr a fy Nuw;
Dy ddoniau o fy amgylch maent,
Bob mynud 'rwyf yn byw.

O na foed tafod dan y rhod
Yn ddystaw am dy waith,
Mynegaf finnau hyd fy medd,
Dy holl ddaioni maith.

Diolchaf am dy gariad cu
Yn estyn hyd fy oes,
Diolchaf fwy am un a fu
Yn gwaedu ar y groes.

1833. Gweddi a mawl.—M. 4.

Tydi wyt Dduw mewn awr o bwys,
Sy'n gwrando dwys ochenaid,
Atolwg, Arglwydd, clyw fy llef,
Dwg fi i'r nef fendigaid.
Ti fuost im' yn Noddwr hael
Drwy gyflwr gwael marwoldeb,
I'th foli di, O Arglwydd da,
Rhy fyr yw tragwyddoldeb.

1834. Porfeydd Crist.—M. 5.

Tydi yr hwn mae f'enaid drud,
Yn hoffi uwch cariadau'r byd;
Mynega im' fy mugail mwyn,
Pa le'r wyt ti'n bugeilio'th ŵyn.

Pa le mae'r graig, pan fyddo gwres,
Sy'n cadw'r defaid rhag y tês?
Yn mysg dy braidd mae f'enaid prudd
Yn chwennych gorphwys ganol dydd.

Paham, fy Arglwydd, y caf fi
Droi heibio o'th ddiadell di?
Dilynaf ol dy ddedwydd braidd
Gan aros yn dy fras borfeydd.

1835. "Tyn fi."—M. 3.

Tyn fi â rhaffau'th gariad pur,
A rhedwn ar dy ol;
Yn mlaen yr awn i'r hyfryd dir,
Nes gorphwys yn dy gol.

Ein ffydd 'chwanega rhag llwfrhâu,
Ein grasau oll cryfhâ;
Rhag cynllwyn pob gelynion gau,
Bydd i ni'n noddfa dda.

Dros holl drysorau goreu'r byd,
Rho ffydd i edrych draw
Ar diroedd Canaan hardd o hyd,
Ac ar y byd a ddaw.

1836. Diogelwch yn Nuw.—M. 4.

Tyn fi, O Dduw, i'r dalgraig draw
Sy'n mhell uwchlaw pob cenlli';
Gwna gysgod dy adenydd da
Yn amddiffynfa imi.

O fewn dy bresennoldeb di
Byth, Arglwydd, mi breswyliaf;
Tydi yw Tŵr f'ymwared gre'
Y noddfa lle'r ymguddiaf.

Rhoist etifeddiaeth i mi 'mhlith
Y rhai sy'n ofni'th enw;
Os cânt hwy fywyd didranc fry
Caf finnau feddu hwnw.

1837. Cariad anfesuradwy.—M. 20.

Tyr'd Arglwydd anwylaf,
Preswylia dy hun,
Trwy ffydd a gwir gariad,
Yn nghanol pob un;
Fel profom dy gariad,
Fel teimlom, trwy ras,
Lawenydd nas dichon
Un tafod roi maes.

O llanw'n calonau
A gras i'n cryfhâu,
Ehanga'n heneidiau,
Fel gallom fwynhâu,
A gwybod am uwchder,
Lled, dyfnder, a hyd

Dy ras anfesurol,
A'th gariad i gyd.

1838. Cysuron y daith.—M. 10.

Tyr'd i fynu o'r anialwch,
Wedi aros yno'n hir;
Sypiau grawnwin llawnion aeddfed,
Sy'n dy aros yn y tir;
Brysia i ryfel, gwisg dy arfau,
Cymmer galon, dos yn mlaen,
Ffordd nis eolli, mae'n dy arwain,
Gwmwl niwl, a cholofn dân.

Manna nefol wyf yn geisio,
Dwr rhededog gloyw byw,
Sydd yn tarddu o dan riniog
Llŷs ardderchog, llawn fy Nuw;
Ond i'm henaid deimlo'i rinwedd,
Gwneir yr euog brwnt yn lân;
Seiniaf glod dros fyrdd o oesoedd,
Wedi'r ddaear fyn'd yn dân.

1839. Oesau llon.—M. 5.

Tyr'd nefol g'lomen oddifry,
A chod ni ar d'adenydd cu;
Esgyn a dwg ni fynu'n grwn,
Uwchlaw holl bethau'r bywyd hwn.

Tuhwnt i'r wybren isaf hon,
Lle try tragwyddol oesau llon,
Lle mae pleserau pur dilyth,
A ffrwythau i wledda'r seintiau byth.

Pa bryd, fy Iesu, daw y dydd,
A'r hyfryd awr i'm gwneyd yn rhydd,
Pan gaffwyf ado'r tŷ o glai
I drigo 'mhlith y cyfryw rai.

1840. Deisyfiad am yr Ysbryd.—M. 4.

Tyr'd, Ysbryd Glân, colomen ne',
A holl bwerau'r bywyd;
Ac ennyn fflam o'th gariad clau
Yn ein calonau oerllyd,

Gwel yma'n serch yn ymgais mae
Ar ol teganau bydol;
Methu mae'n henaid godi o hyd
I gyrhaedd gwynfyd nefol;

Ein cân sy'n ffurfiol ac yn wan,
Ymgodi i'r lan nis gallwn;
Oer yn ein genau yw mawl ein Duw,
A marwaidd yw'n defosiwn.

O Arglwydd cu, a gawn ni fod
Byth mewn fath nychdod enaid;—
Mor brin ein cariad atat ti,
A'th eiddo i ni helaethed.

1841. Dwyfol arweinyddiaeth.—M. 3.

Tyr'd, Ysbryd santaidd, ledia'r ffordd,
Bydd i mi'n niwl a thân;
Ni cherddai'n gywir hanner cam,
Oni byddi di o fy mlaen.

Mi ŵyraf weithiau ar y dde,
Ac ar yr aswy law;
Am hyny arwain, gam a cham,
Fi i'r baradwys draw.

'Ddiffygia'i ddim er c'yd fy nhaith,
Tra pery gras y nef;
Ac er mor lleied yw fy ngrym,
Mae digon ynddo ef.

1842. Ebenezer.—M. 10.

Tyred, Awdwr gras a rhinwedd,
Ennyn ynof nefol dân;
Ffrydiau diball o drugaredd
Sydd yn gofyn uchel gân;
Dysg im' seinio'r mwyn anthemau,
Dery tànau'r nefol fyd;
Gosod fi ar Fryn y bryniau,
Bryn dy gariad pur a drud.

Yma codaf Ebenezer,
Gras hyd yma a'm daliodd i,
Dysgwyl 'rwyf o'th gariad tyner
Ddod cyn hir i'm cartref fry:
Iesu a'm ceisiodd pan yn estron,
Dug fy enaid caeth at Dduw:
Ac i'm dwyn o law'm gelynion
Talodd waed o ddwyfol ryw.

1843. Gorphwysiad.

O mor fawr i'th ras yw'm dyled,
Beunydd, beunydd, trwy fy oes!
Boed i'th ras, fel cadwyn euraid,
Byth fy rhwymo wrth dy groes:
Mor dueddol wyf i grwydro,
Ac i'th adael wrth fy mlys!
Myn fy nghalon, myn ei selio
Byth â sel dy nefol lys.

1844. Boreu tawel.—M. 7.

Tyred, hyfryd foreu tawel,
Tyred, hapus ddedwydd ddydd,
Pan ca'r dorau pres eu hagor,
Pan y delo'r caeth yn rhydd:
Rho arwyddion, &c.
I fod hyny yn nesâu.

Drwy y niwl a'r tywyll gwmwl,
Gwelaf draw yr hyfryd wlad,
Nes yw'm ffydd yn llefain allan,
Dacw ddysglaer dŷ fy Nhad:
Dyma ddigon, &c.
I mi lwyr anghofio'm gwae.

1845. Dyrysni yr anial.—M. 10.

Tyred, Iesu, i'r anialwch,
At bechadur gwael ei lun,
Ganwaith dd'rysodd mewn rhyw rwydau,
Rhwydau weuodd ef ei hun:
Llosga'r d'rysni sydd o'm cwmpas,
Pâr im' sefyll ar fy nhraed,
Moes dy law ac arwain drosodd,
F'enaid gwan i dir ei wlad.

Cyfod, Haul, a rhwyga'r t'w'llwch,
Chwala'r beiau mwyaf cudd;

Erlid ofnau anghrediniaeth,
  Fel y nos o flaen y dydd:
Rho im' wel'd yr ardal hyfryd,
  Lle mae nod fy ngobaith gwell;
Cadw'm golwg yn yr anial
  Ar y tirion wledydd pell.

1846. Tywalltiad yr Ysbryd.—M. 10.

TYRED, Ysbryd yr addewid,
  O'r uchelder pur i lawr,
Yn dy ddoniau cadwedigol,
  Er ail-eni tyrfa fawr;
Rhwyga'r nef yn awr, a disgyn
  Ar bob oedran heb wahan,
Llanw'r byd, a'r eglwys hefyd,
  Ag effeithiau'r dwyfol dân.

Gweithia'n rymus ar eneidiau,
  Galw filoedd i dy dŷ,
Gwawried, bellach, ar y ddaear
  Hyfryd ddyddiau Jubili;
Chwythed y deheuwynt nefol,
  Nes adfywio pawb i gyd,
Fel bo rhinwedd a santeiddrwydd
  Yn teyrnasu dros y byd.

1847. Tywalltiad gwaed Crist.—M. 16.

TYWALLTWYD ar Galfaria fryn,
O cofiwn ninnau byth am hyn,
  Waed Crist yr addfwyn Oen:
Rhoes yno Iawn, 'does eisieu mwy
Ond ffydd i lechu yn ei glwy',
  A chofio'i ddwyfol boen.

Tywalltodd ar yr allor fawr
Ei briod waed yn llif i'r llawr,
  Yn ufydd drosom ni:
Gwnaeth berffaith Aberth dros ein bai,
Ac ni thalasai neb oedd lai;
  O cofiwn Galfari.

1848. Iesu ein Llywydd yn fyw.—M. 15.

TYWYSOG Sion, ffyddlon yw,
Er marw gynt, mae 'nawr yn fyw,
  Ac wrth y llyw yn trefnu'n iawn:
Gorchfygodd angeu, brenin braw,
Mae'r agoriadau yn ei law;
  Oddiwrtho daw pob gras a dawn.

1849. Un Aberth rhinweddol.—M. 35.

UN aberth mwy nid oes,
  Ond Iesu fu ar y groes,
Iachawdwr rhad, drwy rin ei waed,
  Rhydd im' ryddhad o'm loes:
Mae'n gadarn Ior, a'i ras yn stor,
  Fel môr o drysor drud,
Ac ato ef, ar orsedd nef,
Dyrchafwn lef am gymhorth gref
  I goncro'n beiau'i gyd.

1850. Arch y Cristion.—M. 4.

UN arch a erchais ar Dduw Naf,
  A hyny archaf etto;
Cael dyfod i dŷ'r Arglwydd glân,
  A bod â'm trigfan yno.
Yr Arglwydd yw fy ngoleu i gyd,
  A'm hiechyd; rhag pwy'r ofnaf?
Efe yw nerth fy oes; am hyn,
  Rhag pwy doi dychryn arnaf?

1851. Pabell yr Arglwydd.—M. 22.

UN diwrnod sydd well
  Yn mhabell yr Arglwydd,
Nâ mil i fyw'n ffol
  Mewn cnawdol lawenydd;
Dewiswn dros f'einioes,
  Gael cadw'r drws yno,
Yn nghwmni'r rhagorol
  Saint ethol sy'n teithio,
Gan foli Duw Ner,
  Mewn mwynder cymundeb,
Yn fwy nâ dim pleser
  Mewn plas annuwioldeb.

Dy babell sydd hawddgar,
  Ddigymar ei gemau,
Mae tyniad yn f'enaid
  At dy anwyl drigfanau:
Gwyn fyd y preswylwyr
  Sy'n mhlas Brenin Salem,
Cânt lawnder i'w maethu
  Gan Frawd a fu'n Methlem:
Wrth fyned ar daith,
  Drwy helaeth dreialon,
Hwy gânt y dyffrynoedd
  A'r llynoedd yn llawnion.

1852. Cân rhieni.—M. 5.

UN gair o enau Duw yn glau
A bâr i deulu lawenhau;
I dad a mam o'i ras rhydd ef
Y fraint o fagu plant i'r nef.

Y fam fydd lon gael plentyn byw,
A thraetha'r gwyrthiau wnaeth ei Duw;
Gall ffydd gryfhau, os cnawd wanha,
Addewid Duw a wneir yn dda.

1853. Cymundeb y saint.—M. 4.

UN geilw ein Tad nefol ni,
  Sef Iesu a'i aelodau;
Nyni, plant ienga'i gariad yw,
  A'r cynfab ydyw yntau.

Nid y'm ond amryw ranau byw
  O'r unrhyw Fara 'sbrydol:
Un corff—ond llawer aelod sy,
  A'r Pen yw'r Iesu grasol.

Boed in' galluoedd oll yn nghyd
  Roi iddo gyd-ogoniant,
Pob calon llawn o gariad boed,
  Pob llafar tröed yn foliant.

1854. Ffyddlondeb Iesu.—M. 10.

UN gyflawna'i addewidion
  Ydyw ffyddlon Frenin nef;

Cilia'r nef, â'r ddaear heibio,
  Cyn newidio'i feddwl ef:
'Nol fy nydd mae'n addaw nerthu
  Er fy ngwendid a fy mai;
Mi anturia'r oll a feddwyf
  I'r fath gyfaill yn ddilai.

1855. Gwawr Jubili.—M. 30.

Un olwg ar dy wedd
A'm cwyd i'r lan o'r bedd,
  I'r goleu clir;
I deithio yn y blaen,
Drwy ganol dwr a thân,
Er rhwystrau fawr a mân,
  I'r santaidd dir.

Heb ofni tòraf drwy
Elynion fwy na mwy;—
  O ddedwydd ddydd!
Mae 'meddwl am hoff wawr
Yr hyfryd Jubil fawr,
Yn peri i mi yn awr,
  Bron fyn'd yn rhydd.

1856. Gras ein Harglwydd.—M. 4.

Un peth a geisiaf hyd fy medd,
  O Dduw, na ommedd hwnw;—
Ymddiried ynot tra'n y byd,
  Bob mynud hyd fy marw.

Dy gariad di yw'm dewis lwydd,
  A gras ein Harglwydd Iesu,
A chael cymdeithas d'Ysbryd im',
  Ni cheisiaf ddim ond hyny.

1857. Grym Had y wraig.—M. 15.

Un mawr ei rym yw Had y wraig,
Ysigodd erchyll siol y ddraig;
  Mae ef yn graig a noddfa gre':
Mae llais ei air yn lles i'r gwan:
Pan ddel i ryfel ar ei ran,
  Fe'i cwyd i'r lan i gadarn le.

Am hyny canwn yma'n gu,
Wir fawl i'n Duw o fewn ei dŷ;
  Fel llawen lu wrth godi'r arch;
Y gwr fu dan yr hoelion dur,
Oen diddig hardd yn dyoddef cur,
  I'w enw pur y byddo'r parch.

1858. Presennoldeb Crist.—M. 10.

Unwaith etto mi ddyrchafaf
  Ddwys ochenaid tua'r nef;
Gyda thaerni yr ymbiliaf
  Am ei bresennoldeb ef:
Pwy a ŵyr na wrendy clustiau
  'Rhwn a greodd ddae'r a nen,
Ac na ddaw fy nymuniadau
  Trist hiraethlawn oll i ben?

Mi feddyliais fod y wawrddydd
  Hyfryd ddysglaer bron gerllaw;
Mi debygaf, trwy'r cymylau,
  Gwela'i olau'r ochr draw:

Deued gwyntoedd mwyn y deau,
  Ffoed y cwmwl du o'i le,
Fel y gwelwyf, mewn tiriondeb,
  Bresennoldeb Brenin ne'.

1859. Seren Bethlehem.—M. 10.

Unwaith hwyliais ar y cefnfor,
  Ar ryw nos dymhestlog ddu,
Minnau heb na llyw nac angor,
  Nâ gwawr gobaith o un tu;
Nerth a dyfais wedi gorphen,
  Dim ond soddi yn fy nhrem,
Ar fy ing y cododd seren,
  Seren nefol Bethlehem.

Bu yn lamp arweiniol imi,
  Lladdodd ofnau'r tywyll fedd,
Ac o erchyll safn trueni
  Dug fi mewn i borthladd hedd:
Mae'n awr yn deg, a minnau'n canu,
  Am ddystewi'r storom lem,
A chanaf pan bo byd yn ffaglu,
  Seren, Seren Bethlehem.

1860. Cân forcuol.—M. 4.

Unwaith yn rhagor, f'enaid prudd,
  Y gweli'r dydd yn olau,
Unwaith cei etto foliant roi,
  I'r Hwn sy'n troi'r wybrenau.

Aeth miloedd o eneidiau drud
  O'r byd, er machlud heulwen;
Ond estyn wnaed fy oriau i,
  A'm heinioes sy heb orphen.

Fy oll, O Dduw, a rof i ti,
  Tra meddwyf fi oleuni;
Yna fy haul fachluda'n llon,
  A daw nos dirion imi.

1861. "Hwn fydd mawr."—M. 10.

Weiniaid Sion, pa'm y cwynwch?
  Deuwch, a chydseiniwch gân,
Crist eich Brenin, trwy farwolaeth,
  Gafodd fuddugoliaeth lân;
Y mae angeu wedi methu
  Cadw Iesu yn y bedd,
Adgyfododd mewn prydferthwch,
  Gras a heddwch sy'n ei wedd.

Dyrchafedig yw'r Messia,
  Byth ni theimla ing na chlwy',
Dychryn uffern yw ei enw,
  Fry y mae uwch marw mwy:
Yn mhlith miloedd maith yn moli,
  Iesu yn teyrnasu sydd;
Iddo cân telynau'r nefoedd
  Yn oes oesoedd—*Mawr a fydd.*

1862. Ymlonyddu yn Nuw.—M. 13.

Wel, bellach, f'enaid gwan,
  Dystawa dan dy groes,
A gwel, yn angeu Calfari,
  Oleuni dan bob loes:

Cais drysor yn y nef,
Gwna'th gartref gyda Duw;
Cei fwy nâ'r ddaear is y nen,
A'r nefoedd wen i fyw.

Cei fanna ar dy daith,
A dysgu iaith y nef,
Ac yna esgyn uwch y ser
Yn ei gyfiawnder Ef:
Nac edrych byth yn ol
Ar bethau bydol barch;
Ymgadw drwy yr anial dir
Yn gywir gyda'r Arch.

1863. Ymladd â phla calon.—M. 9.

Wel, dyma oedfa newydd,
O Arglwydd, dyro rym
I ymladd â phla calon,
A llid gelynion llym;
Mae llawer o elynion
Am gael fy mhen i lawr,
Nid oes a'm deil yn unig
Ond gallu'r Meddyg mawr.

Wrth geisio gwneuthur pobpeth
'Rwy'n methu gwneuthur dim;
Wrth geisio concro 'mhechod,
Ychydig iawn yw'm grym:
Er myn'd at bob meddygon,
Gwaethygu wnaeth fy nghlwyf,
Anturiaf at yr Iesu
Yn aflan fel yr wyf.

1864. Cyfaill mewn caledi.—M. 15.

Wel, dyma'r Cyfaill goreu gaed,
Mae'n ganmil gwell nâ mam na thad,
Yn mhob caledi ffyddlawn yw:
Mae'n medru maddeu a chuddio bai,
Ac o'i wir fodd yn trugarhau
Wrth bechaduriaid gwael eu rhyw.

Y sawl a'th gaffo, gwyn fyd hwy,
Nid allant byth ddymuno mwy,
I lenwi eu heisieu oll yn llon:
Mae môr a thir, a da a dyn,
Oll yn dy heddwch di dy hun,
A mwy nâ fedd y ddaear hon.

1865. Sabboth.—M. 4.

Wel dyma'r dydd, Duw a wnaeth hwn,
Dewch, gorfoleddwn ynddo;
Yn ei gynteddau ar yr ŵyl,
Iawn ddysgwn ddysgwyl wrtho.

I fynu awn i fynydd Duw,
Esgynwn i'w gynteddau;
Dysg in' ei ffordd, ac wedi hyn
Ni rodiwn yn ei lwybrau.

1866. Nefoedd y credadyn.—M. 11.

Wel, dyma'r holl nefoedd wy'n geisio,
A dyma wna glirio'm holl glwy',
Cael Crist arnai'n gwenu'n ddigwmwl,
Nid allaf byth feddwl am fwy;
Mae bywyd fy enaid i ynddo,
Ac hefyd o hono daw'm hedd,
Ond i mi gael profiad o'i gymmod,
'Rwy'n hynod o barod i'r bedd.

Efengyl y deyrnas a ddywaid
Fod Prynwr fy enaid yn fyw;
Er lleied o'i degwch a welais,
'Rwy'n foddlon ei ddewis yn Dduw;
Er trymed, er dued fy mhechod,
Hyd heddyw 'rwy'n gwybod mae'n
Un addfwyn, tosturiol, trugarog, [gwa'dd
'Does dim ynddo'n llidiog i'm lladd.

1867. YR AIL RAN.

Cloch aur yr Aberthwr a ganodd
Nes hyfryd ddadseiniodd y ne';
Tawelodd y duon ystormydd,
Aeth pobpeth yn llonydd i'w le:
O byrth, ymddyrchefwch eich penau,
Agored y drysau sydd draw,
I mewn yn Waredwr galluog
Yr Iesu ardderchog a ddaw.

1868. Wele Oen Duw.—M. 43.

Wel, dyma'r Oen—dysgwyliwyd, do,
Yn hir am dano, wele daeth;
Had Abraham yw, Iachawdwr rhad,
Dug drwy ei iawn ryddhad i'r caeth.
Hwn yw yr Oen, a Had y wraig,
Hwn yw ein Craig, Hwn yw y Crist,
A'n sail am hedd a gwledd ddiglwy'
A gafwyd trwy ei angeu trist.

1869. Aberth Crist.—M. 10.

Wele bur gyfiawnder dwyfol;
Tan ei farn troseddwyr fyrdd!
Wele allor, wele Aberth,
Ac Offeiriad mawr ei urdd,
Yn cyfryngu dros yr euog,
Ac yn talu perffaith iawn:
Wele holl berffeithiau'r nefoedd
Ynddo'n cael boddlonrwydd llawn!

Clywch y Meichiau'n dweyd, "Gorphenwyd,"
"Llwyr foddlonwyd," meddai'r Tad:
Clywch yr udgorn mawr yn seinio
Gwaredigaeth a rhyddhad;
Clywch genadon yn cyhoeddi
Cymmod rhad, heb gyfrif bai,
Efengylu cyfoeth Iesu,
A'i gyfiawnder maith didrai.

1870. Messia y proffwydi.—M. 8.

Wele, cawsom y Messia,
Cyfaill gwerthfawroca' 'rioed,
Darfu Moses a'r proffwydi,
Ddweyd am dano cyn ei ddod:
Iesu yw, gwir Fab Duw,
Ffrynd a Phrynwr ddynol-ryw.

Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn ein lle,
Swm ein dyled mawr a dalodd,
Ac a groesodd filiau'r ne':
Trwy ei waed i ni caed
Fythol heddwch a rhyddhad.

1871. Adgyfodiad Iesu.—M. 44.

Wele cyfododd,
Yr Arglwydd gyfododd yn wir,
Do, er gwaetha'r maen a'r bedd,
Adgyfododd Brenin hedd,
Mewn awdurdod o'i allu ei hun.

Llon ymddangosodd
I'w anwyl ddysgyblion yn wir;
"Mwy nac ofnwch, myfi yw,
A fu'm farw, ac wyf fyw,
Mi orchfygais yr angeu fy hun."

Hefyd esgynodd,
Dyrchafodd mewn cwmwl i'r nef;
Ar ddeheulaw'r Tad yn awr,
Eistedd mae ar orsedd fawr,
Mewn anrhydedd a mawredd mae Ef.

1872. Erfyniad am lwyddiant.—M. 10.

Wele draed yr efengylwyr
Ar y bryniau'n weddus iawn,
O mor felus y mynegant
Am faddeuant rhad a llawn!
Cluded llongau dros y tônau,
Y trysorau goreu i gyd;
A chyhoedder geiriau'r nefoedd
Yn holl ieithoedd llwythau'r byd.

1873. Cariad brawdol.—M. 4.

Wele, fath olwg hyfryd iawn
Yw brodyr mewn cytundeb,
A'u holl galonau'n uno'n bur
Yn rhwymau gwir dduwioldeb.

Pan ddelo cariad Crist i lawr
Yn ffrydiau mawr i'w llôni,
A nefol heddwch i'w dwfrhau,
A'u puro, a'u ffrwythloni;—

Mae fel yr olew peraidd drud
A roddid ar ben Aaron;
Hyd at ei draed diferu 'roedd,
Nes gwlychu'i wisgoedd gwychion.

Mae'n hyfryd fel y boreu wlith
A syrth ar fynydd Sion,
Lle dengys Duw'i ogoniant glân,
A'i ras ddifera'n dirion.

1874. Bwrdd yr Arglwydd.—M. 10.

Wele fwrdd ac arlwy'r nefoedd,
Ger ein bron mewn anial wlad;
Wele gorff a gwaed yr Arglwydd
Mewn arwyddion er coffhad:
O am gyfran i'n heneidiau
Heddyw o'r trysorau llawn;
Pethau'r nef sydd uwch pob deall,
Nes ein gwneyd yn ddiwall iawn.

Angeu Crist fel hyn ddangosir,
Yn mhob gwlad a thrwy bob oes;
Gan ryw filoedd fe'i harddelir,
Melus gofir ef a'i groes:
A phan ddelo ar y cwmwl,
Mawr fydd braint ei deulu ef;
Myn'd oddiwrth ei fwrdd daearol
At hyfrydol fwrdd y nef.

1875. Ffynnon Calfaria.—M. 7.

Wele Ffynnon ar Galfaria
A dy gliria, f'enaid, clyw;
Y mae rhinwedd ynddi heddyw
I wneyd myrdd o feirw'n fyw:
Brysia iddi,
Rhag na byddi fory'n fyw.

Iechydwriaeth helaeth radlawn,
Mae hi'n addas iawn i ni;
Tarddu wnaeth o ddyoddefiadau,
Creulawn friwiau Calfari:
'Nawr heb oedi,
Brysiwn oll i'w derbyn hi.

1876. Genedigaeth Crist.—M. 7.

Wele ganwyd y Messia,
Cofiwn heddyw am y dydd,
Awn i Bethlem gyda'r doethion
I'w ganfod ef â golwg ffydd,
Cyd-addolwn,
Wele Dduw yn natur dyn.

Holl blant Sion, gorfoleddwch,
A chyd-genwch newydd gân,
Ganwyd i chwi werthfawr Geidwad
Gwiw a gaed drwy'r Ysbryd Glân;
Cenwch iddo,
Nes adseinio'r nefoedd faith.

1877. Cariad brawdol.—M. 25.

Wele mor ddymunol yw
Cariad brawdol!
Undeb anwyl meibion Duw,
Sydd ragorol:
Rhwymyn hoff perffeithrwydd cu
Ydyw cariad;
Gweddus yw i santaidd dŷ
Duw ein Ceidwad.

Cariad brawdol, ysbryd mwyn,
Sy'n dystiolaeth,
Ddarfod i ni gael ein dwyn
O farwolaeth:
Ar bob rhinwedd a phob dawn
Mae'n rhagori;
Gydag ymdrech dyfal iawn
Gwnawn ei fagu.

1878. Rhosyn Saron.—M. 7.

Wele'n sefyll rhwng y myrtwydd,
Wrthddrych teilwng o fy mryd;

Er o'r braidd yr wy'n adnabod,
Ei fod uwchlaw gwrthddrychau'r byd;
Henffych foreu, &c.,
Caf ei weled heb un len.

Rhosyn Saron yw ei enw,
Gwyn a gwridog hardd ei bryd;
Ar ddeng mil y mae'n rhagori,
O wrthddrychau pena'r byd:
Ffrynd pechadur, &c.,
Dyma ein llywydd ar y môr.

1879. Addewid am Iesu.—M. 4.

WELE'r addewid fawr trwy ras,
A gafas ei chyflawni;
Esgorodd Mair y forwyn wiw,
A'r plentyn yw yr Iesu.

I ddwyn y gwych newyddion da,
Yr angel a 'mddangosai;
A'u traethu i'r bugeiliaid wnai,
Gan esmwythâu eu hofnau.

Ewch, medd ef, wladwyr yn ddiludd,
I ddinas Dafydd rhedwch;
Ganwyd y Mab addawodd Duw,
Mewn preseb heddyw gwelwch.

Ar Jacob llywodraethu wna,
A llaw yn benaf llywydd;
Y cenedlaethau gânt ei ras,
A'i deyrnas byth ni dderfydd.

1880. Troedigaeth yr Iuddewon.—M. 10.

WELE'r faner wen i fynu
Er arwyddo fod rhyddhâd,
A phob groeso i'r Iuddewon
Ddod i Sion am fwynhâd
O fendithion y cyfammod
Wnaed â'u tadau hen cyn hyn,
Ac a seliodd Crist â'i angeu,
Ië, ar Galfaria fryn.

Impier hwynt i'w holewydden,
Er cael rhan o'u rhinwedd pêr;
Doed yr Iuddew mud i gânu
Mwy am olud gras ei Ner;
Cariad rhad a digyfnewid,
A ffyddlondeb mawr didrai,
Ddaeth fel môroedd o Galfaria,
Digon byth i gladdu'r bai.

1881. Mabwysiad.—M. 5.

WELE'r fath gariad rhyfedd rhad,
A roddwyd arnom gan y Tad,
Ni bechaduriaid farwol ryw,
Ein galw wnaed yn blant i Dduw.

Ac nid amlygwyd etto erioed
Mor fawr ryw ddydd y cawn ni fod,
Ond pan ddisgyno Crist o'r nef,
Cawn fod yn debyg iddo ef.

Na foed im' mwyach fel caeth-was,
Nesâu'n ddigred at orsedd gras;
Rho ffydd i lefain, Abba Dad,
Nes esgyn fry i'r nefol wlad.

1882. Galwad y cenedloedd.—M. 4.

WELE'r genedlig eglwys draw,
Ar ddeheu law ei Cheidwad;
Fel priodasferch hardd ei llun,
T'wysogion sy'n ei gwarchad.

Clyw, derbyn, ferch, ei gariad rhad,
Gâd dŷ dy dad yn ebrwydd;
Anghofia mwy dy dduwiau gau,
Gan ufyddhau i'th Arglwydd.

Boed mwy i'th hawddgar frenin, ferch,
Gael dy holl serch yn ufydd;
A'th blant a gân ei fawl ar g'oedd,
Mewn llysoedd o lawenydd.

1883. Cân newydd i'r Oen.—M. 4.

WELE'r gogoniant mawr a fedd
Yr Oen ar orsedd nefoedd;
Par'towch i'w enw newydd gân,
Na cha'dd o'r blaen ei hadrodd.

Boed i henuriaid blygu o'i flaen,
A'r eglwys lân addoli;
A'u phiolau'n llawn o aroglau per,
A'u telynau'n mwynber foli.

Mewn cof y mae gweddiau'r saint,
A'r hymnau maent yn gânu;
Hoff yw eu mawl gan Iesu mwyn,
A gwrando'u cwyn mae'n garu.

1884. Gronyn gwenith.—M. 8.

WELE'r gronyn gwenith nefol
Wedi syrthio i'r ddaear lawr,
Gan ei farw ni bydd unig
Ei ffrwyth a fydd fel gwlith y wawr;
Gwelir fry, anneirif lu,
O ffrwyth marwolaeth Iesu cu.

Mae efengyl hedd yn curo,
Ac yn codi baner gras,
Mewn rhyw filoedd o ardaloedd,
Ar hyd wyneb daear lâs;
Y mae llef bur y nef,
Yn cyhoeddi ei haeddiant ef.

1885. Tlodi Crist.—M. 7.

WELE'r hwn sydd holl-gyfoethog,
Wedi dyfod yn dlawd,
Gado'r nefoedd a'i gogoniant
Dyfod yma i wisgo cnawd!
Rhyfedd gariad,
Iesu Grist ein hanwyl Frawd!

Tlodion gaiff eu cyfoethogi
Trwy ei fawr dlodi ef,
Rhai a gollwyd gaiff achubiaeth
Trwy ei iechydwriaeth gref;
Diolch iddo,
Byth am farw yn ein lle!

1886. Cysgodau o Grist.—M. 5.

WELE'r Messia mawr a ddaeth,
Y forwyn geni'r hâd a wnaeth;

Yr holl broffwydi yn gytun,
Roent iddo'r uchaf le bob un.

Hen Abram ffyddlon lawenhâ'dd,
Hoff olwg ar ei ddydd a ga'dd;
A Moses fwyn broffwydodd fod
Cyflawnwr mawr y ddeddf i dd'od.

Cysgodau fu o hono'n dyst,
Ond cyd-beidiasant pan ddaeth Crist;
Y gwaed, a'r mŵg-darth pêr ei wynt,
Y len, a'r arch, a'r allor gynt.

Cyd-roddai'r hen broffwydi oll
Eu bendith ar ei ben heb goll;
Iesu! addolwn wrth dy draed,
Tydi yw'r addawedig hâd.

**1887.** Sinai a Chalfaria.—M. 10.

WELE Sinai a Chalfaria
Heddyw wedi d'od yn nghyd;
Sylwedd mawr yr holl gysgodau
Yn wynebu Dwyfol lid;
Dacw'r cleddyf wedi deffro,
Dacw'r ddeddf yn d'od yn mlaen,
Dacw aur y gwaredigion
Wedi ei buro yn y tân.

O ddyfnderoedd iachawdwriaeth,
Dirgelwch mawr duwioldeb yw;
Duw y duwiau wedi ymddangos
Yn nghnawd a natur dynol ryw;
Dyma'r Person a ddyoddefodd
Yn ein lle ddigofaint llawn,
Nes i gyfiawnder waeddu, Gollwng
Ef yn rhydd—mi gefais iawn.

**1888.** Gwyrthiau Crist.—M. 9.

WELE y dall yn derbyn
Eu golwg gan eu Duw,
A'r meirw yn cyfodi
O'u beddau, ac yn byw;
A'r mudan yn llefaru
Yn rhyfedd iawn—a'r cloff
Sydd fel yr hŷdd yn llamu,
Gan foli Duw yn hoff.

'Roedd Ysbryd Duw fel yma
Yn tystiolaethu ar led,
Anfoniad ei Fab anwyl
Gerbron y rhai di-gred:
'Roedd hefyd yn amddiffyn
Ei achos ef uwch ben,
Pan ydoedd dan yr hoelion
Yn gwaedu ar y pren.

Y nefoedd, pan bu farw,
Aeth mewn galarus liw;
Ond cododd Ef drachefn,
Ymddangos wnaeth yn Dduw;
Ac yna hardd esgynodd
I orsedd ganol nef;
Am hyny ymddiriedaf
Byth yn ei allu Ef.

**1889.** Magu plant i'r Arglwydd.—M. 4.

WELE y plant a ro'ir i ddyn,
Hiliogaeth ynt i'r Arglwydd;
O'i roddiad Ef daw ffrwyth y bru
I'w magu mewn santeiddrwydd.

Y tŷ nid adeilado'r Ner,
A'n ofer gwaith y seiri;
A'r ddinas ag nas ceidw ef,
Ni thycia gwylio ynddi.

**1890.** Penderfyniad y credadyn.—M. 5.

WEL, talu wnaf, a'm dyled yw,
Fy addunedau i fy Nuw;
Yn ol ei air moliannaf ef,
A rhodio wnaf yn llwybrau'r nef.

Mi fwria' maich ar f' Arglwydd cu,
Y canol Wr, a'm cynnal i;
Gorphwysaf ar ei air dilyth,
Na bydd i'r cyfiawn ysgog byth.

Fy Nuw a ddenfyn im' o'r nef
Drugaredd rad a nodded gref;
Goruwch y nef ymddyrcha Duw,
I gynnal f'enaid gwan yn fyw.

**1891.** Taro'r graig.—M. 19.

WRTH daro'r graig
Daeth allan ddyfroedd clir,
Ein dilyn maent
Drwy'r dyrus anial dir;
Cawn lawenhau,
Wrth yfed dyfroedd byw,
A'n golchi'n lân,
A'n dwyn i gwmni Duw.

Mi ganaf byth
Am haeddiant dwyfol waed,
Fy mhrynu wnaeth,
A'm gosod ar fy nhraed;
Boddlonodd ddeddf
Y nefoedd yn fy lle,
Gan ennill hawl
Im' byth i deyrnas ne'.

**1892.** Plaid yn yr anial.—M. 26.

WRTH deithio'r anial mwy,
Edrychaf tua'r nod;
Nid oes a'm deil dan bob rhyw glwy'
Ond Iesu'n bod;
Ei lais sy'n hyfryd iawn,
A'i ddawn a gaf wrth raid,
Ni cheisiaf, foreu na phrydnawn
Ond Ef yn blaid.

**1893.** Mara'n win.—M. 30.

WRTH deithio'r anial 'rwy'
Yn gorfod myned trwy
Helbulon blin;
Edrychaf tua'r nef,
Derchafaf yno'm llef,
At Dduw—fe ddichon Ef
Droi Mara'n win.

Fe'm daliodd ar fy nhaith,
Er ofni lawer gwaith
Mai marw wnawn;
Er hyn, 'rwy'n byw drwy ffydd,
A gras am ras bob dydd
A nerthodd f' enaid prudd—
O ddwyfol ddawn.

1894. Gorsedd gras.—M. 7.

Wrth dy orsedd 'rwyf am orphwys,
Nes cael blas maddeuant llawn,
A gweddiaf, nes diffoddir
Grym euogrwydd tanllyd iawn;
A chael profi, &c.
Hoff dawelwch yn ei le.

Wrth dy orsedd di mae bywyd,
Yno caf fi hedd a grym;
Ac ni fethodd is y nefoedd
Ag a geisiodd genyt ddim;
Gyda gwylder, &c.
Deuaf at dy orsedd lân.

1895. Dechreu blwyddyn.—M. 9.

Wrth ddechreu blwyddyn newydd
Dod grefydd yn ei grym,
A chalon i dy garu
O Arglwydd, dyro im';
I fyw yn fwy defnyddiol
O cynnal fi o hyd,
A chadw fi'n dy ymyl
Tra byddwyf yn y byd.

1896. Rhyfeddodau newyddion.—M. 9.

Wrth edrych ar ol edrych,
O gwmpas i mi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau
Newyddion yn parhau;
Pan b'wy'n rhyfeddu unpeth,
Peth arall ddaw i'm bryd;
O iechydwriaeth rasol,
Rhyfeddol wyt i gyd!

Ond y rhyfeddod fwyaf,
I'r Tad ro'i Fab ei hun,
Mynwesol Fab ei gariad,
I wisgo natur dyn.
Fe rodd ei fywyd drosom,
Beth all ef ballu mwy?
Mae myrdd o drugareddau
Difesur yn ei glwy'.

1897. Sarph o bres.—M. 5.

Wrth edrych gynt ar y sarph bres,
Derbyniodd gwersyll Israel les;
Ond gwell iachad drwy Grist a fydd
Pan goder ato olwg ffydd.

Ar groes, mewn ing gynt hoeliwyd Ef,
Ond fry mae'n awr ar orsedd nef;
A'r rhai ga'dd gan yr hen sarph friw
Ond edrych arno a gânt fyw.

Pan y canfyddir Crist drwy ffydd
Y meirw yn adfywio sydd;
Yr Iuddew wêl ei obaith gwiw,
A'r ffyddiog estron a gaiff fyw.

1898. Edrych ar y groes.—M. 5.

Wrth edrych, Iesu, ar dy groes,
A meddwl dyfnder d' angeu loes,
Pryd hyn 'rwyf yn dibrisio'r byd,
A'r holl ogoniant sy ynddo i gyd.

Ennyned ynof gariad cu,
Mewn cydsain â'r nefolaidd lu;
Na foed i'm swydd, ond hyfryd son,
Am nefol rinwedd gwaed yr Oen.

Pan adnabyddwyf iaith y wlad,
A phur ganiadau tŷ fy nhad;
Dechreuaf gân am farwol glwy',
Na chlywir diwedd arni mwy.

1899. Iawn Crist.—M. 6.

Wrth feddwl am y gwaed
A lifodd ar y groes,
A'r Iawn anfeidrol gaed
Yn angau Crist a'i loes:
O todded ein calonau 'n awr
Wrth gofio am ei gariad mawr.

Y cwpan chwerw llawn
A yfodd ef i gyd,
A'r ddeddf ga'dd berffaith Iawn
Yn ei ddyoddefaint drud:
Coronau fyrdd fo byth ar ben
Yr Oen fu farw ar y pren.

1900. Byd yr ysbrydoedd.—M. 4.

Wrth fyn'd o'r corff at Dduw i'r lan,
Fy ysbryd pan ddychwelo,
Pa ddull bryd hyn fydd ar fy mod,
Nid wyf yn gwybod etto.

Pa le, pa lun, pa fath, pa fodd
Y mae ysbrydoedd hawddgar,
Fy hen gyfeillion anwyl gynt—
Tra'r oeddynt ar y ddaear?

Er maint fy chwant i ddeall iaith
Y byd 'rwy'n ymdaith iddo,
'Ddaeth neb oddiyno 'nol erioed
I roi im' wybod etto.

Os trefn Duw yw cadw'n gel
Y byd a ddel o'm golwg;
Pan rwygo'r llen, caf wel'd yn glau
Ei fythol bethau'n amlwg.

1901. Gorthrymder y byd.—M. 7.

Wrth fy nghuro gan y stormydd,
Wrth fy maeddu gan y don,
Wrth fy nryllio yn erbyn creigiau,
Blinais ar y ddaear hon:
O am ddyddiau, &c.
Pan ddarfyddo pechu'n lân.

Draed lluddedig dewch i fynu,
Ymestynwch ddwylo yn mlaen,
Draw mae'r wobr, draw mae'r goron,
Draw mae 'Mhriod hawddgar glân;
Ffarwel ofid, &c.
Cofio wnaf am ben y daith.

1902. Rhodio wrth ffydd.—M. 20.

Wrth ffydd, o'r llawenydd
A brofir ryw bryd,
Y rhodiwn drwy dywyll
Anialwch y byd;
Nes myn'd yn iach adref
I ddinas y ne',
Ffydd yw ein harweinydd,
A'n llewyrch i'r lle.

Cyflawnu mae'r diffyg
O olwg yn wir,
A phâr i'r pyrth perlaidd
Ymddangos yn glir,
I fydoedd pellenig
Hi lon edrych draw,
A dwg y gogoniant
Tragwyddol gerllaw.

Fel hyn y gwnaeth Abram
Ar archiad Duw'r nef,
Ei hen wlad adawodd
Ac aeth gydag ef;
Gwel'd tir yr addewid
Yr ydoedd ei ffydd,
A'i sel oedd hi'n danio
Wrth deithio bob dydd.

1903. Llawn ollyngdod.—M. 32.

Wrth gael fy nghuro dan bob tòn,
'Rwyf yma bron diffygio;
Gelynion nerthol sydd bob cam
Yn ddiwyd am fy nhemtio;
Ond derfydd amser y gorthrymder,
Daw f'enaid bach yn iach ar fyrder,
Caf lawn ollyngdod o bob pechod,
Mae 'nghalon eisus gyda 'Mhriod;
O groesaw angeu, moes dy law,
Fe ddarfu braw dy ddyrnod.

1904. Griddfanau Iesu.—M. 12.

Wrth gofio'i riddfanau'n yr ardd,
A'i chwys yn ddefnynau o waed;
Aredig ar gefn mor hardd,
A'i daro â chleddyf ei Dad;
Ei arwain i Galfari fryn,
A'i hoelio ar groesbren o'i fodd,—
Pa dafod na chanai am hyn!
Pa galon mor gyndyn na thodd!

1905. Hiraeth am y nef.—M. 12.

Wrth gofio'r Gaersalem sydd fry
Y ddinas breswylia fy Nhad;
Rhyw hiraeth drwy'm henaid y sy,
Am gyrhaedd i gyrau y wlad;
Mae yno yn ddysglaer o hyd,
Yn oleu'n dragywydd heb nos;
A choron 'nol darfod y byd,
I'r rhei'ny sy'n codi y groes.

O faint yw hyfrydwch y wlad
Sy'n wleddoedd o gariad i gyd;
Ni welir na brwydyr na brad,
Nid ofnir na lleiddiad na llid;
O'r fraint os af finnau ryw bryd
I wynfyd,—greadur mor wael;
Drwy haeddiant Iachawdwr y byd
Mae 'madael â gofid i'w gael.

1906. Cofio taith yr anial.—M. 28.

Wrth gofio teithiau dydd
Y cystudd mawr,
A chroesau'r anial dir
Yn wir, yn awr,
Ennyna'r seintiau gân
Yn anian bur y nef;
A'r gân i gyd a fydd
Byth iddo ef.

Bydd llu y nefol fro
Yn cofio'r Iawn,
Gan eilio'r gân o hyd
Mewn gwynfyd llawn;
Mwyn fydd eu cân i gyd,
Am gael mewn byd o boen,
Hedd a maddeuant rhad
Drwy waed yr Oen.

1907. Ymborth enaid.—M. 5.

Wrth groes mab Duw ymgrymu wnawn,
O ffrwythau'r nef mae'i fwrdd yn llawn;
Ei gnawd sydd fwyd i'n henaid byw,
A'i waed yn wir sydd ddiod wiw.

Dylifo wnaeth y ffynnon hon,
O gariad ei friwedig fron;
Am hael arlwyo y fath wledd,
Fe'i molir byth tu draw i'r bedd.

1908. Ffrwythau'r groes.—M. 28

Wrth orphwys ar yr iawn,
Ni gawn i gyd
Felusion ffrwythau'r groes,
Drwy'n hoes o hyd;
Mae yma hyfryd win
I flin, o beraidd flas,
Maddeuant pur a hedd,
O ryfedd ras.

1909. Ymadrodd am y groes.—M. 5.

Wrth son am angeu Calfari,
Pan drengai Iesu drosom ni,
Terfynau'r byd i gyd a gân,
Dan wenau ei gyfiawnder glân.

Y son am wyrth ei goncwest ef
A rwyga deyrnas uffern gref:
A'r son am noddfa glyd i ffoi
A ddysg i'r euog iddi droi.

Caed yn ei angeu gwerthfawr ef
Iawn perffaith i ofynion nef;
A'r olwg ar ei Iawn, drwy ffydd,
Dry'r dduaf nos yn nefol ddydd.

1910. Cynhauaf addfed.—M. 4.

Wrth syllu ar diriondeb Ion,
Boed uchel son am dano;
Pob perchen tafod yn y llwch,
Cydunwch i'w fendithio.

Yr haul a'r gwres sydd yn ei law,
A'r gwynt a'r gwlaw bob amser:
A gofal ei drugaredd sy
Am danom ni yn dyner.

Holl ffrwythau'r ddaear yn gytun,
Er lles i ddyn was'naethant:
Am holl diriondeb Brenin nef
Rhown iddo Ef ogoniant.

1911. Hyder mewn gweddi.—M. 4.

Y boreu mi weddiâ'n brudd,
A chanol dydd yn wastad,
A'r nos yn daer y ceisiaf Dduw;
Ac yntau glyw'm deisyfiad.

Rhag ofnau ceidw f'enaid gwan,
Neu gwared pan fwy'n ofni;
Angylion fyrdd a ddont o'r nef,
Pan archo ef i'm gweini.

Bwriaf fy maich ar f'Arglwydd cu,
Fe'm deil i fynu'n ffyddlon:
Gorphwysaf ar ei air dilyth,
Ni syrthia byth y cyfion.

1912. Haelioni Duw.—M. 4.

Y cof o'th ras mor felus fydd,
Fy Nuw, a'm Llywydd nefol:
Datganed oes wrth oes yn ber
Dy bur gyfiawnder dwyfol.

Er bod Duw fry, ni cheidw ef
Ei dda i'r nef yn unig:
I dlodion byd haelionus yw,
Fe leinw pob rhyw ddiffyg.

Gan Dduw y mae'r cre'duriaid gwael
Yn dysgwyl cael eu porthi:
Dy law ddarpara iddynt fwyd,
A'u genau wyd yn lenwi.

Mor fwyn yw'th dosturiaethau, Naf,
A'th lid mor araf gyffry;
Pob cysur pur anfoni'n glau
I'r rhai sydd am dy garu.

1913. Adgyfodiad y meirw.—M. 9.

Y corff a ro'ir i orwedd
Mewn llygredd yn y llawr,
Yn anllygredig godir,
O'r bedd y bore mawr;
Y marwol hwn a wisgir
Ag anfarwoldeb gwir,
Fel gallo gyd-fodoli.
A Duw mewn gwynfyd pur.

Mor ddedwydd fydd y bore!
Pa bryd y gwawria'r dydd!
Pan ddelo caethion angau
O'i garchar oll yn rhydd?
Yn hardd ar ddelw Iesu
O gyrhaedd pob rhyw wae,
Cânt syllu yn ei wyneb
A'i weled fel y mae.

1914. Trysorau cuddiedig.—M. 23.

Y cysur i gyd
Sy'n llanw fy mryd,
Fod genyf drysorau
Uwch gwybod y byd.

Ac er bod yn nghudd,
Nas gwel hwynt ond ffydd,
Ceir eglur ddatguddiad
O honynt ryw ddydd.

Fy Iesu mwy fydd,
Fy Noddfa bob dydd,
O ddyfnder pydewau,
Fe'm rhoddodd yn rhydd.

Nid oes i'm iachâd,
Mewn dim ond ei waed,
Fy heddwch a'm haeddiant
Fy nerth a'm parhad.

1915. Diwedd y credadyn.—M. 4.

Y duwiol ddyn sy'n byw drwy ffydd,
Hon iddo rydd gynnaliaeth;
Un gradd o'i obaith ef ni syrth
Yn wyneb pyrth marwolaeth.

Y nef agorir iddo'n glau,
Angylion a'i croesawant
I heirdd drigfanau tŷ ei Dad
Yn hyfryd wlad gogoniant.

Dedwyddwch fydd ei gyfran mwy
Diangodd drwy ofidiau;
Fy mywyd i a'm diwedd f'o
'Run wedd â'i eiddo yntau.

1916. Sinai a Chalfaria.—M. 5.

Y Duw lefarodd yn ei ŵg
Ar Sinai gynt, o'r tân a'r mŵg;
Sy'n awr yn gwa'dd â thirion lef,
Am i ni geisio'i wyneb ef.

O Galfari daw'r sain yn awr,
O glwyfau dwys y Meichiau mawr,
Llef gwaed yr Iesu anwyl yw
Yn dangos modd i'r euog fyw.

1917. Tad yn taranu.—M. 4.

Y Duw sydd yn teyrnasu fry,
Ac yn taranu o'r nefoedd,
Sy'n marchog ar y cwmwl du
A llywodraethu'r moroedd.

Y Duw ofnadwy hwn yw'n Tad,
A'n hanwyl gariad hefyd:
Fe ŷr i lawr angylion lu,
I'n dwyn i fynu i'r bywyd.

Cawn yno wel'd ei wyneb gwyn,
Heb bechu yn dragywydd;
Ac o afonydd gras y cawn
Byth yfed llawn foddlonrwydd.

1918. Gofal tyner Duw.—M. 5.

Y Duw trugarog doeth a ŵyr
Mai llwch yw'n defnydd oll yn llwyr,
Dim beichiau arnom ni ddyd ef
Tuhwnt i'r nerth a rydd o'r nef.

Fe ŵyr mor wan yw'n natur ni
Pob awel sy'n ei sigo hi;
Gwywedig y'm fel blodau'r maes
Y boreu'n llon, brydnawn yn llaes.

Ond ei dosturiol serch dilyth
At bawb o'i saint a bery byth;
A'i nawdd a rydd i blant eu plant,
Gobeithio'n ofer byth ni chânt.

1919. Edrychiad Iesu.—M. 5.

Y DDAEAR faith, â'r ëang fôr,
Sy'n datgan gwaith ein cadarn Iôr;
A'i fawr ogoniant welir fry,
Yn ddysglaer yn mhob seren sy'.

Ond yn edrychiad Iesu cawn
Wel'd holl ogoniant Duw yn llawn;
Dysgleirdeb hoff ei wyneb ef
Lewyrcha'n fwy nâ holl lu'r nef.

O n'allwn fyw i fyn'd i'r lle
Cawn wel'd ei wyneb hawddgar E';
Yno'i holl degwch eglurhair,
A'i foli wnant â'r delyn aur.

1920. Diwedd Blwyddyn.—M. 4.

Y FLWYDDYN dry oddeutu'n glau,
A dirwyn mae ein dyddiau;
B'le bynag b'om, beth byna' yw'n gwaith
Yr y'm ar daith i'n beddau.

Mynudau a ymddengys in'
Yn fuan sy'n ymado;
Nis gallwn byth ddweyd—"Yma maent"
Ond dweyd—" Hwy aethant heibio."

Ein bywyd beunydd a fyrhâ,
Fel yr amlhâ ein dyddiau;
Ac fel mae'n gwaed yn curo'n glau,
O hyd nesâu mae angau.

1921. Cynhauaf ffrwythlon.—M. 4.

Y FLWYDDYN hon, coronaist ti
A'th fawr ddaioni'n gysson;
Corona ninnau â dy ras,
Er addas dreulio'th roddion.

O'th ddoniau rhad, y flwyddyn hon
Fu dirion ei thymhorau,
Hîn hau a medi ro'ist i ni
Yn ol dy gu ammodau.

Bendigwn byth dy enw mâd
Ti yw ein Tad a'n llywydd;
Ac eiliwn i ti gerdd heb dawl,
Fy enaid mawl di'r Arglwydd.

1922. Cwpan chwerw Crist.—M. 7.

YFODD Crist y cwpan chwerw
Nes bu farw ar y pren,
Dan effeithiau'r gwenwyn marwol
Y gogwyddodd yno'i ben;
Ond wrth farw,
Llyncodd angeu mawr ei rym.

Iawn anfeidrol yno roddodd,
Anrhydeddodd ddeddf ei Dad;
Ac o'i angeu drud mae'n llifo
Afon iechydwriaeth rad:
Dyma ddigon, &c.,
Nid oes eisieu Aberth mwy.

1923. Ffordd gul.—M. 6.

Y FFORDD i deyrnas nef
Ffordd uniawn santaidd yw,
Y ffordd a drefnodd ef
I'n dwyn byth ato i fyw;
Wrth deithio hon caf ddod i'r lân
Lle mae fy Mhriod yn y man.

Ffordd gul yw hon, mae'n wir,
Ond mae'n un amlwg iawn,
Fe'n dyg o'r dyrus dir
I wlad y gwynfyd llawn;
Ar ben y daith cawn foli Duw,
Am drefnu ffordd i ni gael byw.

1924. Gorseddfainc y gras.—M. 5.

Y FFORDD i nesu at y Tad,
Yr unig ffordd, yw Crist a'i waed,
Ac os gofynwn er ei fwyn,
Yn ebrwydd gwrendy Duw ein cwyn.

Awn at yr orsedd lân yn awr,
Gan ddadlu gwerth yr Aberth mawr,
Mae miloedd heddyw yn y nef,
A lwyr fendithiwyd trwyddo ef.

1925. Ffynnon Calfaria.—M. 20.

Y FFYNNON agorwyd
Ar Galfari fryn,
Sydd etto yn golchi
Y duaf yn wyn;
Hi gànodd fyrddiynau
O'r duaf eu lliw,
Maent heddyw yn Salem
Yn canmol eu Duw.

Am hyny'n hyderus,
Er cymmaint fy mai,
Af finnau i'r ffynnon
I gael fy nglanhau;
Er maint yw halogrwydd
Fy meiau o'r bron,
Mae rhinwedd digonol
I'm golchi yn hon.

**1926.** Urddiad gweinidog.—M. 4.

Y GAIR pregethwch, byddwch daer
  Bob amser caer chwi'n ddyfal;
Cynghorion a rhybuddion rho'wch,
  I hyn ymro'wch heb attal.

Annogwch bob rhyw enaid blin,
  Sy'n crynu ar fin anobaith,
I gredu yn Nghrist, ac ufyddhau,
  A bwrw'i ofnau ymaith.

Rhodiwch o flaen eich praidd yn bur
  Fel siamplau eglur duwiol,
O sel, a ffydd, a chariad gwiw,
  I'w dysgu i fyw'n grefyddol.

Gan y Pen-bugail pan y del
  Y dydd mawr uchel ola',
Cewch goron o ogoniant fry,
  Dragwyddol ni ddiflana.

**1927.** Gwerth y Bibl.—M. 3.

Y GAIR sy'n dangos gras ein Duw,
  Anfeidrol yw ei faint;
Cawn yma wel'd cyfiawnder Crist,
  I'r enaid trist yn fraint.

Hwn yw ein hymborth pur dilys,
  A'n lluniaeth melus yw;
Holl foethau daear byth ni chair
  Yn debyg i air Duw.

Er chwilio'r greadigaeth fawr,
  A'i thrysor dirfawr hi,
Gwael ydyw golud byd a'i lwydd
  Wrth air ein Harglwydd ni.

**1928.** Cynnydd y "gàreg."—M. 11.

Y GAREG a dòrwyd o'r mynydd,
  Ar fyrder a leinw'r holl fyd,
Ymdreiglo y mae drwy'r teyrnasoedd
  Gyflymach, gyflymach o hyd;
Hi ddryllia holl dduwiau'r paganiaid,
  O'r diwedd hwy syrthiant i'r llawr;
O'i blaen y malurir pob rhwystrau,
  A'i chynnydd yn ddiau fydd mawr.

**1929.** Melusder yr addewidion.—M. 30.

Y GEIRIAU oll i gyd,
Roed im' o bryd i bryd,
  Sydd felus iawn;
Boed i mi wrando llef,
Pereiddiaf sain y nef,
Efengyl gadarn gref,
  A'i heffaith llawn.

Mae heddyw yn y nef
Fyrddiynau gydag ef,
  Yn cânu ei glod;
Dewch, dringwn tua'r làn,
Cawn feddu yn y màn,
Yr ardal ro'ed i'n rhan,
  Hyfryda' erioed.

**1930.** Dedwyddwch y gostyngedig.—M. 9.

Y GOSTYNGEDIG ddynion,
  A pherchenogion ffydd,
Gânt hyfryd dderbyn yma
  Bob bendith gyda budd:
Yn frawdol ymhyfrydant,
  Tra byddant yma'n byw,
Wrth wir fwynhau tangnefedd,
  Rhyw ddedwydd rinwedd yw.

Cânt beunydd fyw'n ddibrinder
  Ar frasder oddifry;
Ac odiaeth bur ddanteithion
  Gan Frenin Sion sy:
Ar ffrwythydd gwlad gogoniant
  Ymborthant yn eu byw;
A melus ber ddiodydd
  O deg afonydd Duw.

**1931.** Etifeddiaeth ffydd.—M. 17.

Y GROES
Yw etifeddiaeth fawr fy oes,
A'm grym i lynu dan bob loes;
'Rwy'n gwel'd nad oes o dan yr haul,
  Neb gaf mewn cyfyngderau dwys,
I ddal fy mhwys, ond Adda'r Ail.

Y byd,
A'i wg a'i wên, sydd ddrain o hyd,
O'i fewn nid oes im' noddfa glyd,
Ond angeu drud bryn Calfari;
  Mae yno gysgod diddos iawn,
Maddeuant llawn a hedd yn lli'.

**1932.** "Y gwaed, y gwaed."—M. 9.

Y GWAED, y gwaed a lifodd
  Ar groesbren un prydnawn;
Rhinweddau hwnw roddodd
  I'r ddeddf foddlonrwydd llawn;
Y gwaed, y gwaed a olcha
  Bechadur dû yn wỳn;—
Dadseiniwn Halaluia,
  Am waed Calfaria fryn.

Y gwaed, y gwaed a egyr
  Holl byrth y nefoedd lon;
Y gwaed, y gwaed rydd gysur
  Dan holl gurfeydd y fron;
Ar fryniau anfarwoldeb,
  Pan yno sang fy nhraed,
Fy nghân am dragwyddoldeb
  Gaiff fod—*Y gwaed, y gwaed.*

**1933.** Tad amddifaid.—M. 5.

Y GWEDDWON a'r amddifaid sydd
Yn ffoi at Dduw mewn ingder prudd,
A'r tlodion di-borth gânt yn rhad
Dduw'n Farnwr pur a thirion Dad.

Caiff caethion gweiniaid wel'd y dydd
I'w dwyn o'u holl gadwynau'n rhydd;
Cânt foli enw Duw yn llon,
A gorfoleddu ger ei fron.

Cyhoedder Ef yn Frenin gwiw,
Ein Noddfa a'n llawenydd yw;
Pan syrthio'r byd gan ofnau syn,
Bydd Duw yn nerth i'w saint bryd hyn.

**1934.** Offeiriadaeth Lefi.—M. 4.

Y GWIR Fessia ymddangos mae,
Aeth y cysgodau heibio;
Fel tywyll nos, a'r ser y sydd
O flaen y dydd yn cilio.

Ni raid wrth aberth mŷn nac ŵyn,
Na bustach mwy nac anner;
Nac arogl-darth, na llysiau drud,
Nid ynt i gyd ond ofer.

Yr offeiriadol wisg er ys tro,
A'r swydd ga's heibio'i gosod;
Can's Crist i ni'n Offeiriad ddaeth,
A marw wnaeth dros bechod.

Ein marwol gnawd a gymmerth E,
I ddangos gwyrthiau'i gariad;
A'i fywyd drosom roes i lawr,
Ac eiriol 'nawr mae'n wastad.

**1935.** Pren y bywyd.—M. 5.

YN ngardd y nefoedd uwch y nen,
Wrth orsedd Ion mae'r bywiol Bren,
Yn llawn o ras, a'i gangau mawr
Yn llwythog blygant tua'r llawr.

Yn mysg y dail yn 'hedeg fry,
Y g'lomen nefol hefyd sy,
A'r Iesu ar y cangau sai',
A dal baneri cariad mae.

Hoff yw ei ffrwyth i olwg ffydd,
A'i flas un wedd yn felus fydd,
Tra dan ei gysgod eistedd cawn,
Mae'n nefoedd o ddyddanwch llawn.

O'i nodd llawenydd geir a grym,
Na bydd o'i hol un colyn llym;
Calonau marwaidd mae'n fywhau,
A'r meddwl trist mae'n lawenhau.

**1936.** Croes Crist.—M. 4.

YN nghroes fy Arglwydd ffrostio wnaf,
Drwy hon mi gaf orfoledd,
A chysur pur wrth deithio'r glyn,
A choron yn y diwedd.

Mae dirmyg Crist a'i groes i mi
Yn fwy o fri ac urddas
Nâ'r holl drysorau sy'n y byd,
A chyfoeth drud pob teyrnas.

Yn ymyl croes fy Arglwydd mawr
Caf daflu lawr fy meichiau;
A dyrchu cân i'w enw cu
Mewn llu o gyfyngderau.

**1937.** Dadl y nef.—M. 5.

YN llys y nef bu llef ddilyth,
Wnaeth gynnwrf byw na dderfydd byth;
Pa rai, o'r holl brynedig had,
Oedd fwya'n nyled cariad rhad.

'Roedd yno rai o'r crŷd a'r bru
Am ganu'n llon uwch pawb drwy'r llu,
Am gael eu dwyn i'r porthladd pur,
Cyn gwel'd na cheisio hwn yn wir.

Ac ereill ga'dd *hwy* oes i'w rhan,
Cyn gado hyn o dywyll fan,
A fynent foli uwch pob rhai
Y gras faddeuodd aml fai.

**1938.** YR AIL RAN.

FEL câd, mewn blys, doent yn y blaen;—
Pa delyn gu gai ddechreu'r gân?
Pob un a'i blê trwy'r nefol blas,
Mai fe oedd ddyfna'n nyled gras.

Ymdrechent am y gwycha'u gwawr,
Pwy blygai isa' lwyra i lawr,
Pob cerddor mwyn gyhoeddai'i maes
Ryfeddol wyrthiau dwyfol ras.

**1939.** Rhwygo'r llen.—M. 17.

Y LLEN,
Sydd rhyngddwy'n awr â'r nefoedd wen,
A rwygodd Iesu hyd y nen,
I'r wlad uwchben fe'm harwain Ef,
I'm llon orphwysfa dringo gaf
I fynwes Naf o fewn y nef.

Ni ddaw
Na phoen na gofid, och na braw,
I neb o'r saint yr ochr draw;
Dont yn ei law i'r hyfryd wlad,
I seinio cân dragwyddol mwy
Am farwol glwy', ac am y gwaed.

**1940.** Llew o lwyth Juda.—M. 11.

Y LLEW o lwyth Juda orchfygodd,
Pa elyn all sefyll o'i flaen,
Mae Sïon yn teithio tuag adref
Mewn cerbyd dychrynllyd o dân;
Bydd miloedd o saint ac angylion,
Yn dorf ogoneddus yn nghyd,
Yn canu rhyw anthem dragwyddol,
O ogoniant i Brynwr y byd,

**1941.** Myfyrio yn y gair.—M. 10.

YMA boed fy myfyrdodau
Ar drysorau gorau'r gair;
Dawn ac iechyd i fy ysbryd,
Grym a bywyd i mi bair;
Mi anturiaf oll a feddaf
Ar y gair cadarnaf gwiw,
Cwyd fi fynu, ceidw f'enaid,
Mae fy nodded yn fy Nuw.

**1942.** Boreu heb glwyf.—M. 9.

YMADO wnaf a'r babell
'Rwy'n trigo ynddi 'nawr,
Colofnau'r tŷ ddatodir,
Fe'i cwympir oll i lawr;

Ffy pob gwahanglwyf ymaith,
Glân fuddugoliaeth mwy,
'Rwy'n cânu wrth gofio'r boreu
Na welir arnaf glwy'.

Rhyfeddod nef a daear
Fydd gweled un mor ddu,
Yn wyn heb un brycheuyn
Yn mhlith y nefol lu:
Pan ffy y nefoedd heibio,
Pan fyddo'r byd yn dân,
Teilyngdod Iesu drosof
Fydd fy nhragwyddol gân.

**1943.** Ymadrodd Crist.—M. 5.

YMADRODD Crist, mor fwyn y cair,
Mae swn ei gariad yn mhob gair:
"Fy chwaer, (medd ef,) teg yw dy wedd,
Cei gyfran byth o'm nefol wledd.

Mae'th wedd yn hardd, a'th lais yn fwyn,
Fy nghlust a'm calon hoffa'th gŵyn;
Teg wyt fy mhriod-ferch i gyd,
Hawddgarach nâ chariadau'r byd."

Nid meusydd llawn, na llysoedd llon,
Na holl deganau'r byd o'r bron,
A'm deil yn gaeth, pan alwo'm ffrynd,
Fy enaid ar ei ol fŷn fyn'd.

**1944.** Y perygl o oedi.—M. 10.

Y MAE'r oriau yn fy ngalw'n
Uchel beunydd i 'mbar'toi;
Tân sy'n dod ar ddinas dystryw,
Tua Soar boed im' ffoi:
Arglwydd, 'mafael ynwy'n fuan,
Onidê ni ddeuaf byth;
Tra bo'r tân yn llosgi Sodom,
Yn y bryniau gwnaf fy nyth.

Achub Arglwydd, mae'n ddiweddar,
Nid oes geny' ond byr brydnawn,
Ac mae'r fyddin sydd i'm herbyn
Yn cynnyddu'n gyflym iawn:
Tua'r bryniau 'rwyf am ddianc,
Fel na'm dalio'r mwg a'r tân;
Rho dy law, Dywysog bywyd,
Tyn fy enaid yn y blaen.

**1945.** Swper barod.—M. 10.

Y MAE'r dyddiau wedi gwawrio,
Clywir swn yr udgorn mawr,
Llais efengyl fwyn yn seinio
Drwy holl barthau'r ddaear lawr:
Y mae'r swper heddyw'n barod,
Allan aed cenadon hedd,
A chymheller pawb i ddyfod,
Mae pob llawnder yn y wledd.

**1946.** Gwledd efengyl.—M. 6.

Y MAE'r efengyl fwyn
Yn galw'n aeddfwyn iawn;
Mae llais cenadon hedd
Yn dweyd am wledd sydd lawn;
Sef gwledd yr iechydwriaeth rad
Sydd yn y tŷ, ar fwrdd ein Tad.

Aed son am Grist ar g'oedd,
A'i wleddoedd drwy bob gwlad;
A myrdd fo'n derbyn maeth
Yr iechydwriaeth rad:
Bydd clod i Dduw yn ngwlad yr hedd
Gan dyrfa lawn ar fwrdd y wledd.

**1947.** Rhinwedd y gwaed.—M. 7.

Y MAE rhinwedd gras y nefoedd
O dragywyddol faith barhad;
Nid oes diwedd byth ar effaith
Haeddiant perffaith dwyfol waed:
Ac er golchi, &c.
Dysglaer fydd yr afon byth.

Dyma euog, ofnus, aflan,
Yn hiraethu dod yn wyn,
Drwy yr afon gymmysg liwiau
Darddodd allan ar y bryn:
Anghydmarol, &c.
Ydyw rhîn y dwyfol waed.

**1948.** Maddeu'n gyfiawn.—M. 10.

Y MAE Sinai heddyw'n ddystaw,
Swn taranau mwy nid oes,
Duw sy'n cynnyg hedd a bywyd
I bawb gred yn angeu'r groes;
Gwaith cyfiawnder mwy fydd maddeu,
Cuddio beiau rif y gwlith:
Am y gwaed fe gân myrddiynau
Fawl a bery'n newydd byth.

**1949.** Tosturi tadol Duw.—M. 4.

Y MAE tosturi'n Harglwydd da,
I bawb a'i hofna'n ufydd,
Fel teimlad tyner tad neu fam—
Mae'n gwybod am ein defnydd,

Gŵyr nad y'm oll ond llwch sydd wan,
A chwelir gan awelau:
Ei ddig wnai fel rhyw gorwynt cry'
Ein gyru i dir angau.

Fel gwelltyn glas yw oes pob un,
Neu fel blodeuyn borau:
Os un boeth awel drosto â,
Mewn awr y gwywa'n ddiau.

Ond ei drugaredd E'n ddilyth
A bery byth heb newid;
A phlant dy blant gânt wel'd, O Dduw,
Mai cadarn yw d'addewid.

**1950.** Diferynau gwaed Crist.—M. 5.

YMA wrth groes fy Mhrynwr Crist,
Y doda'i lawr fy enaid trist;
Dan ddiferynau'i werthfawr waed,
A byth oddiyno mwy ni ymad.

I'm gyru i bant, pe ceisiai'r byd,
Fy nghalon erys yno o hyd;

Fy noddfa olaf yw a'm plaid,
Mi drengaf yno, os bydd rhaid.

O Iesu, lladd fy ofnau mwy,
Can's diogel dan dy gysgod wy':
Hosana it' am farw'n fwyn,
I'm henaid i gael yno'i ddwyn.

**1951.** Ymbiliau Crist.—M. 2.

Ymbiliai'n Prynwr cu,
Trwy lefain cryf a dagrau,
Mewn dydd oedd flin, Duw glybu'i lef;
Gwaredodd ef rhag ofnau.

Yn angeu gwnaeth wyrth gref,
I orsedd nef aeth 'fynu:
A rhaid i holl dylwythau'r byd
Addoli i gyd, neu drengu.

O ffrwyth ei angeu drud
Y cyfyd hil na rifir;
Teyrnasant hwythau ger ei fron,
A'i glod a lon fynegir.

**1952.** Gwaed dros orsedd nef.—M. 4.

Ymddangos mae ein Prynwr byw,
Gerbron ein Duw'n y bywyd;
Taenellodd ef ei waed mewn hedd
Dros yr holl orsedd danllyd.

Ni ddaw un farwol gosp yn awr,
Na llid i lawr oddiyno;
Dros euog wael bechadur trist,
Ei waed mae Crist yn bledio.

Fry o flaen gwyneb dig ei dad,
Ein tlawd ddeisyfiad ddyry;
A'r Tad ei daran heibio dyd,
A bydd yn hyfryd wenu.

Yn llawen gallwn foli'n awr,
Ein Barnwr mawr heb ddychryn;
Derbyn ein mawl mae'r Iesu mwyn,
Ac yn ei ddwyn i'r Brenin.

**1953.** Rhodfeydd y Brenin.—M. 5.

Ymddangos yn rhodfeydd ei ras
Mae'r Brenin mawr gan arllwys ma's
Ryw fywiol ffrwd, o'i fwynaidd fin,
Felusach nâ'r melusaf win.

Cysuron gwerthfawr a rydd ef,
I ni tra yma dan y nef;
Rhydd fynych brawf o'i gariad cu,
Ond cadw mae'r wledd orau fry.

O fewn y werdd baradwys fry,
Gwell gwleddoedd i'n croesawu sy',
Ar nefol ffrwyth, o drysor llawn,
Heb brinder byth ymborthi cawn.

**1954.** Hedd Calfaria.—M. 25.

Ymddigrifaf dan y groes
Yn fy mlinfyd,
Ac mi gofiaf ddwyfol loes,
Nerth fy mywyd;
Yn mhob cystudd a phob gwae
Ni foddlona';
Y mae'r diwedd yn nesâu,
Halaluia.

Buddugoliaeth lân a ddaw
Yn mhen 'chydig,
Mi ddysgwyliaf oddidraw
Wrthi'n ddiddig;
Ar yr Iesu pwysa'm ffydd,
Pwy'm gorchfyga?
Cânu 'mhleser innau fydd,
Halaluia.

**1955.** Buddugoliaeth ar angeu.—M. 7.

Ymddiriedaf yn dy allu,
Mawr yw'r gwaith a wnest erioed;
Te ge'st angeu, ti ge'st uffern,
Ti ge'st Satan dan dy droed:
Pen Calfaria, &c.
Nac aed hwnw byth o'm cof.

Pan bwy'n myned drwy'r Iorddonen,
Pan bo angeu yn ei rym,
Yn dy law yr af drwy'r tònau,
Yn dy law nid ofnaf ddim:
Buddugoliaeth, &c.
Gaf fi seinio yn y llif.

**1956.** Hyder yn Nuw.—M. 22.

Ymddiried, gredadyn,
Yn Nuw yr holl dduwiau,
Efe all dy wared
O bob cyfyngderau;
Er llamu y bryniau,
Er cilio'r mynyddoedd,
Yr un yn dragywydd
Fydd Arglwydd y lluoedd,
Yr haul yn dywyllwch,
A'r lloer yn waed welir,
Ond Duw sy'n cyhoeddi
"Myfi ni'm newidir."

**1957.** Talgraig y credadyn.—M. 4.

Ymddyrcha, Dduw, y nef uwchlaw,
Oddiyno daw d'arwyddion,
A bydded dy ogoniant ar
Y ddaear a'i thrigolion.

Dwg fi i dalgraig uwch nâ mi,
Ac iddi bydd di'm derbyn;
Craig gref fy ngobaith, tŵr fy môst,
Im' fuost rhag y gelyn.

O fewn dy babell y bydd byth
Fy nhrigfa ddilyth ddedwydd;
A'm holl ymddiried a fyn fod
Dan gysgod dy adenydd.

**1958.** Llwydd efengyl.—M. 7.

Ymddysgleiria, Haul Cyfiawnder,
Dros derfynau daear lawr;
Pa'm y caiff y tew gymylau
Guddio'r hyfryd oleu wawr?

Pur wybodaeth
Fo yn helaeth amlhau.

Aed efengyl iechydwriaeth
Dros ynysoedd pella'r byd,
Boed i'w llewyrch dysglaer goleu
Lenwi'i gonglau oll i gyd;
Son am Iesu,
Fo'n ymledu o fôr i fôr.

1959. Llef am wenau Duw.—M. 21.

Ymddysgleiria, Iôr bendigaid,
Sydd yn eistedd rhwng cerubiaid;
Ar yr arch mewn parch a mawrglod,
Lle taenellwyd gwaed y cymmod.

Dyrcha lewyrch llon dy wyneb,
Rho dy rasol bresennoldeb;
Siriol wena o'th drugaredd,
Dyro gael dy wir ymgeledd.

Yn ein cyfyngderau chwerw,
Dal dy weiniaid er mwyn d'enw;
Ninnau ganwn foliant helaeth,
O genedlaeth i genedlaeth.

1960. Cau allan ymffrost.—M. 5.

Ymffrostio o'm dyledswyddau mwy
O Iesu gwiw, ni wnaf yn hwy;
Fy malchder gynt yn warth a droes
A'm hymffrost hoeliais wrth dy groes.

A chyfrif wnaf byth mwy, heb gwyn,
Bob peth yn golled er dy fwyn;
Rhof arnat bwys fy enaid gwan
A'th nefol ras f'o byth fy rhan.

1961. Cynhauaf llafur Crist.—M. 19.

Ymffrostio wnawn
Am fri ein hynaf Frawd,
Sy'n Llywydd nef,
A daear, yn ein cnawd;
Er iddo fyn'd
I wely gwael y bedd,
Cyfodi wnaeth
Yn gadarn wych ei wedd.

Mae'n flaen-ffrwyth yn
Yr ardal nefol bur,
Yn aros cnŵd
A'dardd o'i ddyfnaf gur;
Cynhauaf llawn
Cyn hir a ddaw yn nghyd,
I fynwes nef
O bedwar cŵr y byd.

1962. Golwg ffydd.—M. 31.

Yn mhell o swn daearol fyd,
Mae fy nhrysorau oll i gyd;
Y wlad lle mae, y wlad lle mae,
Rhyw fôr didrai o berffaith hedd.

O hyfryd fan, tra ynof chwyth,
Sychedaf am fod ynddo byth;
Fe dry fy ngwae, fe dry fy ngwae,
Yn llawenhau yn nhŷ fy Nhad.

1963. Trysor fel y cefnfor.—M. 33.

Yn mhlith holl ryfeddodau'r nef
Hwn yw y mwyaf un,
Gwel'd anfeidrol Ddwyfol Fôd
Yn gwisgo natur dyn?
Mae ynddo drysor fel y cefnfor,
Byth ni cheisiaf ddim yn rhagor,
Hedd a bywyd yw ei ffafor,
Nefoedd berffaith, nefoedd berffaith
Yw cael yfed Dwyfol hedd.

Doed trueiniaid yma 'nghyd,
Yn lluoedd heb ddim rhi';
Croesawiad gânt i wledda i gyd
Ar hâeddiant Calfari;
Mae ynddo drysor, &c., &c.

1964. Golwg ar y nef.—M. 3.

Ymdeithydd wyf mewn anial maith
A'm ffordd sydd drom a phell;
Mae tynfa f'enaid egwan llaith
I wlad a thrigfan well.

'Rwyf weithiau'n gwel'd trwy ddrychau ffydd
Hoff gyrau'r hyfryd wlad;
A thyna pa'm yr wyf bob dydd
Mor daer am dŷ fy Nhad.

Paid f'enaid gwan ac ymlesgâu
Er poethed gwres y dydd;
Mae amser gorphwys yn nesâu,
Ac O, mor felus fydd.

1965. Pregethu Crist drwy'r byd.—M. 4.

Yn mhob rhyw iaith, O d'weder am
Yr Oen dinam, a'i ddolur;
Drwy bob rhyw wlad, wrth bob rhyw lwyth
Er casglu ffrwyth ei lafur.

Aed ei efengyl drwy'r holl fyd,
Ei angeu drud gyhoeddir;
I bob creadur dan y rhod,
Fod hedd yn bod, mynegir.

Pwy bynag ddel gaiff yn ddilai
Faddeuant bai, a bywyd;
Cân torf yn un, am lwyr iachâd
I'r Oen yn ngwlad y gwynfyd.

1966. Porth y gwan.—M. 4.

Yn mhob rhyw ing bydd Duw yn borth,
A noddfa i'r gorthrymedig;
Mewn pryd gwaredu'i blant a wna,
Ac esmwythâ'r blinedig.

Pob rhai adwaenant enw Duw
A gredant i'w raslondeb;
Dirmygu hwnw byth ni wna
A isel geisia'i wyneb.

O byrth dychrynllyd angeu du
Mae Duw'n derchafu'i bobl;

A hwy am hyn, mewn llawen lef,
A'i molant ef yn siriol.

1967. Baner sobrwydd.—M. 43.

Yn mlaen ni awn dan ganu 'nghyd,
Er gwaethaf gŵg a gwawd y byd,
Mae'n fraint i ni gael dwyn y groes,
Dan faner sobrwydd hyd ein hoes,
Ceir golwg hyfryd cyn bo hir
Ar holl derfynau maith ein tir;
Bydd peraidd gânu am y gwaed,
A'r gelyn meddwdod dan ein traed.

1968. Cartref y serch.—M. 7.

Ymgartrefed fy serchiadau
Ar drysorau'r nefoedd fry,
Sail fy nghysur yw rhinweddau
Gwerthfawr angeu Calfari:
Dyma ddigon,
Bywyd yw adnabod Crist.

Ymddiriedaf bellach ynddo
Noddfa i fy nghuddio gaed,
Dygwyd im' gyfiawnder Dwyfol,
Pur, tragwyddol, drwy ei waed:
Cuddia hwnw,
Rhag y llid fy enaid byth.

1969. Bri addfwyn Oen.—M. 6.

Ymgrymed pawb i lawr
I enw'r addfwyn Oen,
Yr enw mwyaf mawr
Erioed a glywyd son;
Y clod, y mawl, y parch, a'r bri
F'o byth i enw'n Harglwydd ni.

Mae enw'r addfwyn Oen
Yn llawer gwell nâ'r byd,
Mae lluoedd maith y nef
Yn rhoddi arno'u bryd:
Mae'i ddawn, a'i ras, a'i gariad drud,
Yn llanw'r nef, yn llanw'r byd.

1970. Ymdrech y ffydd.—M. 5.

Ymleddais deg ryfeloedd Duw
Ag arfau'r bur efengyl wiw;
Concwerwr wyf, gwnes gadw'r ffydd,
A gwobr nefol i mi sydd.

Duw yn y nef i'w chadw im'
Roes goron na ddiflana ddim;
Ar y dydd mawr, yn ngwydd y byd,
Fy Mhrynwr ar fy mhen a'i dyd.

Ac nid myfi fy hun sy'i gael
Gan Frenin gras, y wobr hael,
Ond pawb â'u duwiol hiraeth sydd
I'w weled ef yr olaf ddydd.

1971. Tosturi Duw.—M. 29.

Y'm ni drueiniaid etto'n fyw
Er hir ryfela'n erbyn Duw,
Rhyfeddod, O rhyfeddod yw,
Na buasem obry'n awr:
Anfeidrol gariad Duw'n parhau,
A'n cadwodd o'r uffernol ffau,
Teilyngaf glod a fyddo'n glau,
Dros byth i'w enw mawr.

Mae bloedd ein beiau bob yr awr
Yn gwaeddi am ein tòri lawr,
Ond cariad y Cyfryngwr mawr,
Sy'n gwaeddi "dal dy law;"
Am hyn na chaed un pechod mwy,
Nac unrhyw chwant ein rhwystro'n hwy.
I'r Crist a deimlodd farwol glwy'
Boed i ni fyw rhagllaw.

1972. Sylfaen ar y graig.—M. 5.

Ymofyn̄wn yn ein bywyd
Am gael sylfaen ar y graig;
Ac am noddfa a thangnefedd
Trwy fawr rinwedd Hâd y Wraig;
Nid oes neb a ddeil ein penau
Yn yr oriau mwyaf trist,
Pan fo'r einioes yn terfynu
Ond yn unig Iesu Grist.

1973. Ufydd-dod Crist.—M. 30.

Ymrwymai Iesu mâd,
I gadw deddf ei dad,
Mawl iddo ef;
A'i chadw wnaeth i gyd,
Heb ball, tra yn y byd,
Ni chafwyd unrhyw wŷd,
Yn Iôr y nef.

Goddefodd lawer loes,
Cyn trengu ar y groes;
Rhown ynddo'n cred;
Tra ar ein daear ni,
Gwnaeth les i anwar lu,
Ei fath erioed ni fu,
A'i glod ar led.

1974. Ymwared gwladol.—M. 5.

Ymwared oddiwrth Dduw sy'n dod,
I'w ras a'i allu rho'wn y clod,
Mae'n haeddu'n mawl am fod mor fwyn
Yn gwrando cri ei blant a'u cwyn.

O boed i'w gariad blygu'n gwlad
Yn edifeiriol at ei draed:
Cyd-ddygwn dreth o fawl yn awr
I'n Prynwr mwyn a'n Brenin mawr.

Ein temlau gadwyd rhag y tân,
Adseiniant glod ei enw glân,
A chaed y tai lle'r y'm yn byw
Eu gwneyd yn demlau oll i Dduw.

1975. Byw gyda'r saint.—M. 5.

Y'mysg dy saint ymddangos wnaf,
Mewn diniweidrwydd ymlânhaf:
Ond pan o flaen dy frawdle di,
Gwaed Crist fydd fy amddiffyn i.

Rwy'n hoffi'th drigfan di, fy Nuw,
Preswylfa dy ogoniant gwiw;

Can's yno gwrando'th air a gaf,
A dweyd am waith dy ras a wnaf.

Pan drengwyf, na ddod fy enaid drud
Gyda gwŷr gwaedlyd drwg eu bryd,
Gan i mi yma garu byw
Yn mhlith dy saint, gerllaw fy Nuw.

1976. Golud angeu Crist.—M. 9.

YN angeu Crist mae bywyd
A rhyddid i barhau;
Yn angeu Crist caed ffynnon
Rinweddol i lanhau:
A chyfoeth i dylodion,
A gwisg i'r noethion gaed,
A chymmod a gorfoledd
Diddiwedd, yn ei waed

1977. Sychu'r dagrau.—M. 15.

YN awr dewch bechaduriaid gwael,
Iachad i'n clwyfau sydd i'w gael,
Cawn sychu ffwrdd ein dagrau prudd:
Ar enw'n Ceidwad—cadarn gwiw,
Rho'wn bwys a chred ein henaid byw,
Ac yna marw byth ni bydd.

Ein henaid gwel, O Arglwydd cu,
Trwy ras, yn ewyllysgar sy
I dderbyn dy gynnygion rhad;
Clodforwn gariad Crist, Mab Duw,
Fu farw o'i fodd i ni gael byw—
A rhoddwn hefyd fawl i'r Tad.

1978. Dyoddefaint Crist.—M. 5.

YN awr coffâwn yn drist ein cân
Am boen a chur ein Harglwydd glân;
Pan gwynai ef mewn chwys a gwaed,
Fel un adawyd gan ei Dad.

Clwyfwyd ei ben, a'i ddwylo, a'i draed,
Nes ydoedd oll dan ffrydiau gwaed;
Wrth goelbren rhanwyd dillad Crist,
A gwawdiwyd ing ei angeu trist,

Ond clybu'r Tad ei athrist lef,
O'r bedd y daeth, ac aeth i'r nef;
Dysg pobloedd ei gyfiawnder drud,
A'i ras a rydd i'r isel fryd.

1979. Angladd credadyn.—M. 5.

YN awr i'th fynwes, dywyll fedd,
Cyflwyno 'rym ein brawd mewn hedd,
Gofala'n dyner am ei lwch
Tra'n huno dan dy lèni trwch.

Ni ddaw un loes, na chroes, na chri
Gorthrymder dwys i'th randir di,
I flino neb o'r rhai y sydd
Yn gorphwys yn dy gelloedd cudd.

Am hyny rhoddi wnawn drwy ffydd
Ei gorff i'th ddaear, pridd i'r pridd,
Nes delo'r awr i'w alw fry
Ar ddysglaer wedd ei Brynwr cu.

1980. Concwest Calfaria.—M. 31.

YN awr mae buddugoliaeth lawn
Dan sel o Galfari drwy'r Iawn,
Yn dod i'r gwan, yn dod i'r gwan,
A daw i'r lan, er marwol loes.

Y gair Gorphenwyd, ar y pren,
A rwygai gyssylltiadau'r llen,
Ein concwest mwy, ein concwest mwy,
Enillwyd trwy ei farwol loes.

1981. Pridwerth perffaith.—M. 33.

YN awr mae'r pridwerth wedi ei gael,
Daw'r hedd yn rhad i ni;
Mae bywyd i bechadur gwael
Yn aberth Calfari:
Mae cyfiawnder nef yn gwenu,
Ca'dd y ddeddf ei hanrhydeddu,
A'r gelynion oll eu mhaeddu,
Halaluia, halaluia,
Byth am iechydwriaeth rad.

1982. Troi at Dduw.—M. 4.

YN awr, medd Duw, O dewch yn hy'
I ymresymu, ataf,
Pe amlach fa'i'ch pechodau chwi
Nag ydynt, mi faddeuaf.

Awn o flaen Duw â'r geiriau hyn
Gan erfyn ei drugaredd;
Maddeu, O Dduw, maddeu heb goll,
O maddeu'r holl anwiredd.

1983. Caru'r saint.—M. 5.

YN awr trwy gariad Crist fy Nuw,
A'i ddyoddefiadau mawr eu mhaint,
A'i waedlyd chwys, a'i farwol friw,
Tynghedir fi i garu'r saint.

Pan dderfydd cariad, 'madael mae
Y nefol g'lomen, Ysbryd Duw;
Paham y bydd in' ei dristâu,
Ein Seliwr ni i'r bywyd yw.

Tyner ac addfwyn fyddo'n bryd,
Trugarog hefyd i bob dyn;
A Duw a faddeu'n beiau gyd
Er mwyn ei anwyl Fab ei hun.

1984. Gwaed y pridwerth.—M. 45.

YN bridwerth dros ddynion
Dim digon nid oedd,
Heb dywallt gwaed calon
Y *Gwirion* ar g'oedd:
Ond diolch! yn nyfnder
Ei loeson a'i chwerwder,
Llonyddodd gyfiawnder,
A digter ei Dad:
Cawn ninnau ryddhad;
A chyflawn iachâd;
Llonyddodd gyfiawnder
A digter ei Dad.

1985. Llef am faddeuol ras.—M. 34.

Yn daer at orsedd nef,
Dyrchafwn heddyw lef,
Am fendith lawn
O'i drysor rhadlawn Ef:
Mae ynddo ras, fel môr didrai,
I lenwi diffyg y fath rai;
O'i rwyddaf drugareddau,
Fe bia faddau bai.

1986. Eiriolwr dros y gwan.—M. 6.

Yn dawel f'enaid mwy
Anadla tua'r lan,
Mae Iesu'n byw o hyd
I eiriol dros y gwan,
Dy Frawd a'th Briod sydd yn Ben,
Mewn cnawd, ar orsedd nefoedd wen.

Ei enw melus mwy
Fo dy dragwyddol nyth,
Ymddiried, er mor wan,
Dy fywyd iddo byth;
A gwna dy hoff orphwysfa mwy
A'th noddfa yn ei farwol glwy'.

1987. Pabell ddiogel.—M. 4.

Yn d'enw di y llawenhaf,
Fy Nuw, fy Naf, fy nodded;
At borth dy ras y gwnaf nesâu,
A chaf yn glau ymwared.

O fewn dirgelfa'th babell gu,
O gâd i mi byth drigo;
Diffynfa well a geidw hi
Na dinas wedi'i murio.

1988. Danteithion nefol.—M. 10.

Yn dy eglwys lân fendigaid
Y digonir f'enaid i;
Gwir odiaethol ber ddanteithion,
Sy'n dy dirion wleddoedd di;
Wrth fyfyrio am dy fawredd,
Daw gorfoledd yn y fan;
Ymddiriedaf dan dy gysgod,
Yn dy law caf ddod i'r lan.

Gwynfydedig yw'r trigolion
Gânt i Sion wir nesâu;
Er cael rhai codymau trymion,
Y mae ffynnon i'w glanhau:
Beunydd cânt eu llawn ddigoni
A'r daioni sy'n dy dŷ,
A diferion i'w difyru,
O ffrwyth cariad Iesu cu.

1989. Haeddiant Crist.—M. 10.

Yn dy glwyfau di mae 'mywyd
Dwyfol haeddiant yw fy nyth:
Ni raid ofni byd na phechod,
Nac euogrwydd yno byth:
Gwaed fy Mhriod wedi ei golli,
Archoll fawr y waywffon
Yw fy Nghraig a'm dinas noddfa
Sicr ar y ddaear hon.

Mi edrychaf ar i fynu,
Deued niwl a deued nos,
Os daw heddwch im' o unlle,
Daw o haeddiant gwaed y groes:
Dyma'r fan y gwnaf fy nhrigfa,
Yma y gobeithiaf mwy,
Nid oes iechyd byth i'm henaid
Ond mewn dwyfol farwol glwy'.

1990. Drws trugaredd.—M. 10.

Yn efengyl iechydwriaeth
Y mae Duw yn agor in'
Ddrws ei drugareddau helaeth,
O'i rad drysor nid yw brin;
Bellach awn, ac awn yn union,
At ei orsedd nefol rad,
Ffyddiog geisiwn o'i fendithion,
Profwn wledd y nefol wlad.

1991. Cân am y gwaed.—M. 14.

Y nefoedd gyda ni
A gân am Galfari,
Yn dorf ddiri', ryw anthem lân;
Doed holl derfynau'r byd,
Pob llwyth ac iaith ynghyd,
O'u bodd i gyd i ddysgu'r gân.

Cân yw am farwol glwy',
Ni fedd y nef ei mhwy;
Caed bywyd trwy ei angeu drud;
Adseinia'r nefol wlad
Am iechydwriaeth rad,
Cân am y gwaed fydd hon i gyd.

1992. Tywysydd y saint.—M. 10.

Yn ei law, fel Bugail ffyddlon,
Tywys Duw ei weinion saint,
Oll i'r ddinas gyfaneddol,
I feddianu nefol fraint;
Egyr byrth caethiwed Babel,
Dychwel hwy o Basan wlad;
Uchel gân y gwaredigion
Fydd am waredigaeth rad.

1993 Cynhauaf—Emyn.—M. 22.

Yn fach ac yn fawr
I'r Arglwydd rho'wn fawrglod,
Na fydded yn awr
Yn ddystaw un tafod;
I ni rai annheilwng
Mae Duw yn cyfranu
Ei roddion yn helaeth,
I'n cysson ddiwallu,
Am hyn codwn lef
I'r nef mewn pur emyn,
I Dduw am ei ddoniau,
O flwyddyn i flwyddyn.
Moliannwn yr Ior
Am ei drugareddau,

Ni thalodd i ni
  Yn ol ein camweddau;
Os teimlir ar brydiau
  Braidd bwys ei wialen,
Mae cerydd Duw'r cariad
  A chanddo dda ddyben;
Am hyn cadwn wyl,
  Rho'wn ber Halaluia
O'n calon i Dduw
  Am gael y cynhaua'.

1994. YR AIL RAN.

MAE genym i'r corff
  Dda ymborth yn nghadw,—
I'r corff fydd cyn hir
  Yn llwch ac yn lludw,
O Arglwydd, rho i ni'r
  Un peth anghenrheidiol,
A berthyn i borthi
  Yr enaid anfarwol;
Trugarog yw Duw,
  A mawr ei dosturi,
Rho'wn arno ein pwys
  Ymro'wn i'w glodfori.

1995. Sabboth y boreu.—M. 4.

YN foreu, Arglwydd, clywi'n llef,
  Fy llais i'r nef ddyrchafaf:
Fy ngweddi'n union atat ddaw,
  I'r bryniau draw edrychaf,—
Lle'r aeth yr Iesu yn ddios
  I erfyn dros ei seintiau;
Cyflwyno mae gerbron y Tad
  Ein caniad a'n gweddiau.

Ymdeithiaf, Arglwydd, tua'th dŷ,
  I brofi'th drugareddau;
Addolaf yn dy santaidd lys,
  Yn barchus, fel y gweddai.

O tywys fi â'th Ysbryd pur
  Yn nghywir ffyrdd uniondeb,
Gwna lwybr pob dyledswydd lân
  Yn oleu o flaen fy wyneb.

1996. Serch ar y nef.—M. 4.

YNFYDRWYDD yw im' roi fy mryd
  Ar bethau'r byd sy'n darfod;
Yn lle ar wiw drysorau rhad
  Y fythol wlad sydd uchod.

Adnabod hawl yn ngwaed y groes,
  Yn moreu f'oes wy'n geisio;
Gan dynu cysur pur bob awr
  O'r rhinwedd mawr sydd ynddo.

Mewn prawf o rinwedd gwaed y groes,
  Er bod y loes yn chwerw,
Mi orfoleddaf yn fy Ner,
  Er oeri'r mêr a marw.

1997. Duw yn mhob lle.—M. 4.

YN fy negesau oll, O Dduw,
  Gwaith ofer yw i'm henaid,
Amcanu ffoi i guddfa gel,
  Mewn lle nas gwel dy lygaid.

Dy olwg di amgylchu wna
  Fy nghodiad a'm gorweddfa;
Fy rhodiad cyhoedd, a'm ffyrdd cudd,
  A'm calon sy ddirgela.

O'r fath wybodaeth ryfedd bur!
  P'le gall creadur lechu?
O fewn i gylch dy freichiau 'rwy'
  O hyd, maent hwy o'm deutu.

Ac felly boed dy ras bob cam
  O'm cylch fel amddiffynfa,
I gadw f'enaid rhag pob brad
  O fewn dy gariad penaf.

1998. Nodded mewn adfyd.—M. 3.

YN nghanol pob gofidiau maith
  Ehedaf at fy Nuw;
Yn ngwyneb cyfyngderau fil
  Fy unig noddfa yw.

Efe yw'm Craig a'm Cadarn Dwr,
  A'm Hamddiffynwr glân:
Efe a'm tywys yn ei law
  I wlad y beraidd gân.

1999. Duw yn nghanol Sion.—M. 33.

YN nghanol Sion gwylia Duw,
  I'w chadw nos a dydd,
I'w weiniaid saint, pan syrth y ser,
  Yn noddfa ber y bydd:
Wrth ymddiried yn ei allu
Gallant dawel lawenychu;
Llifa hedd o hyd i'w llòni,
  Halaluia, halaluia,
Byth am iachawdwriaeth rad.

2000. Iachad yn Nghrist.—M. 14.

YN Nghrist a'i werthfawr waed,
  Mae llawn faddeuant rhad,
A gwir iachad i bob rhyw glwy:
  Am Aberth pur y groes,
  Ac ing ei ddwyfol loes,
A'r iawn a roes, cân f'enaid mwy.

  Ceir heddwch fel y lli',
  Drwy Aberth Calfari,
A rhad i ni mae'n dod yn awr;
  Diderfyn yw ei rin,
  Gwell ganwaith yw nâ'r gwin
Dan gystudd blin a chroesau'r llawr.

2001. Crist, plaid y gwan.—M. 15.

YN Juda hynod yw Duw nef,
  A mawr yn Israel ydyw ef,
Ei law sydd gref er dwyn i'r lan:
  Ei babell ef yn Salem sydd,
  Yn Sion bur ei drigfan bydd,
Cynnorthwy rydd i'r eiddil gwan.

  Chwi bererinion sy'n parhau
  Wrth orsedd gras yn glynu'n glau,
Gwnewch addunedau i Dduw nef:

Gan dalu'n llwyr eich dyled llawn,
I gynnal achos Crist yn iawn,
Yn ol ei uniawn gyfraith ef.

2002. Oen difai.—M. 17.

Yn lle
Y dynion gwaethaf dan y ne',
Y difai Oen, dyoddefodd E;
A hyn wy'n ddadleu byth, fy Nuw;
A than ei gysgod gwnaf fy nyth,
I'w garu byth tra byddwyf byw.

Nid oes
A ddeil fy ysbryd dan bob croes,
Ond dwyfol haeddiant angeu loes,
Dyddanwch f'oes yw ei fwynhau;
'Does gysur arall mewn un man,
Fe fydd fy rhan byth i barhau.

2003. Bendithion llawn.—M. 35.

Yn llwythog dan eu bai
Doed yr aflanaf rai
At orsedd rad ein hanwyl Dad,
A'i roddion mâd didrai;
Maddeuant hael sy'n wir i'w gael,
A gwisg i'r gwael eu gwedd;
'Nawr ato awn, can's ganddo cawn
Fendithion llawn, a phob rhyw ddawn,
Er cyflawn fythol hedd.

2004. Llyfr Duw.—M. 5.

Yn llyfr gras, fy nefol Dad,
'Rwy'n cael o'm blinder esmwythad;
Gwel'd 'rwy'n mhob dalen iddo bron,
Wyneb a gwên fy Mhrynwr llon.

Hwn ydyw'r maes, o'i chwilio'n iawn
Y gwerthfawr Berl cuddiedig cawn;
A'r unig wir farsiandwr doeth
Yw'r hwn a bryn fath berlyn coeth.

O hwn daw santaidd ddw'r i maes,
All dori syched pechod cas:
Yma tyf Pren gwybodaeth llawn,
Heb niwed ynddo os bwytawn.

O boed i'th air, alluog Dduw,
Gyfeirio'm traed tra byddwyf byw,
A'm tywys i'r wlad nefol fry,
Trwy daith y glyn wylofus du.

2005. Gwledd yn yr Iawn.—M. 25.

Yn marwolaeth Crist yr Iawn
Cawn ein bywyd;
Gwledda ar ei aberth llawn
A gawn hefyd;
Cawsom yma fynych wledd
Wrth ei gofio;
O mor felus fydd yr hedd
'Nol myn'd ato.

2006. Gwledd efengyl.—M. 37.

Yn mynydd Sion y mae gwledd
I'r gwael eu gwedd, O deuwch;
A phechaduriaid o bob gradd
Sy'n cael eu gwa'dd, O deuwch:
I bob newynog croesaw sydd
Tra pery'r dydd, O deuwch;
Mae'r wledd yn llawn, a rhad, a rhydd,
O deuwch, deuwch, deuwch.

Eneidiau llesg, tylodion, noeth,
I gaffael cyfoeth, deuwch;
A'r euog, isel, ofnus rai,
Dan bwys eich bai, O deuwch;
I enaid gwan mae yma faeth
O win a llaeth, O deuwch;
Mae'r wledd yn llawn, a rhad, a rhydd,
O deuwch, deuwch, deuwch.

2007. Goleuni i'r cyfiawn.—M. 5.

Yn Nuw, gyfiawnion, llawenhewch,
Ei ras a'i burdeb ef coffhewch;
Er bod cymylau'n cuddio'i wedd,
Mae'n eistedd ar orseddfainc hedd.

Goleuni a llawenydd gwiw,
Mewn t'w'llwch hauwyd i blant Duw;
A chwyd yr hadau hyn ryw ddydd—
Cynhauaf dedwydd iawn a fydd.

2008. Ymostyngiad.—M. 9.

Yn nyfnder moroedd mawrion
Mae ffordd fy Arglwydd Dduw,
Er hyny doeth a santaidd,
A rhyfedd dirion yw:
Y tônau sydd debycaf
I suddo'm henaid gwan,
Sydd yn fy nhaflu nesaf
Tuag at y nefol làn.

Na foed im' edrych gormod
Ar ddim sydd yn y byd,
Mae hwn yn myned heibio,
A'i degwch oll i gyd;
Trysorau'r nefoedd uchod
Fo'n bleser i mi mwy,
A chanaf wrth fyn'd adref
Am Grist a'i farwol glwy'.

2009. Goglud ar Grist.—M. 3.

Yn nyfnder pob cyfyngder du,
Bydd Iesu o fy mlaen;
Os caf dy nawdd a'th gwmni di,
Nid ofnaf ddw'r na thân.

O gwna i'm calon redeg trwy
Oll atat ti dy hun;
Na foed difyrwch genyf mwy
Mewn daear, da, na dyn.

Mi rof fy ymddiried ynddo ef
Mae'n noddfa gref i'r gwan;
Ac er y curo o bob tu,
Fe ddeil fy mhen i'r lan.

2010. Dyddanwch ffydd.—M. 31.

Yn nyfnder pob rhyw drallod mae
Un radd o'th wêdd yn llawenhau;

Mae gwel'd dy wedd, mae gwel'd dy wedd
A phofi'th hedd, yn well nâ'r byd.

Mwy yw fy mhleser, mwy fy rhodd,
Ond cael dy wel'd 'rwyf wrth fy modd;
Mae gwel'd dy wedd, mae gwel'd dy wedd
A phrofi'th hedd, yn well nâ'r byd.

2011. Edifeirwch.—M. 3.

Yn ol dy dosturiaethau rhad
O Arglwydd trugarhâ
Wrth un sy'n teimlo'i galon ddu
O'm mewn yn llawn o bla.

O cuddia di dy wyneb byth
Oddiwrth fy meiau mawr,
Dilëa'm hanwireddau oll
Fel nos o flaen y wawr.

Rho etto im' orfoledd pur
Dy iechydwriaeth faith;
Rho'th Ysbryd hael i'm cynnal mwy
O hyn i ben fy nhaith.

2012. "Er cof am danaf fi."—M. 46.

Yn ol dy rasol anwyl air
I'r llwch a'r lludw'r âf,
Tra yn bechadur yno'm cair
A'th gynnes gofio wnaf;
Y corff fu droswyf dan y dûr
Fydd fara'm henaid i
A'th waed fydd mwy fy niod bur—
Fel hyn y cofiaf di.

A ddaw i'r ardd byth mwy fy nhraed
I wrando yno'th gri,
A gwel'd dy ing a'th chwys a'th waed,
Ac heb dy gofio di!
Tydi yn marw, minnau'n fyw!
Tydi a'th waed yn lli';
O Oen fy aberth! Oen fy Nuw!
Rhaid im' dy gofio di!

2013. YR AIL RAN.

Dywedaist wrthyf—yn fy ngwaed,
"Bydd fyw, druenus un;"
Y gair mor ddrud i tithau gaed
A'th galon waed dy hun;
Cymmeraist phiol llid y Tad
Troist hono'n win i mi!
O pwy nacâi'r fath drafferth râd
A "hyn" i'th gofio di.

A gofiaf di, a'th gariad pur
A'th boenau drosof fi!
Tra'm gwaed o fewn y galon gur,
O cofiaf, cofiaf di.
A phan bo'm llais a'm *cof* yn ffoi
Ar olaf dòn y lli,
A thithau yn dy deyrnas ddoi,
O Iesu, cofia fi.

2014. Dafnau o'r nef.—M. 5.

Y nos â heibio cyn bo hir,
Cawn fyn'd i wlad goleuni pur;
A'n llygaid yno gânt heb ddrych,
Wel'd siriol wedd ein Priod gwych.

Byth yno yfed gwynfyd llawn,
A bwyta o bren y bywyd gawn;
Ond Arglwydd cu, rho i ni'n awr,
Rai dafnau o'r nef tra ar y llawr.

Cysuron dy ddeheulaw bur,
Rho in' wrth deithio'r anial dir,
Ac yn dy deml gâd i ni,
Wel'd llewyrch teg dy wyneb di.

2015. Gwledd yr Arglwydd.—M. 5.

Y nos bradychwyd Mab y dyn
Arlwyodd wledd â'i law ei hun,
Trwy fara a gwin arwyddion gaed
Yn faeth i ffydd o'i gorff a'i waed.

Y bara gym'rodd yn eu gwydd,
Ac yna rhoddodd ddiolch rhwydd;
"Fy nghorff a dòrir drosoch chwi—
Bwytewch er cof am danaf fi."

'Run modd y gwin, yn gymun gwaed
Gwir Oen y nef, ei ranu wnaed;
"Dangoswch fy marwolaeth i,
Cynnifer gwaith yr yfoch chwi."

2016. Swper yr Arglwydd.—M. 5.

Y noswaith drom anesmwyth drist
I'r ardd pan aeth ein Harglwydd Crist,
I draethu ei flinder mawr ar frys,
Mewn dagrau, ing, a gwaedlyd chwys.

Y nos cyn iddo gael ei ddwyn
Fel Oen i'r lladdfa er ein mwyn,
Wrth dòri'r bara, d'wedai'n gu,
Fy nghnawd yw dòrir drosoch chwi.

O'r cwpan hwn, fy anwyl rai,
Yfwch—er maddeu eich holl fai;
Fy ordinhad cyflawnwch hi
Er cof o'm cur a'm cariad i.

2017. Dydd gras yn awr.—M. 10.

Yn nydd gras, cyn awr marwolaeth,
Y mae caffael gras a hedd;
Ni bydd cynnyg iechydwriaeth,
Na maddeuant yn y bedd;
Mae llawenydd yn y nefoedd,
Pan f'o un pechadur trist,
Yn y dirgel ac ar gyhoedd,
Yn nesâu at Iesu Grist.

2018. Ymdrech am y fendith.—M. 5.

Yn Peniel 'rwyt, fy enaid byw,
Ymdrecha'n deg ag angel Duw;
Pwy ŵyr na chei, cyn tòri'r wawr,
Wir etifeddu'r fendith fawr?

O flaen y drugareddfa fawr,
Bron trengu yn y llwch yn awr;
Gwel y pechadur duaf gaed,
A'i lef am brawf o rin y gwaed.

Mae gras yn rhyw anfeidrol stôr,
A doniau genyt fel y môr;
O gâd i'r truenusaf fyw,
Trwy haeddiant Crist fy Iôr a'm Duw.

2019. Hawl babanod.—M. 2.

Y plant a roir i ddyn,
Rhodd ydyn' gan yr Arglwydd;
Ei wobr ef yw ffrwyth y brû
I'w magu mewn santeiddrwydd.

Dug gras i ni a'n hil,
Ddeg canmil o fendithion;
Trwy Grist y mae i'r baban hawl
I'r bur dragwyddawl goron.

2020. Grawnwin ar y groes.—M. 28.

Yn rawnwin ar y groes
Fe droes y drain;
Caed balm o archoll ddofn
Y bicell fain;
Dechreuwn fawl cyn hir
Na flinir ar ei flas,
Am Iesu'r Aberth hedd—
O ryfedd ras!

Wrth orphwys ar yr Iawn
Ni gawn i gyd
Felusion ffrwythau'r groes,
Trwy'n hoes o hyd;
Mae yma hyfryd win
I flin, O beraidd flas,
Maddeuant pur a hedd
O ryfedd ras.

2021. Rhifo tyrau Sion.—M. 4.

Yn Sion deg, mawr yw ein Duw,
A hynod yw yr Arglwydd;
Ei drigfan hoffus yno sydd
Yn mynydd ei santeiddrwydd.

Ewch, ewch oddiamgylch Sion sail
Ei thyrau adail rhifwch;
Ei chadarn fur, a'i ph'lasau draw,
I'r oes a ddaw mynegwch.

Ein Duw ni byth yw y Duw hwn,
Hyd angeu credwn ynddo;
Ac yn dragywydd hwnw fydd
Ein Harglwydd i'n tywyso.

2022. Brenin breninoedd.—M. 6.

Yn siriol cânu wnaf
Am ditlau'm Harglwydd nef,
O'i santaidd air y caf,
Ei enwau clodfawr ef:
Nid dysg na dawn, na dae'r na nef,
All byth roi maes ei fawredd ef.

Yn Iesu gweled cawn
Y Tad a'i ddysglaer wedd,
Byth yn llewyrchu'n llawn
O gariad ac o hedd:
Tragwyddol Fab y bythol Dduw,
Etifedd cyd ei orsedd yw.

Brenin breninoedd byd,
Arglwydd arglwyddi'r llawr,
Ac ar ei wisg fe ddyd
Ei enw gwych i lawr:
Goleuni'r Byd, a Bywyd yw,
Ei enwau'n wag ni ddwg Mab Duw.

2023. Trefniadau Duw.—M. 4.

Yn ufydd boed i ddynol-ryw,
O flaen eu Duw ymostwng;
Mae pawb drwy'r bydoedd oll a wnaeth
Dan ei lywodraeth deilwng.

Deng mil o oesoedd—y rhai oedd
Cyn bod y nefoedd uchod;
A'r dirif oesau etto ddaw,
Oe'nt ger ei law i'w canfod.

Am hyn, gofalu'n brudd ni wnaf,
Ac mwy ni cheisiaf weled
I'w arfaeth ef, er gwybod dim
Pa fisoedd im' osoded.

Cael f'enw'n llyfr bywyd Duw,
Yn hollol yw f'ewyllys;
Yn mysg dilynwyr yr Oen glân,
Y bobl mae'n eu dewis.

2024. Duw digyfnewid.—M. 3.

Yn wresog unwn ni yn awr,
Mewn per soniarus iaith;
I ddatgan clod ein Lluniwr mawr,
Can's gweddus yw y gwaith.

Ysbryd yw ef sy'n gweithio'n rhydd,
Yr hyn a fyn a wna,
Erioed yr oedd, a byth y bydd,
Duw cyfiawn, doeth, a da.

Awn at ei borth, am danom gŵyr,
Gofynwn am ei ddawn;
Ei lid sydd golledigaeth lwyr,
Ei ras sydd fywyd llawn.

2025. Pwyso ar Grist.—M. 6.

Yn wrol awn yn mlaen,
Mae Iesu Grist o'n plaid,
Yn nghanol dw'r a thân
Rhydd i ni nerth wrth raid;
Mae'n gadarn iawn i'n cadw'n gu
Rhag ein gelynion creulon cry'.

Am hyn rho'wn arno'n pwys,
Fe'n dwg yn iach i'r lan;
Ar ein gelynion dwys
Cawn goncwest yn y man;
Yn unig trwyddo ef y cawn
Ryw fuddugoliaeth hyfryd iawn.

2026. Cysur wrth farw.—M. 10.

Yn y dyfroedd mawr a'r tònau,
Nid oes neb a ddeil fy mhen
Ond y ffyddlon Archoffeiriad
A fu farw ar y pren:

Cyfaill yw yn afon angeu
 Ddeil fy mhen yn uwch nâ'r dòn,
Golwg arno wna im' ganu
 Yn yr afon ddofn hon.

Ac er gwaethaf grym y storom
 Sydd yn curo o bob tu;
Af trwy'r gwyntoedd, af drwy'r tònau
 Adref i'r baradwys fry;
Gair fy Nuw sydd drech nâ'r moroedd,
 Gair fy Nuw sydd drech nâ'r dòn;
Mi anturiaf oll a feddwyf
 Byth ar yr addewid hon.

2027. Serch ar y gair.—M. 10.

Yn y gair boed fy myfyrdod
 Yn ymserchu gyda blas,
Sugno mêl o ddiliau'r gyfraith,
 Sugno llaeth athrawiaeth gras:
Fel pren plan ar làn yr afon,
 Fyddo'n ffrwythlon yn ei bryd;
Nes diddyfner fy serchiadau
 Oddiwrth bethau gwael y byd.

2028. Iawn tragywyddol.—M. 10.

Yn yr Iawn y gorphwys Sinai,
 Ni felltena at y dyn;
Bywyd gaed yn rhad i'r euog,
 Drwy gyfiawnder Crist ei hun:
Sion, gorphwys o dy drafferth,
 Nid oes eisieu aberth mwy;
Talodd Iesu Iawn tragwyddol,
 Gorphwys ar ei farwol glwy'.

2029. Pethau benthyg.—M. 4.

Y pethau hoff y'm ni'n fwynhau,
 Ac yn fawrhau fel eiddo;
Ynt fenthyg byr i'w talu'n ol
 Ryw bryd amserol eto.

Ein Duw, o'i ras, sydd yn amlhau,
 Neu yn lleihau'n cysuron;
Mae'n rhoi—a mawl i'w enw fo—
 Ni chymmer ond ei roddion.

Os cawn fwynhau cysuron gwiw,
 Tra byddom byw ni a'i molwn;
Ac ymaith os efe a'u myn,
 Mae'n gyfiawn hyn addefwn.

2030. Afon o ras.—M. 20.

Yr afon a lifodd
 Rhwng nefoedd a llawr,
Yw sail fy ngorfoledd,
 A'm cysur yn awr:
Ar fynydd Calfaria
 Y tarddodd fy hedd,
Oddiyno daw'm concwest
 Ar angeu a'r bedd.

O gyfoeth diderfyn
 O ras ac o ddawn
A redodd fel afon
 Lifeiriol yn llawn:
Mae'n llifo drwy'r ddaear
 Yn ddysglaer a llon,
Fe nofia myrddiynau
 I'r bywyd yn hon.

2031. Gweddi dros Sion.—M. 4.

Yr Arglwydd â'i ddeheulaw gref,
 Yr hwn wnaeth nef a daear,
A roddo'n hael ei hedd a'i ras
 I Sion, ddinas hawddgar.

I dŷ'r Arglwydd, pan dd'wedent, Awn,
 Im' llawen iawn oedd gwrando:
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
 Yr un ni syrth oddiyno.

Caersalem lân, ein dinas ni,
 Ei sail sydd ynddi'i hunan;
A'i phobl ynddi sy'n gytun,
 A Duw ei hun â'i drigfan.

O fewn dy gaerau heddwch boed,
 I'th lysoedd doed yr hawddfyd;
Er mwyn fy mrodyr mae'r arch hon,
 A'm cymmydogion hefyd.

2032. Nerth yn ol y dydd.—M. 35.

Yr Arglwydd ar fy nhaith
 A'm daliodd lawer gwaith,
Yn nyfnder loes, dan faich a chroes,
 A gorthrymderau maith;
Yn un heb nerth ar greigiau serth,
 Caf fyw trwy werth y gwaed;
Y gras a fu yn rhad o'm tu,
Mae etto'n gry' i fwrw'r llu
 Gelynion dan fy nhraed.

2033. Llwydd teyrnas Crist.—M. 9.

Yr Arglwydd fydd cadernid
 Ei Sion oll i gyd;
Helaetha Crist ei deyrnas
 Nes myned dros y byd;
O'i gariad gwna i'r bryniau
 Ddefnynu hedd yn lli',
O herwydd agor ffynnon
 Ar fynydd Calfari.

Ysgydwir nef a daear,
 A'u nerthoedd oll yn nghyd,
A theyrnas gref y gareg
 A leinw barthau'r byd;
Hi dreulia'n llwyr y delwau,
 Ac enwau gwael y llawr
A lyncir gan ogoniant
 Yr Oen a'i enw mawr.

2034. Cofio dryllio Crist.—M. 52.

Yr Arglwydd fynai'i ddryllio Ef,
 Efe a'i clwyfodd ar y groes,
A dyma syndod mwya'r nef—
 Ddod hedd i lawr drwy farwol loes;
Ystyried pechaduriaid hyn,
Gan gofio am Galfaria fryn.

Fe lwydda'i waith er marwol loes,
Gan iddo roi ei einioes lawr;
O'r bedd fe ga'dd estyniad oes,
O hyn daw ffrwyth fel gwlith y wawr:
Ystyried pechaduriaid hyn,
Gan gofio am Galfaria fryn.

2035. Barn i'r gorthrymedig.—M. 19.

Yr Arglwydd wna
Gyfiawnder pur digoll,
Ac uniawn farn
I'r gorthrymedig oll:
Hyspysu wnaeth
I Moses ffyrdd ei ras,
A'i wyrthiau gynt
I Israel ei was.

Trugarog iawn,
A graslawn yw Duw nef,
Hwyrfrydig i
Ddigofaint ydyw ef;
Er fod ein han-
wireddau yn ddiri',
Ni wnaeth yn ol
Ein pechod â nyni.

2036. Arfau tirion.—M. 4.

Yr Arglwydd yw fy mugail clau,
Ni âd byth eisiau arnaf:
Mi gaf orwedd mewn porfa fras
Ar làn dw'r gloywlas araf.

Pe rhodiwn, nid ofnwn am hyn,
Yn nyffryn cysgod angau!
Wyt gyda mi â'th nerth a'th ffon:—
Ond tirion ydyw'r arfau!

O'th nawdd y daw y doniau hyn
I'm canlyn byth yn hylwydd;
A minnau a breswyliaf byth
A'm nyth yn nhŷ yr Arglwydd.

2037. Bugail da.—M. 5.

Yr Arglwydd yw fy Mugail da,
Cyflawnu fy holl eisieu wna;
Ei Air a'i Ragluniaethau glân,
Er gwaned wyf, a'm dwg yn mlaen.

Mewn porfa iachus, ddilys, dda,
Ymborthi ac ymorphwys caf,
Lle byddo'r dyfroedd tawel byw,
A'r bwyd i gyd dan fendith Duw.

Od af o'i ffyrdd, fel dafad ffol,
Fe ddychwel f'enaid llesg yn ol;
Er mwyn ei drugareddau pur
Fe'm dwg i lwybrau'r union dir.

Er rhodio dyffryn angeu du—
Y glyn lle mae gelynion lu,
Nid ofnaf ddim—ni phalla'm ffydd,
Fy Mugail dwyfol yno fydd.

2038. Temlau Duw.—M. 4.

Yr Arglwydd yw'm goleuni maith,
A'm hiechydwriaeth dirion,
A nerth fy oes; am hyn, rhag pwy
Yr ofna mwy fy nghalon?

Un fraint a gais fy enaid i,—
O dyro i mi drigfan
O fewn eglwysi'th seintiau byw,
Sef temlau Duw ei hunan.

Caf yno roi fy arch o'th flaen,
A gwel'd dy lân edrychiad;
A chlywed traethu'th 'wyllys gu,
A chenadwri'th gariad.

Rhag stormydd llid, a phoethder gwres,
Bydd yno loches ddirgel;
Lle gesyd Duw ei blant yn nghudd,
A'u bywyd fydd yn ddiogel.

2039. Breninol offeiriadaeth.—M. 20.

Yr awrhon i'r Arglwydd,
Yr hwn sy'n ein dwyn
I wybod ei gariad,
Yn marw er ein mwyn;
Y bo gostyngedig
Anrhydedd is nen,
A mawl a gogonedd
Amgenach uwchben.

Oddiwrth ein pechodau
A'n beiau bob un,
Fe'n golchodd ni yn ei
Waed gwerthfawr ei hun;
A gwnaeth ni'n freninol
Offeiriaid, gwir yw;
A dygodd ein henaid
Yn agos at Dduw.

2040. Brenin y gogoniant.—M. 22.

Yr eglwys drwy'r byd,
Yn nghyd llawenychwch,
Mae'r Brenin mewn bod,
Ei glod ef mynegwch;
Er cael ei roi lawr
Mewn dirfawr galedi,
Dyrchafodd i'r lan
I wlad y goleuni:
Mae'n eistedd mewn hedd,
A mawredd cymmeriad,
Ar orsedd wen fawr
Mewn dirfawr ddyrchafiad.

2041. Addurn yr eglwys.—M. 9.

Yr eglwys fawr genedlig
Fel merch pendefig ddaw,
Mewn aur a pherlau purdeg,
A'i hanrheg yn ei llaw:
Fe'i dygir i'r Brenin-llys
Yn ogoneddus iawn,
Mewn gemwaith hardd hynodol,
Addurniad dwyfol ddawn.

Trwy'r byd fe baid y rhyfel,
Daw hyfryd dawel ha';

Y Duw rodd yr addewid,
  Yn hyfryd a'i cwblha:
Ceir gweled amlder meibion
  Yn Sion, dinas hedd;
Y ddaear wisg brydferthwch
  A thegwch yn ei gwedd.

2042. Pardwn rhad.—M. 4.

Yr enaid hwnw dedwydd yw,
  Na chyfrif Duw mo'i bechod;
Ond golchi'i wisgoedd ef a wnaed
  Yn santaidd waed y cymmod.

A dedwydd iawn tu hwnt i neb
  Yw'r enaid heb euogrwydd;
Sy'n rhydd oddiwrth ei ddyled mawr,
  Mae'n teimlo'n awr helaethrwydd.

Tra celais ddrwg fy nghyflwr gwael,
  Nid allais gael dim llonydd;
Dy lid a losgai dan fy mron,
  Nes llenwi hon â chystudd.

Ond pan addefai'm calon brudd
  Ei holl guddiedig bechod,
Dy ras faddeuodd im' fy mai,
  A selio wnai fy nghymmod.

2043. Agwedd gwas.—M. 5.

Yr enwau ardderchocaf fu
Ar ddynion nac angylion fry;
Rhy wael ynt i gyhoeddi maes
Ogoniant Crist a'i ryfedd ras.

O'r isel ffyrdd, mewn agwedd gwas,
Mae'n gym'ryd i amlygu ei ras;
Rhyfeddu 'rwyf a llawenhau,
Wrth wel'd y modd fy ngharu mae.

'Rwy'n caru 'Mugail, ceidw'n iach,
Yn mysg ei braidd, fy enaid bach;
Fe'u portha'n fras, fe'u geilw'n fwyn,
Ac yn ei fynwes dwg ei ŵyn.

2044. Enwau'r Gwaredwr.—M. 6.

Yr enwau gwycha' o glod
  A glywyd mewn un iaith
Gan ddynol-ryw erioed;
  Neu 'mysg angylion chwaith;
Maent yn rhy wael i ddodi maes
Fawrhydi a gras fy Mhrynwr hael.

Pa ymadroddion mwyn,
  Pa ostyngeiddrwydd gwas,
Mae'r Prynwr yn ei ddwyn,
  I ddysgu ei nefol ras!
Wrth wel'd yn rhodd, 'rwy'n llawenhau
Y ffyrdd a'r modd fy ngharu mae.

Mewn gwisg o gnawd, heb gel,
  Fel angel saif gerllaw,
A'r addewidion ddeil,
  A phardwn yn ei law.
Oddiwrth y Tad ei anfon ga's
I draethu'i ras i ddynol-ryw.

2045. Blodeuo yn nhy Dduw.—M. 4.

Y rhai a blanwyd yn nhŷ Dduw
  Yn goedwydd byw y tyfant;
Ac yn nghynteddau ein Duw ni
  Y rhei'ny a flodeuant.

Dy babell di, mor hyfryd yw,
  O Arglwydd byw y lluoedd:
Mynych chwennychais weled hon,
  Gan mor dra thirion ydoedd.

Gwynfyd y rhai drig yn dy dŷ,
  Cânt dy foliannu ddigon;
Cânt ynot ti ymgadarnhau,
  A'th lwybrau yn eu calon.

Ânt rhagddynt bawb o nerth i nerth,
  Nes cael yn brydferth ddyfod
Fry i ymddangos ger ei fron,
  Yn Sion ei breswylfod.

2046. Tâl am y llafur.—M. 4.

Y rhai sy'n hau y gwerthfawr hâd,
  Yn mhob rhyw wlad fendithir,
Er wylo wrth lafurio 'nawr,
  Rhyw lwyddiant mawr a welir.

Bydd canu llon wrth wel'd ynghyd
  Ffrwyth angeu drud yn dyfod,—
I Sion fry, o bob rhyw fro;
  Bydd tegwch hono'n hynod.

Pan ddelo'r holl ysgubau 'nghyd
  Bydd hyfryd ar galonau
Y rhai a welwyd lawer awr
  Yn wylo i lawr y dagrau.

Ceir gwel'd y saint ar Sion fryn,
  Oll yn eu gwyn yn canu;
I'r Oen fu farw rho'nt y clod
  Am ddyfod i'w gwaredu.

2047. Undeb â Iesu Grist.—M. 3.

Yr hwn a ddaw at Grist drwy ffydd,
  Rhyfeddol fydd ei fraint;
Hoff undeb dirgeledig sydd
  Rhwng Iesu a'i holl saint.

Mae hwn yn undeb bythol byw,
  Nid oes a'i detyd mwy;
Maent hwy yn trigo ynddo ef,
  Ac yntef ynddynt hwy.

O Arglwydd, dwg fy enaid gwan,
  I Grist y noddfa gref;
Ac yna safaf yn fy rhan
  Dan ganu—Iddo Ef.

2048. Gwobr llafur Crist.—M. 9.

Yr Hwn, gan ing, fu'n chwysu
  Y gwaed yn ddafnau mawr,
Y gwr fu gynt yn trengu
  Ar groes rhwng nef a llawr;
Yr Un fu gynt yn gorwedd
  Yn fud mewn dystaw fedd,

Sydd heddyw ar yr orsedd
Mewn gogoneddus wedd.

Nid preseb ac nid croesau,
Nid bedd na dirmyg mwy,
Nid llefain cryf na dagrau,
Na chwys, na chlais, na chlwy';
Gogoniant ar ogoniant,
Am ddyoddef is y nef,
Anrhydedd ac addoliant
Byth roddir iddo Ef.

2049. Iachawdwr cyflawn.—M. 9.

Yr Iesu pur a glwyfwyd
Er llwyr iachad ein briw,
Drwy farw fe'i perffeithiwyd
Yn fythol Feddyg gwiw;
Awn ato dan ein clwyfau,
Ei glwyfau a'n hiacha;
Awn ato dan ein beichiau,
Ei wendid a'n cryfha.

Awn ato Ef am gymmod,
A llawn faddeuant rhad;
Am rym yn erbyn pechod,
A hedd, a santeiddhad;
Awn, awn, dan farn marwolaeth,
Ei angau rydd in' fyw;
Mae'n Awdwr iechydwriaeth,
Iachawdwr cyflawn yw.

2050. Haf wedi gauaf.—M. 47.

Yr Iesu sydd ben,
Mae'n awr uwch y nen
Yn eistedd 'nol gorphen ei boen;
Y cymmod a gaed,
Mae'r heddwch yn rhad
Yn deilliaw o gariad yr Oen.

'Nawr disgwyl a wnaf,
'Nol gauaf daw hâf,
Mae'r lle santeiddiolaf yn rhydd;
Wylofain a gawn,
Ond gwedi'r prydnawn
Rhyw gyflawn orfoledd a fydd.

2051. Iesu sail hedd.—M. 47.

Yr Iesu yw'm hedd,
Fy noddfa a'm gwledd,
A'm sail am drugaredd i gyd
Fy nghysgod a'm cân,
Mewn dwr ac mewn tân,
Cyll uffern ei hamcan o hyd.

Yn babell y bydd,
Rhag poethder y dydd,
A chedyrn lifogydd y fall;
Mewn cysgod mor dda,
Holl uffern a'i phla,
Er chwennych ein difa nid all.

2052. Teyrnasiad Crist.—M. 5.

Yr Iesu a deyrnasa'n grwn
O godiad haul hyd fachlud hwn;
Ei deyrnas â o fôr i fôr
Tra pery llewyrch haul a lloer.

Teyrnasoedd, pobloedd o bob iaith,
I'w gariad roddant foliant faith;
Babanod ieuainc llesg eu llef
Yn foreu a'i clodforant ef.

Lle y teyrnaso bendith fydd,
Y caeth a naid o'i rwymau'n rhydd;
Y rheidus oll gânt gymhorth rhad,
A'r blin gaiff fythol esmwythâd.

Yn arogl pêr ei enw ef,
Gweddiau godant hyd y nef;
Ei fawl ddyrchefir hyd y nen
Coronau fyrdd fydd ar ei ben.

2053. Cân plentyn.—M. 9.

Yr Iesu a groeshoeliwyd
Ar fynydd Calfari,
Fu gynt yn blentyn egwan
Mor fychan â myfi;
Holl ddeddf ei dad a gadwodd
O'i le ni wyrodd gam,
Dangosodd yn ddibechod
Ufydd-dod pur i'w fam.

Plant bychain pan y gwelsant
Ogoniant Brenin ne',
Hosana gyd-seiniasant
O foliant iddo fe;
Yn awr ymroddaf finnau
Ar foreu dydd y daith,
Trwy gymhorth Iesu hawddgar,
Yn gynnar at y gwaith.

2054. Y wir winwydden.—M. 19.

Yr Iesu da,
Y wir winwydden yw;
Ffrwythloni wna,
Ei holl ganghenau byw;
O hono ef,
Derbyniant hwy bob un,
O'r bywiol nodd
Sydd ynddo ef ei hun.

Gwna fi fel pren,
Planedig, O fy Nuw;
Yn îr ar làn
Afonydd dyfroedd byw;
Yn gwreiddio ar led,
A'i ddail heb wywo mwy;
Yn ffrwytho dan
Gawodydd dwyfol glwy'.

2055. Titlau tirion Crist.—M. 6.

Yr Iesu mwyn, pan dry
I wneuthur hedd;
Pa ditlau tirion cu
Mae'n wisgo arno'i hun:
Goleuni'r byd, a Bywyd yw,
A'i enwau'n wag ni ddwg mab Duw.

Tosturi rhyfedd rhwydd
O fewn ei fynwes sy,
Pan yw'n cyflawnu swydd
Cyfryngwr drosom fry:
Cyfaill a Brawd yw E'r un pryd,
Cywir a mwyn yn para o hyd.

I'w orsedd fawr ar fyr
Fe ddring i farnu'r byd,
A'i holl elynion ŷr
Oddiwrth ei saint i gyd:
Ac byth rhyfeddir yn y nef
Anfeidrol faint ei gariad ef.

2056. Oen a laddwyd.—M. 5.

Yr Oen a laddwyd ydyw rhan,
A holl hyfrydwch f'enaid gwan;
Cael huno yn ei gariad drud,
Sydd fil o weithiau'n well nâ'r byd.

Anturio wnaf at orsedd nef,
Mae'm holl ymddiried ynddo ef;
Mae'r ffordd yn rhydd, mae'r rhodd yn [rhad,
I'r sawl a gredo yn y gwaed.

Annrhaethol felus yw dy hedd,
A'th gariad sydd yn hyfryd wledd:
Cael prawf o'i flas ddymunaf mwy,
Nes llwyr iachâu fy nwfn glwy'.

2057. Llwydd llafur ffydd.—M. 4.

Y rhai sy'n hau mewn dagrau drud,
Ond dysgwyl hyd gynhauaf,
Gânt lawen gludo 'sgubau mawr,
A moli llaw'r Goruchaf.

Er bod yr hâd mewn llwch yn hir
Eu gobaith gwir nis twylla;
Y gronyn gwerthfawr byth ni chyll,
Dwg gras y cynull sicra'.

2058. Huno yn Nghrist.—M. 18.

Y rhai yn Nghrist a hunant,
Mewn dagrau os hauasant,
I fyd y mawl heb ofid mwy,
I fedi hwy gyfodant;
Hwy ddygir mewn gorfoledd,
I fynwes gwlad gyfanedd,
Y lle nad eill un gelyn du,
Anafu eu tangnefedd.

2059. Cân y ffurfafen.—M. 43.

Yr haul heb flino byth,—y *dydd*
Yn dangos grym ei Grëwr sydd,
A'r lloer ei hanes ryfedd dd'wed
Pan ddel cysgodau'r *hwyr* ar led;
Y tanllyd sêr o'i chwmpas hi,
A'r holl blanedau mawrion sy',
Yn gwirio'r hanes yn eu taith,
Drwy gonglau pell y ddaear faith.

Tra mewn dystawrwydd pur digoll
Y tröant yn eu cylchoedd oll,
Er nad oes unrhyw lais na sain
I'w glywed yn nghylchdeithiau rhai'n,
Yn nghlustiau rheswm, llawenhânt,
A seinio'n ogoneddus wnant,
Mewn unol lef, gyssonlef syw—
"Y llaw a'n gwnaeth, un Ddwyfol yw."

2060. Concwest drwy waed.—M. 12.

Y rhyfel o'n hochr ni sydd,
Er cymmaint ein tuchan a'n cŵyn,
Daw concwest i'r gwanaf ei ffydd,
Trwy waed yr Immanuel mwyn;
Mae hefyd yn nghartref fy Naf,
Afonydd o laeth ac o fêl;
Tuag yno, trwy gymhorth, mi af,
A deued hi fel ag y del.

2061. Maith gyflawnder.—M. 33.

Yr oll a feddaf yn y byd,
O entrych nef hyd lawr;
A roed i gadw oll dan sel
Yn haeddiant Iesu mawr;
Dewch ac yfwch o'r bendithion,
Sydd yn llifo i dylodion,
O Galfaria fel yr afon,
Maith gyflawnder, maith gyflawnder,
Heb na therfyn byth na thrai.

Agorwyd ffynnon i lanhau'r
Aflanaf rai a gaed;
A golchi'r pechaduriaid fyrdd
Trwy ryfedd rin y gwaed;
Dewch ac yfwch, &c., &c.

2062. Trysor marwol glwyf.—M. 6.

Yr unig noddfa bur,
I'm henaid ddydd a nos;
A'm holl ddyddanwch gwir
Sy'n tarddu o waed y groes:
Dystewi wnaf,—mae trysor mwy,
Nag fedd y byd, mewn marwol glwy'.

Llawn Halaluia mwy
I Frenin nef a llawr,
Dyoddefodd farwol glwy',
I'm dwyn o'r cystudd mawr;
Nis gallaf byth ddymuno mwy
Nâ'r trysor sydd mewn marwol glwy'.

2063. Syched am Dduw yn ei dy.—M. 4.

Yr unwedd ag y brefa'r hydd
Am yr afonydd dyfroedd,
Y mae o hyd fy hiraeth i
Am danat ti, Duw'r nefoedd.

Fy enaid llesg, sychedig yw
Am y Duw byw a'i gariad:
Pa bryd y deuaf ger dy fron
Fy Nuw a'm cyfion ynad?

O estyn etto i barhau
Dy drugareddau tirion,
Ni a'th adwaenom di a'th ddawn
I'r rhai sydd uniawn galon.

**2064.** Terfyn y daith.—M. 17.

  YR wy',
Bron ar y terfyn i fyn'd drwy,
I'r hyfryd wlad lle nad oes glwy',
  I gadw Sabboth pur dilyth,
Yn mysg y dyrfa hardd ddiboen
  Sy'n moli'r Oen heb flino byth.
  Eu cân,
Fydd am Galfaria fawr a mân,
Ac oll yn gariad, oll yn dân,
  Yn gwel'd yn lân, lwyr gwblhau,
Pob gair a ddaeth o'i enau ef,
  A'i gariad ef byth yn parhau.

**2065.** Etifeddiaeth y saint.—M. 5.

Y SAINT a gedwir drwy nerth Duw,
Nes del eu hiechydwriaeth wiw;
Wrth ffydd ymdeithio maent drwy'r byd,
Nes galwo Crist hwynt adre' i gyd.

Mae etifeddiaeth nefol rydd,
Yn ol i holl enwogion ffydd;
Cânt ëang hardd ddihalog stâd,
Na threulir byth mewn nefol wlad.

**2066.** Jerusalem newydd.—M. 56.

Y SALEM newydd sydd yn awr
Yn lledu'i lle, hi leinw'r llawr;
Gogoniant gwlad yw'r ddinas glyd,
Mae'n hynod lân a hardd o hyd;
Ei Brenin da yw Duw,
Mae beunydd ynddi'n byw;
Môr, môr o ras i ni
Sy'n llifo ei heolydd hi.

Ennillwyd breiniau'r ddinas hon
A gwaed o ôl y waywffon;
Trwy goron ddrain y rhanwyd rhin
Anfeidrol dda i aflan ddyn;
Ei Brenin da yw Duw, &c.

**2067.** Cymuno'n deilwng.—M. 4.

Y SAINT sy'n gweini â phob gras
  I'r Aberth addas yma;
Eu cariad gyda siriol bryd
  A'u ffydd yn nghyd sy'n gwledda.

Eu gobaith yma'n eistedd sy'
  A'i olwg fry'n sefydlog;
Pob serch a gallu wrth y bwrdd
  Y'nt yma'n cwrdd yn wresog.

Eu sel a'u dial wna eu rhan
  At ladd pob aflan elyn;
A'u galar ddaw â chalon brudd
  Ond gwynfyd fydd i'w ganlyn.

Dy iechydwriaeth, Arglwydd, dwg,
  Gwna'n ffydd yn olwg eglur;
A llawenhawn ar hyn o bryd,
  A'n dagrau i gyd a sychir.

**2068.** Cyffes yr edifeiriol.—M. 4.

Y SAWL, medd Duw, i'm ceisio ddont
  Cyn galwont, mi atebaf;
A hwy'n llefaru, mi o'm bodd,
  O'r nefoedd, a'u gwrandawaf.

Ni lwydda'r dyn, pwy bynag f'o,
  A geisio guddio'i gamwedd:
Ond os ei adde' a'i ado wnaiff
  Efe a gaiff drugaredd.

Am hyn, O Dduw, mi ddof yn nes,
  A gwrando 'nghyffes innau;
Cyfaddef 'rwyf â theimlad trwm,
  Mai mawr yw swm fy meiau.

Fy holl ymddiried ynot sydd,
  Gwnaf arnat beunydd bwyso,
Dy ras yw'm gobaith hyd fy medd,
  Am bob ymgeledd etto.

**2069.** Pren ar lân afon.—M. 4.

Y SAWL ni rodia, dedwydd yw,
  Yn ol drwg ystryw gynghor,
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffol,
  Nid eiste'n 'stol y gwatwor.

Ond ei holl serch ef sydd yn rhwydd
  Ar ddeddf yr Arglwydd uchod;
Ac ar ei air rhydd nos a dydd,
  Yn ufydd ei fyfyrdod.

Hwn fydd fel pren plan ar lân dôl
  Ceir ffrwyth amserol arno;
Ni chrina'i ddalen—a'i holl waith
  A lwydda'n berffaith iddo.

**2070.** Diogelwch y duwiol.—M. 5.

Y SAWL wnaeth Dduw yn noddfa gref,
A drig yn ddiogel gydag ef;
Caiff dan ei gysgod rodio'r dydd
A'r nos yn gorphwys yno bydd.

Fel y mae'r iâr yn cadw'n iach
Dan nawdd ei phlûf ei chywion bach;
Fel hyn o hyd y ceidw Duw
Dan nawdd ei fraich ei rasol ryw.

Pe trengai mil wrth d'ystlys draw,
A dengmil ar dy ddeheu-law;
Caiff Israel byth yn ddiogel fyw,
Bydd awyr iach lle byddo Duw.

Os goddef Duw i unrhyw haint,
Neu'r tân, neu'r cledd, i daro'i saint,
Eu marwol awr yn ddedwydd fydd,
Ant fry i'w hedd yn berffaith rydd.

**2071.** Bloedd y seithfed angel.—M. 5.

Y SEITHFED angel bloeddied ef,
A'i lais a glywer drwy'r holl nef;—
Breninoedd daear o bob rhyw,
Rhowch eich teyrnasoedd i Grist Duw.

Caiff Iesu byth deyrnasu a byw,
Yr Oen difai a laddwyd yw,
Holl luoedd uffern, er eu maint,
Nis gallant mwy orchfygu'r saint.

Pan raid i'r meirw godi i gyd,
Pan welir barn ddiwedda'r byd,

Caiff holl ferthyron ffyddlon Duw,
Eu mawr dragwyddol wobr wiw.

2072. Ymbil am yr Ysbryd.—M. 51.

Ysbryd glân colomen nef
Gwrando'n rasol gwyn ein llef;
Aethom yn wywedig iawn
Disgyn yn dy fywiol ddawn.

Oer yw'n serch a gwan ein ffydd,
A'n Hosana'n ddystaw sydd;
Brysia, tyred, Ysbryd Glân,
Chwyth o'n mewn y nefol dân.

Tyred, fwyn golomen nef,
Cod ni ar dy aden gref,
Nes yr elom uwch y byd
Mewn santeiddiol nefol fryd.

2073. Ystyried y diwedd.—M. 4.

Ystyria ddyn mewn teimlad da
Mai buan cilia'r bywyd;
A thrwy ddoethineb cais i'th ran
Wir elfen anfarwolfyd.

Gan hyny cais ddefnyddio'n iawn
O hyd, bob dawn sydd ynod;
Ystyria dragwyddoldeb maith,
Mae dydd dy daith yn darfod.

Pan fyddi'n myn'd drwy gloiau'r glyn
I'r diderfynol eilfyd,
Ni weli yn ngwaelod trallod trist,
Un ail i Grist anwylyd.

2074. Addysg i ieuenctyd.—M. 5.

Ystyriwch ie'nctyd gwych eich gwedd
Yr ewch chwi bawb i lwch y bedd;
Mae diwedd prudd eich bywyd brau
O awr i awr yn agosâu.

Yr Iesu gâr yr ie'nctyd gwiw
Sy'n mlodau'u dydd yn ofni Duw,
A'r neb a'i cais e'n awr sy'n cael
Hapusrwydd hir, a bywyd hael.

2075. Tawel orphwysfa.—M. 18.

Y tir dymunol santaidd,
Yr ardal hyfryd buraidd,
Ag oedd yn mhell yn sefyll draw,
A ddaeth gerllaw o'r diwedd:
Er lludded, ac er blino,
Na fydded in' ddiffygio,
Wrth fyn'd nes-nes, ni awn ar frys
I mewn i'r llys yn gryno.

Cawn orphwys yn ddiangol
O'n temtasiynau'n hollol,
Mewn maith dangnefedd pur didrai
Sydd i barhau'n dragwyddol:
A hyfryd ymddifyru
Yn ein hanwylaf Iesu,
A threulio Sabboth nefol gwiw
Tragwyddol i'w foliannu.

2076. Daearol dy.—M. 38.

Y ty 'rwyf heddyw ynddo
Sydd beunydd yn adfeilio,
'Rwy'n teimlo hyny;
Pob peth sy'n dweyd daw terfyn,
Rho'nt rybudd bob mynudyn
Fod marw i mi:
Swn briw, ac annhrefn o bob rhiw,
Ac aml ddrygau
Sydd yma'n ddiau,
O'r diwedd angau
Dyr ddyddiau pob dyn byw;
'Does noddfa i mi'n unmodd
Is nefoedd, ond fy Nuw:
Er maint sydd yma o bob haint,
Mae lloches hyfryd
Yn mhob rhyw ofid,
Dan Bren y bywyd,
A iechyd i'r holl saint;
Aroswn dan ei gysgod,
A hynod fydd ein braint.

# ANTHEMAU.

2077. *Benevolence.*

Boddlonodd pawb drwy'r nef a'r llawr
Groeshoelio'r Oen ar bren,
Mae'r 'wyllys genym ninnau'n awr
Roi'r goron ar ei ben.
Mae clywed newydd am ei waed
Yn llifo ar Galfari,
Yn un o'r breintiau mwyaf gaed
Ar hyd ein daear ni.
Fe roes ei ddwylaw pur ar led,
Fe wisgodd goron ddrain,
Er mwyn fy nghànu i yn wyn;
Fel hyfryd liain main.
'Rwy'n credu caf fi delyn aur,
Annheilwng er fy mod,
Ddarparodd Iesu er fy mwyn
I seinio maes ei glod:
Cyweiriwyd hi ar beraidd dôn
Dros oesoedd rif y gwlith,
Caf daro'r tànau yn ddiboen,
I Dduw a'r Oen tros byth.
Mae canu heddyw am y gwaed
Yn nghanol nefoedd fry;
A nofio yn ei gariad rhad
Y mae anneirif lu.

2078. Y duwiol yn marw.—*Vital Spark.*

Bur wreichionen oddi fry,
Gâd, o gâd dy farwol dŷ;

Braw a gobaith, ing a hiraeth,
Poen ac elw yw marwolaeth;
Paid hoff natur, paid a'th gur,
A gâd im' farw i fywyd pur.
Clywch! gan engyl sibrwd sy,
Tyr'd, chwaer ysbryd, esgyn fry;
Beth yw hyn sy'n dwyn fy mryd,
Cau fy ngolwg ar y byd,
Boddi'm hysbryd, dwyn fy nghlyw;
Fy enaid, d'wed, Ai angeu yw?
Mae'r byd yn ffoi, mae'n cilio draw,
Mae'r nef yn agor ar bob llaw,
A sain seraphaidd lu; [llawr,
Rho'wch, rho'wch im' hwyl, âf uwch y
Pa le mae'th rym, O uffern fawr,
A'th golyn, angeu du!

**2079.** Brenin Sion.—Sec. 9, 9.

Bydd lawen iawn, ti ferch Sion, a chrechwena, ferch Jerusalem: Wele, dy Frenin yn dyfod atat; Cyfiawn ac Achubydd yw efe. Y mae efe yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn.

O byrth, dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragywyddol; a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn. Pwy yw Brenin y gogoniant hwn? Yr Arglwydd nerthol a chadarn mewn rhyfel. O byrth, dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragywyddol, a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn. Pwy yw'r Brenin gogoniant hwn? Arglwydd y lluoedd. Efe yw Brenin y gogoniant. Halaluia, Amen.

**2080.** Digrifwch Dafydd.

Clywch!—tebygaf clywaf lais
Yn treiddio trwy'r daranllyd nen;
Mae'n dod! Mae'n dod! chwi saint rhowch gân,
Oblegid amser sydd ar ben.

Yn genad o'r dragwyddol fro
Gabriel mewn rhwysg yn dyfod sydd,
Holl natur deimla effaith hyn,
A'r beddau oll yn agor bydd.

Chwi saint o'ch cwsg deffrowch! deffrowch!
Ewch mewn i'ch hoff orphwysfa wiw,
A Christ, a Choron, Gwynfa deg,
Eich dedwydd ran dragwyddol yw.

**2081.** Y mab afradlon.

Codaf yn awr, ac âf at fy Nhad, a dywedaf,—Fy Nhad, Pechu wnes yn erbyn y nef, ac o'th flaen di; ac mwy nid wyf deilwng i'm galw'n fab i ti.

Dygwch y wisg oreu, a gwisgwch am dano; rhoddwch fodrwy ar ei law, a 'sgidiau am ei draed; bwytawn byddwn lawen; can's fy mab hwn oedd farw, ddaeth yn fyw drachefn; bu'n ngholl a chafwyd ef.

**2082.** Y fuddugoliaeth mewn golwg.

Cylymwyd ein calonau 'nghyd
Mewn llonfryd uwch y llawr,
Un fryd, un llais, un gobaith da;
Mae'n nefoedd yma'n awr.
Gwresogwyd ein heneidiau byw
Trwy ras Oen Duw ein dawn;
Bendithion llawn, cysurlawn hedd
Digonedd ynddo gawn.

"Iachawdwr," seinied nef a llawr,
"Iachawdwr," gyda ni sy'n awr;
Ei gariad llawn, a'i rym fel lli'
Sy'n llenwi ein heneidiau ni;
Ni phery'r ymdrech ddim yn faith,
Mae ereill gwedi blaenu'r daith;
Cawn fyw mewn gwlad heb unrhyw glwy',
Nad raid ymado â'n gilydd mwy.

**2083.** Diolch am efengyl.

Diolch i ti yr Hollalluog Dduw
Am yr efengyl santaidd.

Pan oeddym ni mewn carchar tywyll du,
Rhoist i ni oleuni nefol.

O aed yn awr yr hyfryd wawr ar led,
Goleued ddaear lydan.
Halaluia, Amen.

**2084.** Achos Cenadol.—*Liston.*

Ddilynwyr Crist! deffrowch, deffrowch,
I anfon yr efengyl dowch;
Rhowch, rhowch o'ch da a chodwch gri—
"O doed, O doed y Jubili."
Henffych, henffych, foreu tirion,
Pan bo'r hollfyd o un galon,
Yn moliannu Brenin Sion;
Halaluia, Halaluia, Halaluia, Amen.

Y fagddu fawr yn fuan ffŷ,
Mae'r wawr ar dòri oddifrŷ;
Y duwiau mân dyfethir hwy
A neb ond Crist yn Arglwydd mwy;
Henffych, henffych, foreu tirion, &c.

Hyfrydol gân y Jubili
A seinir dros ein daear ni!
Pob lle, pob llais, pob llwyth, pob lliw,
Yn cyd-dderchafu Iesu gwiw;
Henffych, henffych, foreu tirion, &c.

**2085.** Eheda efengyl.

Eheda, eheda,
Efengyl dragwyddol,
Ar adenydd y wawr,
Yn gyflym, yn nerthol:
Cyhoedda drwy'r hollfyd
Fod cymmod â'r nefoedd,
Darostwng yn rasol
Gyndynrwydd y bobloedd;
O d'wed am yr Iawn
Sy'n clirio'r euoca',

A'r ffynnon wna'r Ethiop
Yn wyn fel yr eira.
Goludoedd y nefoedd
Datguddia yn helaeth,
Fod Crëwr y bydoedd
Yn gwisgo dynoliaeth,
Er arbed yr euog
I'r Iesu Jehofa
Offrymu ei hunan
Ar fynydd Calfaria;
O d'wed am yr Iawn, &c.

Gwna'r gwylltiaid yn bwyllog,
A'r creulawn yn dirion,
A chymmod y nefoedd,
Gwna heddwch rhwng dynion;
Cyhoedda faddeuant
I'r euog helbulus,
A thywys y crwydriaid
Yn ol i baradwys;
O d'wed am yr Iawn, &c.

2086. Cwymp Babel.

Fe gwympir muriau Babel fawr,
Fe'i gwneir yn wastad gyda'r llawr;
Cyd-lawenhewch, anwyliaid nef,
Duw a wrandawodd ar eich llef,
I lawr, i lawr i'r dialeddfôr mawr,
Hi gwymp, hi gwymp, mewn mynud awr;
Rhyw ddychrynadwy foddion fydd
I ddymchwel hon,
Ac mwyach bydd yn brudd ei bron.

O ddedwydd awr! tra mawr gorfoledd fydd,
Pan welir meibion Sion oll yn rhydd;
Pryd hyn y dedwydd fyd, ag uchel gân,
Ddadseinia foliant y Gwaredwr glân.
Halaluia, Amen.

2087. Mawl y llu nefol.—Luc 2. 14.

Gogoniant yn y goruchafion i Dduw; ac ar y ddaear tangnefedd; i ddynion ewyllys da.

2088. Adduned y credadyn.

Gogoniant yr Arglwydd fydd yn dragywydd. Bydd melus fy myfyrdod am dano. Duw sydd noddfa i ni. Molaf yr Arglwydd yn fy myw; canaf i'm Duw tra byddwyf.

2089. Hoff gan y saint.

Hoff gan y saint uno'n awr yn santaidd mewn cân o fawl i'r Oen, am ei ryfedd gariad a'i ras i ni; bydd yn fwy melus yn y nef, heb un pechod, oll yn un; byth yn cânu ei glod.

2090. Genedigaeth Crist.—Libanus.

Hosana heddyw sydd, swn clodforedd fydd,
Wrth gofio'r awr, daeth Iesu mawr,
O'r nef i lawr, gwawrio wnaeth y dydd,
Caethion ddaeth yn rhydd;
Caed clywed gan angylion Duw
Hardd eu lliw,—Iesu yw'r baban byw,
Aned heddyw, Ceidwad ydyw,
Bywyd meirw, Brenin nef,
Hwn yw'r seren yn y Dwyrain,
Llawn goleuni fel yr heulwen,
Ddaeth o'r nefoedd wen.

2091. Salm 115.

I bwy y perthyn mawl? Nid i ni, O Arglwydd, nid i ni; ond i'th enw dy hun dod ogoniant. Halaluia, Amen.

2092. Salm 117.

Molwch yr Arglwydd, yr holl genedloedd; clodforwch ef yr holl bobloedd; o herwydd ei drugaredd ef tuag atom ni sydd fawr; a gwirionedd yr Arglŵydd a bery yn dragywydd. Molwch yr Arglwydd. Halaluia, Amen.

2093. *Denmark.*

O flaen gorseddfainc Ior y nef
Ymgrymed pawb—eu dyled yw,
Yr unig fythol Dduw yw ef,
Gall greu, gall ladd, neu gadw'n fyw;
Ei rym, heb ddim o'n cymhorth ni,
A'n gwnaeth o'r pridd yn hardd i gyd,
Ac, er in' grwydro 'mhell o'i dŷ,
Fe'n dug yn ol i'w gorlan glyd.

I'th byrth awn oll â llawen gerdd,
Hyd lŷs y nef derchafwn gân,
Tafodau fyrdd y ddaear werdd
Adseiniant fawl drwy'th demlau glân.
Lled byd sydd i dy gyfraith bur,
Maith fythol yw y cariad roi,
Fel craig ddiysgog saif dy wir
Pan beidio rhôdau amser droi.

2094. Marwolaeth y cyfiawn.

Pa swn, pa gynnwrf sydd—ai angeu yw? Braw i fy natur wan, llewygu mae. Er hyn, O Frenin braw, wrth gofio Calfari, 'rwy'n teimlo hedd. Er chwalu 'mhabell wael gan rym dy storom fawr, mae'r fuddugoliaeth o fy nhu. Fy mhechod nid yw: condemniwyd hwn; croeshoeliwyd, claddwyd ef. Angeu, dy golyn di, p'le mae? Crist, O angeu, cofia'r awr, a'th lyncodd ar y groes. Am hyn, 'nawr gwenu mae fy enaid gwan, erdychryn y dyffryn du. Gorfoledd sydd gerllaw. O angeu caeth, dim niwed mwy nid oes, dim niwed mwy i'r saint. Tragwyddol gân; gorfoledd sydd; gorfoledd mwy, Amen.

2095. Gwlad yr addewid.

Rwy'n sefyll ar dymhestlog làn
Yr hen Iorddonen ddu,

Gan syllu'n ddwys, mewn hiraeth clau,
Ar fryniau'r Ganaan fry.

'Rwy'n tybio gwelaf eil-liw gwan
O'i glànau bythol wyrdd,
Lle'r hongia sypiau grawnwin pur
Ar goed anfarwol fyrdd.

O ardal hyfryd lle ni ddaw
Na gofid byth nac aeth,
Lle ffrydia perffaith wynfyd pur
Fel llif o fêl a llaeth.

Ac yno y mwynheir heb nos
Un anfachludol ddydd,
Heb haul na lloer, ond Duw ei hun,
Ei dysglaer haul a fydd.

Awelon peraidd balmaidd byw
Sy'n treiddio'r ardal trwy;
Angeu a phechod, ing a phoen
O'i mewn ni theimlir mwy.
Halaluia, Amen.

2096. Cân Miriam.

Seiniwch y dympan dros fôr yr Aifft brudd,
Jehofah orchfygodd, daw Israel yn rhydd;
Cenwch, fe ddrylliwyd gorfalchedd y gelyn;
Cerbydau, marchogion, a chedyrn o'r bron,
Bu'n ofer eu hymffrost, yr Ior a'i orchymyn
A gladdai'r holl fyddin yn nyfnder y dòn:
Seiniwch y dympan dros fôr yr Aifft brudd
Jehofah orchfygodd, mae Israel yn rhydd.

Clod i'r gorchfygwr, ardderchog y gwnaeth,
Ei air oedd ein cleddyf, a'i ffun oedd ein saeth;
Pwy geir i adrodd i'r Aifft y flin helynt,
Trychineb eu dewrion lliosog eu rhif,
O'i golofn ogonawl edrychodd Duw arnynt,
A soddai'r beilch filwyr yn eigion y llif,
Clod i'r gorchfygwr, ardderchog y gwnaeth,
Ei air oedd ein cleddyf, a'i ffun oedd ein saeth.

2097. Mercurial Anthem.

Teyrnasa Iesu mawr,
Dros y ddaear lawr;
Bydd mynydd tŷ ein Harglwydd ni
Yn fawr ei fri, uwch mynyddau'r llawr,
Pan dyr nefol wawr;
Daw pobloedd lawer o bob gwlad
At ei draed, am ryddhad a iachad;
Fe fydd rhyfedd wiw orfoledd,
Sain clodforedd hyfryd iawn;
Sain Hosana, Halaluia,
Fydd yn uchel am Galfaria,
Pan ddel Jubil lawn.

2098. Noddfa, noddfa.

Tyr'd bechadur, tyr'd at Iesu,
Paid ag oedi dim yn hwy;
Mae dy gyflwr yn enbydus,
Paid ag oedi dim yn hwy;
Mae dy amser yn ansicr,
Paid ag oedi dim yn hwy;
Annyoddefol yw'r dialedd,
Paid ag oedi dim yn hwy;
Bythol ni chei wel'd ei ddiwedd,
Paid ag oedi dim yn hwy;
Brysia, brysia, ffo i'r noddfa,
Paid ag oedi dim yn hwy.

2099. Trigfa y cyfiawnion.

Y cyfiawn drig yn y nef, gyda Duw a'r Oen: yn rhoddi'r clod i Dduw am ei ras a'i fawr gariad rhad. Maent wedi cyrhaedd pen eu taith, gyda'r seintiau canant geinciau, nefol odlau, mawl i Dduw; am eu cadw, am eu cadw'n fyw.

2100. *Poland*,

Y mae yr Iesu heddyw'n fyw
O fewn y nefol wlad;
Yn cael addoliad dysglaer lu
O heirdd angylion mâd:
Ac hefyd seintiau ro'nt eu cân
O fawl i'w Prynwr gwiw,
Yn danllyd lu mewn dysglaer wedd
Yn mawredd cariad Duw:
Hwy ro'nt y goron ar ei ben
A dyrchafedig lef,
Ac a'i clodforant byth, gan ddweyd,
"Gogoniant iddo Ef."

2101. Y Ganaan glyd.

Yn nheyrnas nef dymunwn fyw, ac aros yno gyda'm Duw, a chanu iddo glod. Cyfyng yw'r porth, a chul yw'r ffordd, gelynion amal sy; er hyny nerth a gaf yn ol y dydd. Ar frigau'r tònau teithio 'rwyf, a'm golwg tua'r Ganaan glyd, dan ganu at Dduw, 'rwyn dod. Hyfryd a llon fydd teithio 'nghyd, a'n golwg tua'r Ganaan glyd; tan ganu at Dduw, 'rwy'n dod.

# MYNEGAI O'R TESTUNAU.

LLANELLI: ARGRAFFWYD GAN REES A THOMAS, YN SWYDDFA'R DIWYGIWR.

